


# Pregethau a osodwyd allan trwy awdurdod i'w darllein ymhob Eglwys blwyf a phob capel er adailadaeth i'r bobl anny[illegible]dig.

Gwedi eu troi i'r iaith Gymraeg trwy waith *Edward James,* Per[illegible]dock

*Robert Barker* printiwr i odidawgaf fawrhydi *y Brenin a'i Printiodd yn Llundain.*

Anno Dom. 1606.



# ¶ Y rhag-ymadrodd.



MAe'r Apostol S. Pawl yn testiolaethu yn oleu na all neb alw neu weddio ar Dduw heb gredu ynddo, na all neb gredu heb wrando, na neb wrando, heb fod rhai ac a bregetho gair Duw iddynt: am hynny pan ystyriodd y brenin ieuangc duwiol *Edward* y chweched pa mor ambell oedd gwir bregethwyr gair Duw o fewn ei deyrnas ef, y rhai a fedre addyscu'r bobl i gredu yn-Nuw, i alw arno ac i gadw ei orchymynion sanctaidd ef, er iechyd eu heneidiau a gogoniant i enw Duw, fe a barodd wrth gyngor ei Gynghoriaid i wyr duwioll dyscedig cyfarwydd yngair Duw gynull ac scrifennu allan o'r scruthyrau sanctaidd (vnig ffynnon pob doethineb, vnig ymborth yr eneidiau, vnig dywysog ac arweinudd i wir wybodaeth, rhinwedd a duwioldeb, vnig ddiwreiddudd pob chwyn gwenwynig, vnig wrthladdudd pob anwybodaeth, ac vnig gyferbyn yn erbyn pob gauathrawaeth dwyllodrus, yr hon sydd yn tywys i ofergoel trawsopinionau a delw-addoliad)

liad) yr homiliau duwiol ymma: yn y rhai y cynhwysir y prif byngciau o'n ffydd ni ac o'n dlyed tu âg at Dduw a'n cymydogion : fel y galle yr offeiriaid a'r curadiaid annyscedig, y rhai ni fedrent yn amgen etto wrth adrodd datcan a darllen yr homiliau hyn, bregethu i'w pobl wir athrawaeth, ac fel y galle bawb o'r bobl wrth wrando, ddyscu'n inion ac yn iawn anrhydeddu ac addoli'r holl-alluog Dduw a'i wasanaethu'n ddiwyd. Yr homiliau hyn hefyd am eu bod mor fuddiol y orchymynnodd yr ardderchog frenhines *Elizabeth* eu printio ailwaith, ac hi a rhoddodd yr vn gorchymmyn am eu darllen hwy ac a rhoesai eu brawd duwiol hi yn y blaen. Ac megis na ellir dywedyd fod ar y ddayar er ioed dywysog ac a ddangosodd ymhob peth arall fwy o zeal at Dduw nac o ofal dros ei ddeiliaid, n'ar brenin godidawg, ardderchawg duwiol *Iames* ein grasusaf frenin a'n llywydd: felly yn y peth hyn ni ddangosodd ef ddim lai o'r fath zeal a gofal nac y ddangosase y brenin *Edward* a'r frenhines *Elizabeth* o'i flaen ef. O herwydd yntef trwy gyfraith Eglwysig (fel y gallir gweled yn 46. Canon a wnaeth y Gymanfa Escobion ac Eglwyswyr a gynhaliwyd yn yr ail flwyddyn o'i deyrnasiad ef ar Brydain fawr, Ffrainc ac Iwerddon, yr hon y gadarnhaodd ei fawrhydi ef a'i awdurdod goruchel brenhinawl) a rhoes orchymmyn caled ar fod i bob Person, Vicar a Churat ddarllen yr Homiliau hyn bob sul a gwyl (o

ddusig.

ddiffig pregeth) ymhob Eglwys blwyf a chapel o-fewn y deyrnas: fal y galle y rhai ni chlywant lafar pregethwyr ond yn ambell, wrth arfer o glywed darllen y pregethau duwiol dyscedig hyn yn fynych, ddyscu mewn amser gredu yn-Nuw yn inion ac yn ffyddlon, galw arno yn ddifrif ac yn deilwng, gwneuthur y cwbl o'u dlyed at Dduw a'u cymydogion ac ymddwyn felly yn y byd hwn yn ol gwybodaeth, fel y beddai iddynt fwynhau bywyd tragwyddol yn y byd a ddaw trwy ein Iachawdwr Iesu Grist. Etto er nad oedd rheitiach i vn wlad wrth y fath gynhorthwy nac i wlad Gymru am fod pregethwyr mor ambell ynddi, ni ewyllysiodd Duw ini gael neb o'r Homiliau hyn na'r fath eraill yn y iaith Gymeraeg hyd yr amser hyn, Ond wele y Cymro hwy yn awr yn dy iaith di dy hun, fel y medrich dithau wrth eu gwrando eu deall hwy. Duw a wnelo iddynt wneuthur iti fawr les ac a'th wnelo dithau yn ddiolchus i Dduw am ei fawr ddaioni.

AMEN.

# ❡ Rhybydd i bob gweinidog Eglwysig.



*Blegid bod yr Arglwydd yn gofyn gan ei wâs, a osododd ef goruwch ei deulu, ddangos ffyddlondeb a challineb yn ei swydd: anghenrhaid fydd i chwi o flaen pawb eraill eich ymddwyn eich hunain yn ffyddlonaf ac yn ddiesceulusaf o gwbl, yn eich uchel alwedigaeth: hynny yw, yn gymmwys, yn eglur ac yn llawn llythyr, darllein yr Scrythurau sanctaidd, addyscu ieuengctyd yn ddyfal yn ei Catechism, gwasanaethu y Sacramentau bendigedig yn weddaidd ac yn barchedig: dewis yn synwyrol y cyfryw Homiliau ac a fyddo cymmesuraf i'r amser, ac yn gwasanaethu yn oreu er addysc i'r bobl a orchymmynnwyd i'ch gofal, a hynny gydâ chyfryw bwyll, megis pan dybyger bod yr Homili yn rhyhir i'w darllein ar unwaith, yna ei rhannu hi i'w darllein, peth y boreu a pheth bryd nawn. A lle y digwyddo bod rhyw bennod o'r hên Destament wedi appwyntio ei darllein ar Sul neu wyl, yr hon a ellir yn well ei chyfnewid am ryw bennod arall o'r Testament newydd a fo gwell i adeiladaeth: da y gwnewch os chwi a dreulia eich amser yn myfyrio yn dda ar y cyfryw bennodau ym-mlaen llaw, fel yr ymddangoso eich callineb a'ch diwydrwydd yn eich swydd, ac fel y gallo eich pobl gael achos i ogoneddu Duw o'ch plegid chwi, a bod yn barottach i groesawu eich trafael chwi a'ch poen, er ychwaneg clod i chwi, ac er cyflawni dlêd eich cydwybodau chwi a nhwythau.*

*Er na*





*ER na rannasid y llyfr hwn ond yn ddwy ran yn y Saesonaeg etto oherwydd wrth brintio y rhan gyntaf ddarfod imi bari nodi rhifedi y dalennau fal y gallid yn hawdd gyfarfod a dechreu pob Homili, pan gafaelwyd wrth ddechreu printio yr ail rhan ddau bres ar waith, ni allwn ni ganlyn y trefn hwnnw, oni byddai i mi rhannu y rhan ddiwethaf yn ddwy rhan: mi a feddyliais mai gwell oedd imi wnenthur felly na bod y rhan gyntaf gwedy nodi rhifedi ei dalennau, a rhifedi dalennau y rhan arall heb ei nodi: am hynny fel y gelli weled mae'r cwbl gwedi i mi ei rhannu yn dair rhan. Fe a ddengys y Tabul sydd yn canlyn iti pa Homiliau y sydd ymmhob rhan o'r llyfr ac ar pa ddalen y mae pob vn o honynt yn dechreu.*

## ¶ Tabul y rhan gyntaf.



Tabul

## Tabul yr ail rhan.



## Tabul y drydydd rhan.



¶ Anno-



# ¶ Annogaeth ffrvvythlon i ddarllen ac i wybod yr Scrythyr lan.



Ni ddichon bod vn peth mor anghenrhaid, ac mor fuddiol i Gristion, a gwybodaeth yn yr Scrythyr lan: yn gymmaint a'i bod [illegible] cynnwys ynddi wir air Duw, yn gosod allan ei ogoniant ef, a dlyed dyn hefyd tuag atto ef. Ac nid oes na gwirionedd, nac athrawiaeth angheinrheidiol i gyflawnhâd, a thragwyddol Iechydwriaeth, nad yd[illegible]w o fewn neu na ellir ei dynnu allan o'r ffrw[illegible] ffynnon honno o wirionedd. Cynnifer am hynny ac a chwennycho fyned at Dduw ar hyd y ffordd inion berffaith, rhaid iddynt roddi eu meddyliau a'u bwriadau i wybod yr Scrythyr sanctaidd, heb yr hon ni allant nac yn ddigonol adnabod Duw a'i ewyllys, na'u swydd a'u dlyed eu hunain: Ac megis y mae diod yn flasus i'r sych[illegible]ig, a bwyd i'r rhai newynog, felly y mae darllen, gwrando, chwilio, a myfyrio ar yr Scrythyr sanctaidd i'r rhai a chwen-

chwennychant adnabod Duw, neu hwynt eu hu-
nain: a gwneuthur ei ewyllys ef. A'u cyllau
hwy yn vnic ſydd yn gwrthwynebu, ac yn caſhau
nefol adnabyddiaeth ymborth gair Duw, y rhai
ydynt gwedy eu boddi felly mewn oferedd bydol,
fal nad ydynt yn caru na Duw, na duwioldeb:
o blegid dyna'r achos y chwennychant y fath ofe-
redd, yn rhagorach nâ gwir wybodaeth o Dduw.
Megis am y rhai a fônt glaf o'r *ddeirton, pa beth
bynnag a fwyttaont neu a yfont, y maent er me-
lysed a fytho, yn ei flaſu cyn chwerwed ac yw'r
wermot: nid am fod chwerwder yn y bwyd, ond
o blegid yr huwmor neu'r chwaith chwerw, lly-
gredig ſydd yn eu tafodau a'u geneuau hwy: felly
y mae melyſdra gair Duw yn chwerw, nid o ha-
no ei hun, ond yn vnic i'r rhai a lygrwyd eu
meddyliau drwy hir arfer pechod, a chariad y byd
hwn. Am hynny gan ymwrthod a barn lygredig
dynion cnawdol, y rhai ni ofalant ond am eu cyrph
gwrandawn a darllenwn yn barchedig yr Scry-
thyr lan, yr hon yw ymborth yr enaid. Chwiliwn,
yn ddieſcaelus, am ffynnon y bywyd yn llyfrau
yr hen destament a'r newydd, ac na redwn i by-
lleu a llacca drewllyd traddodiadau dynion, a
luniwyd trwy ddychymygion dyn, i geiſio i ni
gyfiawnhad, a Iechydwriaeth. O herwydd bod
yr Scrythyr lan yn cwbl gynnwys yr hyn a ddlyē
ni ei wnenthyr a'r hyn ddlyem ni ei wachelyd,
pa beth a ddlyem ni ei gredu: a pha beth ſydd ini i
edrych am dano ar law Dduw yn y diwedd. Yn y
llyfrau hynny y cyfarfyddwn á'r Tad o'r hwn, a'r
Mab trwy'r hwn, ac a'r Yſpryd glan yn yr hwn
y mae i bob peth eu bod, au para: ac yno a gwelwn
nad ydyw y tri pherſon hynny onid vn Duw ac
vn

*Cryd. [margin, beside "ddeirton"]

Matth. 4. 4. [margin, beside "yr hen destament"]

yn sylwedd. Yn y llyfrau hyn y cawn ddyscu ein adnabod ein hunain, mor waelion ac mor druain ydym, ac adnabod Duw mor ddaionus ydyw o hano ei hun, a pha fodd y mae ef yn ein gwneuthurni, a'i holl greaduriaid, yn gyfrannogion o'i ddaioni. Nyni a allwn ddyscu hefyd yn y llyfrau ymma wybod bodd ac ewyllys Duw, mor gyflawn ac y mae yn weddus ini ar hyn o amser ei wybod. Ac fal y dywaid yr yscolhaig mawr a'r pregethwr duwiol S. Ioan aur enau, beth bynnac sydd anghenraid i Iechydwriaeth dyn, fe a gynhwysir yn gyflawn yn scrythyrau Duw. Yr hwn sydd heb wybodaeth efe a ddichon ddyscu yno, a chael gwybodaeth: fe gaiff yr hwn sydd galon galed, a phechadur *gwrthgas, gyfarfod yno a'r tragwyddol boenau a ddarparodd cyfiawnder Duw i'w ofni ef, ac i feddalhau, ac i nawseiddio ei galon ef, fe gaiff yr vn a orthrymmir gan flinderau yn y byd hwn, yno nerth yn addewidion tragwyddol fywyd i'w fawr gynfforð ai ddiddanwch, fe gaiff yr vn y glwyfwyd gan ddiafol hyd angau, feddiginiaeth yno i'w adferu i iechyd ailwaith. Os bydd anghenrhaid athrawiaeth gwirionedd, argyoeddi gauathrawaeth, ceryddu beieu, na channmol rhinwedd, rhoddi cyngor da, diddanu neu annog, neu wneuthur vn peth arall anghenrhaid i'n Iechydwriaeth ni, Nyni a allwn (medd S. Chrysostome) ddyscu y pethau hyn yn halaeth yn yr Scrythyr lan. Mae yno (medd Fulgentius) lawn-ddigon o bethau i wyr i'w bwyta, ac i blant i'w sugno. Mae yno bob peth ac y sydd addas i bob oedran, i bob gradd, ac i bob math ar ddynion. Nyni a ddylaem wrth hynny fod ar llyfrau hynny yn dda, mynych yn ein dwy-

Chrysost.

*Cyndyn.

llaw, yn ein clystiau, ac yn ein geneuau, ond yn
fynychaf oll yn ein calonnau. O herwydd Scry-
Math.4.4. thyr Duw yw nefol fwyd ein eneidiau ni, gwran-
Ioan.17.17. dawiad yr hon a'u chadw sydd yn ein gwneuthur
Psal.19.7,10. yn wynfydedig, yn ein sanctaiddio, ac yn ein glan-
hau, ac yn troi ein eneidiau megis llusern in
traed a diogel safadwy a thragwyddol offeryn ein
iechydwriaeth, mae hi yn rhoddi doethineb i'r
gostyngedig a'r isel galon, yn diddanu yn llawen-
hau, yw llonni ac yn ysgafnhau ein cydwybod:
trysor gwell yw nag aur, a maini gwerthfawr:
melysach nâ'r mel a'r diliau mel: hon a elwir y
Luc.10.42. rhan orau, yr hon a ddewisodd Mair, O herwydd
Ioan.6.68. ynddi y mae tragwyddol ddiddanwch. Yr ydis yn
galw gairiau'r Scrythyr lân yn airiu y bywyd
tragwyddol: o herwydd offer Duw ydynt a osod-
wyd i hynny. Mae ynddynt allu i droi drwy ad-
Coloss.1.6. dewid Duw, a ffrwythlô ydynt trwy nerth Duw
Heb.4.12. a chwedy eu derbyn i galon ffyddlon mae o ha-
nynt yn dyfod yn wastad orchwylion nefol yspry-
dol. Maent yn fywiol yn fywiog, ac yn alluog
mewn gweithrediad, ac yn llymmach na chledd
dau finiog, ac yn cyrhaeddid hyd wahaniad yr,
enaid ar yspryd, a'r cymhalau, a'r mer. Mae
Math.7.24. Christ yn ei alw ef yn adailadydd call yr hwn a
* Fuldo. *adailado ar ei air ef, megis ar sylfaen sicr, dio-
gel. Gan air Duw y'n bernir ni o blegid Y gair
Ioan.12.48. (medd Crist) a ddywedais, hwnnw a farn yn y
dydd diwethaf. Ac i'r hwn a gadwo air Crist yr
addewir cariad a ffafor Duw, ac y caiff ef fod yn
deml, ac yn drigle i'r drindod sanctaid. Pwy byn-
Ioan.14.3. nag sydd yn ddiwall yn darllen y gair hwn ac yn
ymchwelio yn ei galon yr hyn y mae ef yn i ddarllen,
fe leihant ynddo fe y mawr fryd ar bethau darfod-

adwy

adwy y byd hwn; ac fe gynydda ynddo fawr chw-
ant ar bethau nefol, a addewir gan Dduw yn y
gair hwnnw. Ac nid oes dim a gadarnhâ ein ffydd
ni a'n ymddiried yn-nuw yn gymaint, ac a gaidw
i fynu ddiniweidrwydd a phurder calon, aduwiol
fywyd ac ymddygiad oddiallan hefyd, megis
gwastadol ddarllen, a myfyrio ar air Duw. O
herwydd yn y diwedd fe droir gan mwyaf i anian
a naturiaeth, beth bynnac wrth wastadol ddar-
llen a dyfal chwilio yr Scrythyr lân, a brinter ac
a argrapher yn y galon. Ac hefyd ffrwyth a rhin-
wedd gair Duw yw, *goleuannu y diwybod, a *Llewyrchu
rhoi rhagor o oleu i'r rhai a'i darllenant ef yn
ffyddlon ac yn ddyfal, er diddanwch i'w calonnau,
ac er eu * eofnhau hwy i gyflawni y peth y mae *Hyshau.
Duw yn ei orchymmyn. Mae hwn yn dangos
goddefgarwch mewn adfyd, mewn hawddfyd
gostyngeiddrwydd, pa anrhydedd sydd ddyledus i
Dduw, pa drugaredd a charedigrwydd i'n cym-
mydog: hwn sydd yn rhoddi cyngor da mewn pob
peth anhygoel ammheus: hwn sydd yn dangos
gan bwy y mae ini edrych am nerth achymmorth
ym-mhob enbeidrwydd, ac mai Duw yw unic
roddwr pob buddugoliaeth ym-mhob rhyfeloedd
a phrofedigaethau gan ein gelynion, corphorol ac
ysprydol. Ac nid hwnnw sydd yn ennill fwyaf 1.Sam 14.
wrth ddarllein gair Duw, yr hwn sydd barottaf i 12,23.
droi dolennau'r llyfr, neu adrodd heb lyfr y peth 2.Chro.20.6, 7,27.
sydd ynddo, onid yr hwnn sydd gwedy ei lwyr droi 1.Cor.15.57.
iddo, yr hwn y mae'r Yspryd glân gwedy ei gyn-
nhyrfu fwyaf; a chalon yr hwn a'i fywyd sydd
gwedy ei symmud, a'i newid i'r peth y mae ef yn
ei ddarllen: yr hwn sydd yn myned beunydd yn
ddifalchach, yn ddiddicciach, yn llai ei drachwant,

ac yn chwennychu llai ar wag hoffderau bydol: yr hwn (gan ym wrthod â'i hên fywyd drygionus) sydd yn cynnyddu fwyfwy mewn rhinweddau da. Ac ar ychydig o airiau, nid oes dim yn maenteinio y'n well dduwioldeb meddwl, nac yn gyrru ymmaith anuwioldeb, nag y mae gwastadol darllen a gwrando gair Duw, os cydsylltir hynny â meddwl duwiol a daionus fwriad ar ddyscu achanlyn ewyllys Duw. O herwydd heb lygad dysyml pur fwriad, a meddwl da, nid oes dim cymmeradwy ger bron Duw. Ac o'r ystlys arall, nid oes

Esai. 5.29. Matth.22.29.

dim yn tywyllu Christ a gogoniant Duw yn fwy nag yn dwyn mwy o ddallineb, a phob drygioni, nag anwybodaeth yngair Duw.

## ¶ Yr ail rhan o'r bregeth ynghylch yr Scrythyr lân.



E ddangoswyd yn y rhan gyntaf o'r bregeth, yr hon sydd yn ein hannog i wybodaeth yn yr Scrythyr lan, paham y mae yr wybodaeth honno yn anghenrhaid, ac yn fuddiol, i bob dên: Ac mai drwy adnabyddiaeth a gwir ddeall yr Scrythyr, yr adwaenir y rhannau anghenrheidiaf o'n dlyed ni tuag at Dduw, a'n cymydogion. Yn awr ynghylch yr un peth, chwi a gewch glywed beth a ganlyn. Os ydym yn addef Christ paham na bydd arnom gywilydd fod heb wybod ei athrawiaeth ef? lle y mae yn gywilyddus i bob dyn, fod yn anghydnabyddus yn y ddysc a'r gelfyddyd a gymmero efe arno ei gwybod. Mae'n gywilyddus i ddyn os gelwir efe yn philosophydd, fod heb ddarllen llyfrau philosophiaeth, neu i alw

yn

yngyfraithiwr, yn astronomydd, neu yn feddyg, yr hwn a sydd anghyfarwydd yn llyfrau'r gyfraith, astronomi, neu feddyginiaeth. Pa fodd y Dywaid neb am hynny, i fod ef yn cyffesu Christ ai grefydd, onid ymddyrŷ ef, (gymaint ag y gallo yn gymhessur) i ddarllen ac i wrando, ac felly i wybod llyfrau Efengyl Christ a'i athrawaeth. Er bod celfyddydon eraill yn dda ac yn rhaid eu dyscu, etto ni ddichon vndyn ammau fod y gelfyddyd hon yn bennaf, ac vwchlaw pob celfyddyd arall yn ddigyffelybaeth. Pa escus wrth hynny a wnawn ni (ar y dydd diwethaf ymlaen Christ) y rhai a osodwn ein ewyllys ar ddarllen dychmygion a thraddoddiadau dynion, yn fwy na'i sanctaidd efengyl ef: ac na allwn gael vn amser i wneuthur y peth a ddylem ei wneuthur yn bennaf uwch law pob peth: ac a ddarllenwn yn gynt bethau eraill, na'r peth y dylem adel heibio ddarllen pob peth arall o'i blegid: Cynifer am hynny o honom ni ac sydd yn addef Duw, a thrwy wir ffydd yn ymddiried ynddo, ymrown tra y caffom ennyd ac amser i wybod gair Duw, trwy ei wrando a'i ddarllen yn ddyfal. Ond y rhai nad oes ganthynt serch ar air Duw, i guddio eu beiau a roddant yn arferol drostynt eu hunain, ddau escus ofer gwaigion. Rhai sydd yn eu hescuso eu hunain o herwydd eu gwendid au hofn, gā ddywedyd na feiddiant ddarllen yr Scrythyr lan rhag iddynt trwy anwybod gwympo i amryfysedd; Eraill a haerant ei bod hi mor anhawdd ac mor galed iw deall nad yw weddus i neb ei darllen, onid i yscolheigion a gwyr dyscedig. Ond o blegid y cyntaf: anwybodaeth yngair Duw yw achos pob camsynnaeth ac amryfysedd fal y dywaid Christ ei

hun wrth y Saducęaid, gan ddwedyd, eu bod hwy
Matth.22,29. mewn * amryfysedd o eisiau gwybod yr Scrythy-
* Camsynnaiaeth. rau. Pa fodd am hynny y ga'll y sawl a fynnont
fod fyth mewn anwybod, ymgadw rhag amryfy-
sedd? a pha fodd y dawant allan o'u hanwybo-
daeth oni fynnant ddarllen a gwrando y peth a
ddichon roddi gwybodaeth iddynt? fe fu yr hwn
sydd yn awr a mwyaf o wybodaeth gantho, ar y
cyntaf heb wybodaeth; etto ni pheidiodd ef a dar-
llen rhag cwympo mewn amryfysedd, ond fe ddar-
llenodd yn ddyfal rhag iddo aros mewn anwy-
bod, athrwy anwybod mewn amryfysedd. Ac oni
ddyscwch chwi wirionedd Duw, yr hwn sydd
anghenrhaid i chwi ei ddyscu, rhag i chwi gwym-
po mewn amryfysedd, wrth yr vn rheswn y ge-
llwch orwedd yn wastad, heb gyfodi vn amser ar
eich traed i gerdded, rhag wrth gerdded i chwi
gwympo yn y dom; a pheidio a bwyta vn bwyd,
||wrthwynebu da rhag i chwi ||laru; a pheidio a hau eich llafur,
na thrafaelu yn eich celfyddyd, nac arfer vn farch-
nadaeth, rhag i chwi golli eich hîd, eich trafael,
eich golyd; Ac felly wrth yr vn rheswm, gorau
oedd i chwi fyw yn segur, heb gymmeryd yn llaw
vn peth daionus, rhag i ryw ddrwg ddigwyddo i
chwi o hynny. Ond os ydych yn ofni cwympo i
amryfysedd wrth ddarllen yr Scrythyr lan, mi a
ddangossaf i'wch pa fodd y mae i chwi ei darllen
hi, heb enbeidrwydd, na pherigl amryfysedd; Dar-
llenwch hi yn ostyngedig, â chalon isel, trwy fw-
riad gogoneddu Duw, ac nid eich humain, â'r
gwybodaeth a gossoch ynddi. Ac na ddarllenwch
hi heb weddio beunydd ar dduw ar iddo ef gyfei-
rio eich darlleniad chwi i ddiwedd da: ac na
chymmerwch arnoch ei deongl hi ai hagoryd ym-
mhellach

nhellach nag y byddoch yn ei deall hi yn oleu. O herwydd (fal y dywaid S. Austin) mae gwybodaeth yr Scrythyr lân yn fawr, yn halaeth, ac megis neuadd vchel, ond mae'r drws yn isel iawn, fal na ddichon yr vchel rhyfygus rhedeg i mewn iddi, ond mae'n rhaid i'r vn a elo i mewn, ostwng yn isel a bod yn ostyngedig. O herwydd balchedd a rhyfyg yw mam pob amryfysedd, ond nid rhaid i ostyngeiddrwydd ofni byth gamsynnaid. O herwydd gostyngeiddrwydd a chwilia, yn vnic i wybod y gwirionedd. Hi a chwilia, ac a ddwg y naill le, ynghyd a'r llall, a pha le bynnac ni chyrhaeddo hi yr ystyr hi a weddia, hi a ymofyn â'r rhai a wyddont, ac ni therfyna hi ddim nas gwypo yn rhyfygus ac yn ddibwyll. Am hynny fe ddichon y gostyngedig yn eofn chwilio am y gwirionedd yn yr Scrythyr, heb berigl o amryfysedd. Ac os ydyw ef heb wybodaeth gantho, mwy o lawer y dyle chwilio a darllen yr Schrythyr lân i'w ddwyn allan o anwybodaeth. Nid ydwyf yn dywedyd, na all gwr lwyddo wrth wrando yn vnic, ond fe all lwyddo yn fwy a lawer wrth wrando, ac wrth ddarllen. Hyn a ddywedais am ofn darllen o blegid anwybod y darllenydd. O blegid anhyweithdra a chaledrwydd'r Scrythyr, pwy bynnac sydd mor wan ac nad ydyw yn abl i dreulio bwyd cryf, etto fe ddichon er hynny sugno y llaeth melys esmwyth, ac oedi dyfod at ychwaneg, hyd oni chryfhao, ac hyd oni ddelo i fwy o wybodaeth; O herwydd mae Duw yn derbyn y dyscedig a'r annyscedig, heb wrthod neb, gan fod yn *ddiduedd i bawb oll. Ac mae'r Scrythyr mor llawn o ddyffrynnoedd isel a llwybrau gwastad esmwyth i bob dyn i'w harfer, a rhodio ynddynt, ac o dwynau a mynyddoedd.

* Diymmer, dineilltuol, indyfferent.

mynyddoedd uchel, y rhai ni ddichon nymmor ddringo iddynt. A phwy bynnag a roddo ei feddwl i ddarllen yr Scrythyrau sanctaidd â mysyrdod diwall, a chwant gwresog nid possibl (medd S. Ioan aur enau) gadel hwnnw heb gymmorth. Ond y naill ai fe ddensyn Duw ryw athro duwiol, i'w ddyscu ef, megis y danfonodd i ddangos i'r *discpaidd, pendefig o Ethiopia, a thrysorwr brenhines Candace yr hwn ac yntef a bryd mawr gantho ar ddarllen yr Scrythyr, (er nad ydoedd yn ei deall,) etto am y bryd oedd gantho ar air Duw, fe ddanfonodd Duw ei Apostol Philipp atto i agoryd iddo wir ystyr yr Scrythyr yr ydoedd ef yn ei darllen: neu os bydd arnom eisiau gwr dyscedig i'n haddyscu ac i'n cyfarwyddo, etto fe *oleuonna Duw ein meddyliau ni oddi uchod, ac a ddengys ini bob peth anghenraid ar na byddom yn ei wybod. Ac fe ddywaid Chrysostom mewn man arall, nad rhaid wrth ddoethineb gwybodaeth dynawl bydol, i ddeall yr Yscrythyr, ond dadguddiad yr Yspryd glan, yr hwn sydd yn tywallt ei gwir ystyr hi i'r rhai a chwiliant amdano mewn gostyngeiddrwydd, dyfalwch ac astudrwydd. I'r hwn a ofynno y rhoddir, a'r hwn a geisio a gaiff, i'r hwn a guro yr agorir y porth. Os darllenwn unwaith, dwywaith, tair, heb ddeall, na pheidiwn, ond parhawn yn darllen yn wastad, gan weddio, a gofyn i eraill, ac felly wrth guro yn wastadol, yn y diwedd fe a agorir y porth ini, fal y dywaid S. Awstin; Er bod yn dywedyd llawer o bethau yn yr Scrythyr mewn dirgelion tywyll, etto nid ydys yn dywedyd dim mewn dirgelion tywyll, yn un lle nad ydys yn ei adrodd yn oleu ac yn eglur mewn lle arall; megis

Chrysostom.

*Eunuch.

megis y gallo y dyscedig a'r annyscedig ei ddeall ef. Ac am y pethau ydynt, yn yr Scrythyr yn hawdd eu deall ac anghenrhaid i Iechydwriaeth, dylyed pob dyn yw eu dyscu hwy, eu argraphu hwy yn ei gôf, au harfer hwy yn ffrwythlon. Ac am ddirgelion tywyll fe ddyle fod yn fodlon i fod heb eu gwybod, hyd oni ewyllysio Duw egluro y pethau hynny iddo. Hyd hynny, os bydd diffyg medr, neu amser cyfaddas arno, ni chyfrif Duw hynny yn ffolineb iddo: etto nid gweddus i'r rhai sydd yn medru beidio a darllen, am fod eraill yn anaddas i ddarllen: ac etto ni ddylaiid gadel y cwbl oll heb ddarllen o blegid bod rhyw fannau yn dywyll. Ac i ddiweddu; a'r ychydig airiau: fal y dywaid S. Austin fe wellhair pawb oll wrth ddarllen yr Scrythyr, fe a gadarnhair y gweinaid, ac a ddiddenir y cedyrn: fal yn sicer nad oes neb yn gwrthwynebu darllen gair Duw, ond naill ai y rhai diwybod, ni wyddont mor iachus yw, neu y rhai ydynt mor gleifion, ag y maent yn casau, y cysurusaf feddyginniaeth i'w iachau hwynt: neu ynte mor anuwiol, ag yr ewyllyssient i'r bobl aros yn wasted mewn tywyllwch, ac heb adnabod Duw. Fal hyn y traethais a'r ychydig eiriau, ran or budd, ar ennill y sydd yn dyfod oddi wrth sanctaidd air Duw, vn or Daionus roddion dewisaf, a braintusaf, a hyspyswyd ac a roddwyd i ddynawl ryw, ymma ar y ddaear. Diolchwn i Dduw ân calonnau am ei rhodd fawr ardderchawg hon, am ei Ddaionus ffafor, a'i dadawl ragddarbodaeth. Bydded lawen gennim adfywhau gwerthfawr rodd ein tad nefol, gwrandawn, darllenwn a gwybyddwn reolau sanctaidd gorchymmynion, ac ordeiniadau

deiniadau ein Christionogawl grefydd, ar y rhai y gwnaethon ein addewidion i Dduw yn ein bedydd. Gossodwn i fyny yn * llogellau ein calononau mewn ofn a gostyngeiddrwydd y gwersau anghenrheidiol ffrwythlon ymma. Meddyliwn am danynt nos a dydd, byddet ein myfyrdod am cydsyniaid ynddynt. Cilgnown hwy, fal y gallom gael y * sudd melys, y ffrwyth ysprydol, y mer, y mel, y knewyll, y blas, y cysur, ar diddanwch o hanynt. Sefydlwn, a siccrhawn ein cydwybod, ac anhwyllodrus siccrwydd gwirionedd, a thragwyddol ddiogelrwydd y pethau hyn. Gweddiwn ar Dduw unig awdur y myfyrdodau nefol hyn, ar ini allel chwedleua, meddwl, credu, byw, a myned oddiymma yn ol eu gwir athrawaeth, ai gwirionedd hwy. A'r modd hyn y cawn ymddiffyn Duw, ai rad ai ffafor yn y byd ymma, gyda diddanwch, heddwch, ac esmwythder annhraethadwy in cydwybod. Ac yn ol y blinfyd hwn, y cawn feddiannu diddrangc fendith, a gogoniant nefol: yr hyn a ganiatao Iesu Grist ini oll, yr hwn a oddefodd angeu drosom ni oll, i'r hwn gyda 'r Tâd, a'r Yspryd glân y byddo anrhydedd, a gogoniant, yn oes oesoedd. Amen.

* Yngheudod.

* Sugn.

## Pregeth am drueni dyn a'i ddamnedigaeth i farwolaeth dragwyddol trwy ei bechod ei hun.



Id ydyw yr Yspryd glân yn ddyfalach mewn dim, wrth scrifennu yr Scrythyr lân, nag am dynnu i lawr wag ogoniant a balchedd dyn, yr hyn o bob beiau eraill, sydd gwedy

ei

ei blannu yn gyffredinol ym-mhob dyn, fe er lly-
gredigaeth ein cyntaf dad ni Addaf. Ac am hyn yr
ydym ni yn darllen yn amryw fannau yn yr Scry-
thyr, lawer o wersau gwych yn erbyn yr hên fai
gwreiddiedig ymma, er dangos ini ganmoledic ras
rinwedd gostyngeiddrwydd, ein adnabod ein hu-
nain, a chofio pa beth ydym ni o hanom ein hu-
nain. Yn llyfr Genesis mae yr holl-alluog Dduw
yn rhoddi ini deitul neu enw ein hên dad Addaf,
yr hwn enw a ddylei ein rhybyddio ni, i gyd, i ysty-
riaid pa beth ydym ni, o ba beth y'n ydym, ac o ba le
y daethon, ac i ba le yr awn ni, gan ddywedydd fel Gen.3.19.
hyn, Yn chwys dy wyneb y bwyttai dy fara, nes
dy ddychwelyd ir ddayar, o herwydd o heni hi y
dyrchost, o achos mai pridd ydwyd, ac i'r pridd y
dychweli. Ymma gan hynni y gallwn megis
mewn drych weled mai daiar, pridd a lludw ydym
ni, ac mai yn bridd, a lludw y'n troir ni ailwaith.
Ac yr ydoedd yr hen Batriarch Abraham yn cofio
yn ddifai yr enw, a'r teitul ymma llethrod, pridd,
llwch, a lludw; a apwyntiodd ac a osododd
Duw ar holl rywogaeth dyn: ac am hyn pan
ydyw fe yngweddio 'n ddifrif ac yn daer dros So- Gen. 18.27.
dom a Gomorrah, mae fe 'n ei alw ei hun wrth yr
enw hyn. Ac yr ydym ni yn darllen yn yr hên de-
stament fod Judith, Hester, Job, Jeremi, a gwyr Iud.4.21. ar
a gwragedd duwiol eraill, yn arfer sachliain, ac o 9.1.
dasu llwch, a lludw ar eu pennau, pan fyddent yn Ier.6.26. ar
galaru am eu buchedd bechadurus, hwy a alwent 25.34.
ac a waeddent ar Dduw, am nerth a thrugaredd:
â'r fath ceremoni o sachliain, llwch, a lludw, fal
wrth hynny, y manegent i'r holl fyd, pa dyby-
gaeth a bri gostyngedig issel oedd gan thynt am da-
nynt eu hunain, a * pha gyflwr yr oeddynt yn * Dadl.
cofio

cofio yr enw a'r titul a ddywedasom ni o'r blaen,
eu gwrad wyddus, lygredig, egwan anian, llwch-
pridd, a lludw. Mae lifr y doethineb gan ewyllys-
sio tynnu ein calonnau beilchion ni i lawr, yn
ein hannog ni i gofio yn ddiwall yn cenhedlaeth
farwol briddlyd, yr hon sydd genym ni oddiwrth
Doeth.7.1. yr hwn a wnaethpwyd gyntaf: a bod pawb bren-
hinoedd, a deiliaid, yn dyfod i'r byd hwn, ac yn
*sut myned o hano, yn yr un modd a *dull: hyny yw
o hanom ein hunain yn flin, ac yn llawn trueni,
megis yr ydym yn gweled beunydd. Ac fe orchy-
mynnodd y goruwchaf Duw i'r prophwyd Esai
Esai 40.7. waeddi ar y byd i gyd, a phan ofynnodd Esai pa
beth a waeddei, fe attebodd yr Arglwydd, mai
glaswellt yw pob cnawd, a'i ogoniant megis blo-
dau'r maes: gwywodd y gwelltyn a syrthiodd y
blodauyn, pan chwythodd Yspryd yr Arglwydd
arno: gwellt yn ddiau yw'r bobl, yr hwn a gri-
na, a'i flodau a wywa. Ac mae'r prophwyd san-
caidd Iob yr hwn abrofasau ynddo ei hun yn ha-
laeth flin a phechadurus gyflwr dyn, yn agoryd
hyn i'r byd yn y geiriau ymma, dyn (medd ef) a
Iob 14,1. aned o wraig, sydd a byr amser iddo i fyw, ac yn
llawn trueni, mae fe'n cyfodi megis llysewyn, ac
yn gwywo, ac yn difannu megis gwyscod, ac nid
ydyw yn hir aros yn yr un dull. Ac a ydwyt ti o
Arglwydd, yn tybied fod yn gymhessur agoryd
dy lygaid ar y fath un, a'i ddwyn ef i farn gyda thi-
plwy a ddichon lanhau yr hwn a enillwyd o had
aflan. Mae pawb yn gyffredinol o'u hyblygedd
naturiol, mor hollol gwedy ymroi i bechod, hyd
(fal y dywaid yr Scrythyr) oni edifarodd Duw
Gen, 6.6. ar iddo wneuthyr dyn erioed. A thrwy bechod yr
7.2. cynnodd digofaint Duw yn erbyn yr holl fyd,
megis

megis y boddodd ef â llif Noah yr holl fyd, ond Noah ei hun a'i ychydig dylwyth. Nid heb achosion mawrion y mae Scrythyr Duw yn fynych iawn yn galw dynnion ymma yn y byd hwn, a'r enw daear: oh tydi ddayar, ddayar, ddayar, medd y Prophwyd Jeremi, gwarando air yr Arglwydd, Ier.14.
Mae ein iawn ditul, enw, a galwedigaeth ni pridd, pridd, pridd, a gyhoeddwyd drwy y prophwyd, yn dangos pa beth ydym ni yn wir: pa enw bynnag, pa ditul, pa fraint, neu orddwchafiaeth bynnag a roddo dynnion ini, fal hyn yr enwodd efe ni, yr hwn a wyddei orau pa beth ydym ni, a pha fodd y dylyem gael ein galw: fal hyn y gosod ef ni allan, gan ddywedyd drwy enau ei Apostol S. Paul, fod pawb oll dan bechod,
Iddewon, a Groegwyr, ac nad oes un cyfiawn, Ruf.3.12.
nag oes un, nid oes neb yn deall, nac yn ymofyn am dduw, gwyrasant oll hwy aethant oll yn anfuddiol, nid oes un yn gwneuthur daioni nac oes un; Mae eu geneuau hwy megis bedd agored, au tafodau y maent yn arfer twyll, gwenwyn lyndys sydd dan eu gwefusau, mae eu geneuau yn llawn melldith a chwerwedd, buan yw eu traed i ollwng gwaed. Distryw ac aflwydd sydd yn eu ffyrdd: ffordd heddwch nid adnabuont: nid oes ofn Duw oflaen eu llygaid. Ac mewn man arall,
yr scrifenna S. Pawl fal hyn, mae Duw gwedy Ruf. 11.32.
cau pob cenedl mewn angrhedyniaeth, fal y gallai Gal.3.22.
drugarhau wrth bawb mae'r Scrythyr yn cau pawb dan bechod, fal y gallid rhoi yr addewidion drwy ffydd Jesu Grist i bawb a gredant. Mae Pawl mewn aml fannau yn ein peintio ni yn ein lliw ein hunain, gan ein galw yn blant digofaint
Duw, ie pan y'n ganed: a chan ddywedyd hefyd Ephes.2.3.

na allwn feddwl ym-meddwl da, o hanom ein hu-
nain, llai o lawer y gallwn ddywedyd neu wneu-
thur yr hyn sydd dda o honom ein hunain. Ac mae
'r gwr doeth yn dywedyd yn llyfr y diarhebion, y
Dihar 24.16. cwymp y gwr cyfion saith-waith yn y dydd. Ac
yr ydoedd Iob, yr hwn a brofwyd hyd yr eithaf,
yn ofni ei holl weithredoedd. Ac er sancteiddio
Ioan fedyddiwr ym-mol ei fam, a'i ganmol cyn ei
eni, er ei alw ef yn angel, ac yn fawr ger bron yr
Arglwydd, gwedy ei lanw o'i anedigaeth a'r
Yspryd glân, darparydd ffordd yr Arglwydd ein
Luc.1.76. Iachawdwr Christ. Er i Grist ei ganmol ef gan
ddywedyd, ei fod yn fwy nâ phrophwyd, ac yn fwy-
af a aned o wraig, etto mae fe yn caniatau yn
eglur, fod yn angenrhaid iddo gael gan Grist
ei olchi, mae fe'n deilwng yn derchafu ei Ar-
Math.3.11. glwydd a'i feistr Christ; mae fe 'n ymostwng me-
gis annheilwng i ddattod carrei ei escid ef, ac yn
rhoddi i Dduw yr holl anrhydedd a'r gogoniant;
felly y mae S. Pawl ei hun yn cyffessu yn fynych
am dano ei hun, pa beth oedd o hono ei hun, gan
roddi megis ffyddlonaf wâs, yr holl glod a'r mawl
i'w feistr a'i Iachawdwr. Felly y mae S. Ioan
Efengylwr yn ei enw ei hun, ac yn enw yr holl
Dduwiolion (er mor gyfion faent) yn gwneuthur
y gyffes gyhoeddus hon: Os dywedwn ein
Ioan.1.9.10. and 2.1. bod heb bechod, yddym yn ein twyllo'n hunain,
ac nid oes gwirionedd ynom: os cydnabyddwn
ein pechodau, mae Duw yn gyfion, ac yn ffyddlon
i'n faddau inni ein pechodau, ac i'n glanhau ni
oddiwrth ein holl anwiredd: os ni a ddywedwn
na phechasom yr ydym yn ei wneuthur ef yn gel-
wyddog, a'i wirionedd nid yw ynom. Am hyn
mae'r gwr doeth yn llyfr y pregethwr yn gwneu-
thur

chur y gyfies gywir gyffreadinol hon, nid oes vn Pregethwr
dyn cyfion ar yddayar, yn gwneuthur daioni, ac 7.21.
heb bechu. Ac mae Dafydd yn cywilyddio am ei
bechod, ac er hyn heb gywilidd gantho gyffessu
ei bechod. Mor fynych, mor chwannog, ac mor Psal.51.1.
druan y mae fe'n deisif mawr drugaredd Duw
am ei feiau mawrion, ac nad elai Dduw i farn
ag ef? Ac ailwaith, mor gymmwys y mae'r gwr
duwiol ymma yn pwyso ei bechodau, pan ydyw
ef yn cyffessu eu bod hwy cy amled mewn rhifedi,
ac mor guddiedig, ac mor anodd eu deall, megis y
mae'n ammhossibl eu hadnabod, eu cyhoeddi neu
eu rhifo hwy? Am hynny a chantho ddifri a gwir
a dyfn ystyried a myfyrdod am ei bechodau, ac
etto heb allel dyfod hyd y gwaelod, mae fe'n gw-
neuthur ei weddi ar Dduw am faddau iddo ei
bechodau cuddiedig dirgel, i wybodaeth y rhai ni Psal.19.12.
ddichon ef ei hunan ddyfod. Mae fe'n iawn y-
styried ei bechodau o'r gwraidd dechreuol a llygad
y ffynnon, gan ddeall fod eu gogwyddiadau, eu
cymmelliadeu, eu cynnyrfiadau, eu brathau, eu
cynteffin, eu blodau, eu caingciau eu sothach, eu lly- blaendardd
gredigaetheu eu blas, eu chwaith eu naws, a'u ha-
roglau hwy yn aros ac yn para yn wastad ynddo.
Ac am hynny y dywaid, wele mewn anwiredd Psal.51.5.
y'm lluniwyd, nid ydyw yn dywedyd mewn pe-
chodau megis am lawer, ond mewn pechod me-
gis am vn, o herwydd mai o vn ffynnon y mae y
lleill oll yn tarddu ac yn ffrydio. Mae'n Iachaw-
dwr Chryst yn dywedyd nad oes vn da onid Duw, Mark.10.18. Math.10.18.
ac hebddo ef na allwn wneuthur daioni, ac na- Luc.18.19.
ddichon neb ddyfod at y Tâd ond trwyddo ef. Ac Ioan.15.
mae fe yn gorchymmyn gwedy darfod ini wneu-
thur y cwbl oll ini addef nad ydym ni onid gweissiō Luc.17.10.

anfuddiol. Mai fe 'n gosod y Publican etifarus
Luc.18.14. ymlaen y Pharisai sancteidd balch clodforus.
Math.9. Mae fe yn ei alw ei hun yn feddyg nid i'r iach, ond i'r cleifion a fyddont ac eisiau ei eli ef arnynt. Mae efe yn ein dyscu ni yn ein gweddiau in cydnabod ein hunain yn bechaduriaid ac i ofyn cyfiawnder a rhyddhâd oddiarlaw ein tâd nefol. Mae fe'n dangos mae pechodau eyn colomnau ni ein hunain sydd yn ein halogi ni.
Math. 11. 36. Mae fe 'n dangos fod gair neu feddwl drwg yn haeddu damnedigaeth; gan siccrhau y gorfydd arnom roi cyfrif am bob gair ofer. Mae fe yn dywedyd na ddaeth ef
Math. 18.11. i gadw ond y defaid oedd gwedy eu colli, a'u taflu ymmaith. Herwydd pa ham ni chadwodd ef ond ambell un o'r Pheriseaid beilchion, cyfiawnion, dyscedig, call synhwyrol, sanctaidd, am eu bod hwy yn eu cyfiawnhau eu hunain ger bron dynion â'u ffugsancteiddrwydd yn unig. Am hynny, fyngharedigion bobl, gochelwn y fath ragrith, gwag-ogoniant a chyfiawnhâd ein hunain.

## ¶ Yr ail rhan o'r bregeth am waelder, a thrueni dyn.



N gymmaint a bod yn angenrhaid ini ein gwir adnabod ein hun, i'n dwyn i iawn wybodaeth am Dduw: chwi a glywsoch yn yr hyn a ddarllenwyd ddiwethaf, mor ostyngedig yr oedd pawb o'r duwiolion, yn meddwl amdanynt eu hunain, a'u bod hwy gwedy dyscu meddwl felly gan Dduw eu creawdwr yn ei sanctaidd air. O herwydd o hanom ni ein hunain nid

ydym

ydynt ond a'u llafur, ac ni all wn dd'wyn dim a-
falau. Nid ydym ni o hanom ein hunain onid tir
drwg, yr hwn ni ddichon dd'wyn dim onid chwyn
danadl, mieri gwŷg, a * graban. Yr ydys yn Llær.
amlygu ein ffrwythau ni yn y bummed bennod at
y Galathiaid. Nid oes gennym na ffydd, na cha-
riad, na gobaith, na goddefgarwch, na diweir-
deb, na dim arall ac y sydd ddaionus, onid o
Dduw: ac am hyn y gelwir y rhinweddau hynny
yno, yn ffrwythau yr Yspryd glan, ac nid ffrwy-
thau dŷn. Cydnabyddwn am hynny ein bod ni
ein hunain, fal yr ydym yn siccr, yn bechaduriaid
truain, gwaelion: etifarhawn yn ddifrif ac ymo-
styngwn yn ein calonnau, a gweddiwn ar Dduw
am drugaredd: cyffeswn oll â'n calonnau a'n ge-
neuau ein bod ni yn llawn ammherffeiddrwydd.
Cydnabyddwn ein gorchwylion, mor ammher-
ffaith ydynt: ac yno 'ni safwn ni yn ynfyd ac yn
rhyfygus yn ein meddyliau ein hunain, ac nid
ymhonnwn ni o vn rhan o'n cyfiawnhâd trwy'n
haeddedigaeth, a'n gweithredoedd ein hunain.
O herwydd yn wir mae ammherffeiddrwydd yn
ein gweithredoedd gorau ni: nid ydym ni yn caru
Duw yn gymmaint ac y dylyem, â'n holl galon,
â'n holl feddwl, ac â'n holl allu. Nid ydym ni yn
ofni Duw megis y dylyem, nid ydym yn gweddio
a'r Dduw ond mewn diffyg, ac anghyfiawnder
mawr. Yr ydym yn rhoddi, yn maddau, yn credu,
yn byw, ac yn gobeithio yn anghyfiawn: yr ydym
yn dywedyd, yn meddwl ac yn gwneuthur yn am-
mherffaith: yr ydym yn ymladd yn erbyn diafol,
y byd, a'r cnawd, yn am-mherffaith. Am hynny
na fydded arnom gywilydd gydnabod ein am-
mherffeithrwydd yn ein gweithredoedd gorau.

Na fyddedd arnom gywilydd ddywedyd fal y dy-
Luc.5.8. wedai Petr sanct, dyn pechadurus ydwyf. Dy-
Psal.106,16. wedwn oll gydâ'r prophwyd sanctaidd Dafydd, ni
a bechasom ni a'n tadau, ni a wnaêthon yn feius,
ni a weithiassom yn a'nnuwiol: Gwnawn oll
ein cyhoeddus gyffes gydâ'r mab afradlon wrth
ein tâd, gan ddywedyd, ni a bechasom yn erbyn
Luc.15.18. y nefoedd, ac o'th flaen di, o dad nid ydym deilwng
i'n galw yn blant iti. Dywedwn oll gydâ Baruc
sanctaidd, oh Arglwydd ein Duw ni, yn iniawn
Baruc.2.6. y rhoddir cywilydd a gwradwydd ini, a chyfiawn-
der ac iniondeb i tithau: ni a bechasom, ni a wna-
ethon yn ddrygionus, ni a ymddygasom yn an-
nuwiol, yn dy holl gyfiawnderau di. Dywedwn
Daniel 9.7. gydâ'r prophwyd sanctaidd Daniel, o Arglwydd
i ti y perthyn cyfiawnder, ac i ninnau wradwydd.
Nyni a bechasom, ni a wnaethon yn ddrwg, ni
a'th ddigiasom di, ni a giliasom oddiwrthyt ti, ni a
aethom yn ein hol oddiwrth dy holl orchymmyn-
nion a'th farnedigaethau, llymma fal yr ydym ni
yn dyscu ymostwng gan bob rhai o'r duwiolion yn
yr scrythyr lân: a derchafu, gogoneddu, cammol,
clodfori, mawrhau ac anrhydeddu Duw: fal hyn
y clywsoch mor ddrwg ydym ni o hanom ein hu-
nain, ac megis ynom ein hunain, neu o hanom
ein hunain, nad oes na daioni, na nerth, na Ia-
chawdwriaeth: ond o'r gwrthwyneb, pechod,
damnedigaeth, ac angau tragwyddol. Yr hwn
beth os ni a'i dwfn bwysown, ac a'i hystyriwn yn
inion, fe fydd haws ini ddeall, mawr drugaredd
Duw, a pha fodd y mae'n Iechydwriaeth ni yn
dyfod oddiwrth Grist yn unic. O herwydd ynom
ein hunain, megis o hanom ein hunain, nid ydym
ni yn caffel dim drwy'r hyn y gallwn gael ymwa-

red

red o'r blin gaethiwed i'r hwn y'n taflwyd trwy
genfigen diafol wrth dorri gorchymmyn Duw yn
ein tâd cyntaf Addaf: yr ydym ni oll gwedy myned
yn aflan, ond nid ydym ni oll yn abl' in glanhau
ein hunain, nac vn o hanom a all lanhau vn arall.
Yr ydym i gyd oll wrth anian, a naturiaeth yn
blant digofaint Duw, ac nid oes neb o hanom a
all ein gwneuthur ein hunain yn blant, ac yn eti-
feddion gogoniant Duw. Yr ydym yn ddefaid
gwedy mynd ar ddidro, ac o'n nerth ein hunain,
ni allwn ni ddyfod i'r gorlan ailwaith, gan faint
yw ein am-mherffeithrwydd ni a'n gwendid. Gan
hynny ynom ein hunain, ni allwn ni orfoleddu,
y rhai ynom ein hunain nid ydym ddim onid pe-
chadurus, ac ni allwn lawenhau mewn dim
gweithredoedd ac a wneuthon, y rhai ydynt oll
mor ammherffaith ac mor amhur, fel na allant
sefyll ger bron cyfiawn orseddfanigc Duw, fal y
dywaid y prophwyd Dafydd, Na ddos i'r farn â'th Psal.143.2.
wâs o Arglwyd, can nad byw neb cyfion yn dy
olwg di. At Dduw am hynny y dylyem gilio, ac
onid ê, byth ni chawn ni na heddwch na gor-
phwysfa, na llonyddwch i'n cydwybod yn ein ca-
lonnau. O herwydd efe yw Tâd y trugareddau
a Duw'r holl ddidanwch. Efe yw yr Arglwydd, 2.Cor.1.3.
gydâ'r hwn y mae aml ymwared: Efe yw y Duw Psal.130.7.
yr hwn o'i drugaredd ei hun sydd yn ein cadw ni,
ac yn gosod allan ei garedigrwydd ai odidawg ga-
riad tuag attom ni, am iddo o'i ewyllys da ei hun
ein cadw ni pan oeddym golledig, a darparu bren-
hiniaeth dragwyddol ini. A'r holl drysor nefol
ymma yr ydys yn eu rhoddi ini, nid am ein hae-
ddiant a'n dylyed a'n gweithredoedd da ein hu-
nain (y rhai o hanom ein hunain nid oes gen-

 nym)

nym) onid yn vnic o'i drugaredd râd ei hun. Ac er
mwyn pwy? yn wir er mwyn Christ Iesu, pur
[Ioan.1.29.] a difrychaulyd oen Duw. Ef yw'r anwyl garedig
fab, er mwyn yr hwn y mae Duw gwedy ei ddi-
[Pet.2.22.] ddigio, ei foddloni, a'i wneuthur yn vn a dŷn. Efe
[Ioan.1.47.] yw oen Duw, sydd yn tynnu ymmaith bechodau
'r bŷd, am yr hwn yn vnic y gellir mewn gwirio-
nedd ddywedyd iddo wneuthur pob peth yndda, ac
na chafad twyll yn eu enau, nid oes neb onid efe
a ddichon dywedyd, daeth tywysog y bŷd hwn, ac
ynof fi ni chafas ddim. Ac ef yn vnic a ddichon dy-
wedyd, pa vn o hanoch am argyoedda fi o bechod?
[Ioan.8.46.] Efe yw yr Archoffeiriad tragwyddol, yr hwn a'i
[Hæb.8.1. ar 10.12.] offrymmodd ei hun vnwaith drosom oll ar allor
y groes, ac â'r vn offrwm hwnnw a berffeithiodd
dros fyth y rhai a sancteiddiwyd. Efe yn vnic sydd
[Gyfryngwr] gyfryngwr rhwng Duw a dyn, yr hwn a dalodd
[1.Ioan.2.1.2.] ein dyled ni i Dduw, âi waed ei hun: â'r hwn
y glanhaodd ef ni oll oddiwrth ein pechodau. Efe
[Math.1.21.] yw'r meddyg sydd yn iachau ein holl glefydau ni.
Efe yw'r gwaredydd sydd yn gwared ei bobl oddi-
wrth ei holl bechodau. Ac ar ychydig eiriau, efe
yw'r ffynnon fawr-ffrwd gyflawn, o gyflawnder
yr hon y dderbyniasom ni oll. O herwydd ynddo
ef yn vnic y cuddiwyd holl drysor doethineb a
gwybodaeth Duw. Ac ynddo ef, a thrwyddo efe
yr ydym ni yn cael oddiwrth Duw dâd, bob peth
da ac a berthyn i'r corph, a'r enaid. Oh mor rhwy-
medig ydym ni i'r Tâd nefol hwnnw, am ei fawr
drugaredd, yr hon a amlygodd ef mor aml ini
yngwrist Iesu ein harglwydd ni a'n Ceidwad? Pa
ddiolch sydd wiw a digonol ddigon ini ei rhoddi
iddo ef? Torrwn allan yn gyttun ag vn meddwl
a llaferydd llawen, gan foliannu, a mawrhau yr
Arglw-

Arglwydd hwn o drugaredd am ei dirion fwynder a ddangosodd ef ini, yn ei anwyl garedig fab Christ Iesu ein harglwydd.

Hyd hyn y clywsoch pa beth ydym ni o hanom ein hunain, gwaelion, pechadurus, damnedig. Hefyd ni a glywsom nad ydym ni o hanom ein hunain yn abl i wneuthur vn weithred dda, nac i feddyliaid vn meddwl da: fal na allwn gael ynom ein hunain ddim gobaith Iechydwriaeth, ond yn hytrach y pethau ydynt yn dwyn distryw arnom. Ni a glywsom dirion fwynder, a mawr drugaredd Duw Dâd tuag attom, ac mor ddaionus y'w efe tuag attom er mwyn Christ, heb yn rhyglyddau na'n haeddedigaetheu ni, ond o'i vnig drugaredd a'i dirion ddaioni ef. O herwydd paham bellach y manegir ichwi drwy nerth Duw, yn halaethach yn y bregeth nessaf pa fodd y gellir mwynhau y godidog drugareddau mawrion ymma a hyfyyswyd ini ynghrist Iesu, a pha fodd y'n gwaredir ni oddiwrth gaethiwed pechod, angau, ac yffern.

O hyn hyd hynny, a phob amser, dyscwn ein adnabod ein hunain, ein eiddilwch, gwaeledd a gwendid, heb fostio na ffrostio am ein gweithredoedd da, a'n haeddiant ein hunain. Cydnabyddwn odidawg drugaredd Duw tuag attom, a chyffeswn mai o hanom ein hunain, y mae'n dyfod bob drygioni, a damnedigaeth, ac felly o hanaw fe y daw pob daioni ac Iechydwriaeth, megis y dywaid Duw ei hun drwy enau y prophwyd Osee. O Israel, o honot i dy hun y mae dy ddistryw, ond yno fi y mae dy nerth di, a'th ddiddanwch. Os ni fal hyn yn ostyngedig a ymmostyngwn yngolwg Duw, yn ddiammau yn amser ei Ose.13.9.

ymweliad, fe a'n derchafa ni i dernas ei anwyl fab Jesu Grist, ein harglwydd, i'r hwn gyda'r Tâd, a'r Yspryd glân, y byddo anrhydedd a gogoniant yn dragywydd. Amen.

## ¶ Pregeth am gadwedigaeth dynawl ryw, yn vnic drwy Grist ein Ceidwad, oddiwrth bechod ac angau tragwyddol.



Oherwydd bod pawb yn bechaduriaid gwedy digio Duw a thorri ei gyfraithiau a'i orchymynion, am hynny ni ellir cyfiawnhau vn dyn ger bron Duw drwy ei weithredoedd neu ei orchwilion ei hun er cystadl a fytho 'r olwg arnynt: ond mae yn anghenraid i bob dyn geisio cyfiawnder neu gyfiawnhâd arall, yr hwn a dderbynnir oddi ar law Dduw, hynny yw maddeuant o'i bechodau a'i droseddau, yn y rhai y pechodd, ac y trosoddodd efe. A'r cyfiawnhâd a'r cyfiawnder ymma yr hwn ydym yn ei gael drwy drugaredd Duw a haeddiant Christ, ac yn ei dderbyn drwy ffydd, y mae Duw yn ei gymmeryd ac yn ei dderbin yn lle perffaith a chyflawn gyfiawnhâd int.

Er cyflawn ddeall yr hyn beth, ein rhan andyfyed ni yw cofio mawr drugaredd Duw yn wastadol, pá fodd pan oedd yr holl fyd gwedy eu rhwymo oll mewn pechod, o waith torri y gorchymmyn, y danfonodd Duw ei vnig anedig fab, ein Ceidwad Christ, i'r byd hwn i gyflawni 'r gyfraith drosom; ac wrth dywallt ei werthfawr

waed

waed i wneuthur offrwm a thal a iawn i Dduw dâd am ein pechodau ni, i esmwytho ei lid ef a'r digofaint a gymmerth ef yn ein herbyn. Yn gymmaint a thrwy yr offrwm ymma, y golchwyd o'i pechodau, y dygpwyd i ffafor Duw, y gwneuthpwyd yn blant iddo ef, ac yn etifeddion o deyrnas nef, y plant bychain a fedyddiwyd, er iddynt feirw yn fychain, ac ynddi weithredoedd: A thrwy yr un offrymmiad y golchir hefyd y rhai mewn gweithred a bechant yn ol bedydd, os hwy a droant at Dduw ailwaith yn ddiragrith oddiwrth eu holl bechodau, yn y fath ddull, nad oes dim o frychi pechod yn aros nac yn parhau, yr hwn a gyfrif Duw i'w dammedigaeth hwy. Llymma'r cyfiawnder y mae Pawl yn son am dano, pan yw yn dywedyd na chyfiawnhair neb drwy weithredoedd y ddeddyf, onid yn rhâd drwy ffŷdd yn Jesu Grist. Ac ailwaith y dywaid, Yr ydym ni yn credu yn Jesu Grist, y cyfiawnhair ni yn rhâd, trwy ffydd Grist, ac nid trwy weithredoedd y ddeddf. O herwydd na chyfiawnheir neb trwy weithredoedd y gyfraith. Gal.1.15,16.

Ac er bod y cyfiawnhâd hyn yn rhâd ini, etto nid ydyw yn dyfod mor rhâd, megis pe byddid heb dalu un rhyw daledigaeth drosto. Ond ymma y diharffa ac y fynna rheswn dŷn, gan ymresymmu fal hyn. Os ydys yn rhoddi iawn am ein prynedigaeth ni, nid ydys yn ei rhoddi i ni yn rhâd. O herwydd os carcharwr a dâl iawn, nyd ydyw ef yn myned yn rhâd: oblegid os ydyw efe yn myned yn rhâd, nid ydyw yn talu un iawn. O achos beth yw mynd yn rhâd, onid cael rhyddhâd heb dalu iawn?

Fe attebodd mawr ddoethineb Duw i'r ddadl

hon ymnirgelwch ein prynidigaeth ni, yr hwn a dymmherodd ei gyfiawnder, a'i drugaredd felly ynghŷd, fal na wnai fe na 'n barnu ni yn ei gyfion farn i dragwyddol gaethiwed diafol a'i ddiymwared garchar vffern yn dragywydd yn ddidrugaredd, na 'n rhydhau ni yn rhyddion heb gyfiawnder, ac heb dalu cyfiawn ac inion iawn a thaledigaeth: Ond ynghŷd â'u drugaredd ddiderfynol, fe a gydiodd ac a gyssylltodd ei gymmwys; a'i iniawn gyfiawnder. Fe ddangossodd ini ei fawr drugaredd wrth ein rhyddhau ni o'n caethiwed, heb geisio o'n rhan ni gennem dalu, na thâl, Nac iawn, yr hyn beth a fuasai ammhossibl ini ei wneuthur: Ac o herwydd nad oedd yn ein gallu ni wneuthur iawn ein hunain, efe a ddarparodd iawn drosom ni, yr hwn oedd gorph a gwaed ei anwylaf garedig fab Iesu Grist, yr hwn (heb law yr iawn a'r taledigaeth ymma) a gyfiawnodd y ddeddyf drosom ni yn gwbl: Ac felly y bracheidiodd cyfiawnder a thrugaredd Duw bob vn ei gilydd, ac a gyfiawnasant ddirgelwch ein prynedigaeth ni. Am yr hwn gyfiawnder a thrugaredd Duw, gwedy eu clymmu fal y clywch hwi ynghŷd, y mae Pawl yn sôn yn y drydedd bennod

Ruf.3.23,24. at y Rufeiniaid, Pawb a bechasont, ac ydynt yn ôl am ogoniant Duw, ond hwy a gyfiawnhair yn rhâd drwy ei râs ef, trwy y prynedigaeth sydd yn Iesu Grist, yr hwn a osododd Duw yn iawn drwy ffydd yn ei waed ef, i ddangos ei gyfiawnder.

Ruf.10.4. Ac yn y ddegfed, Christ yw diwedd y gyfraith, er cyfiawnder i bob dyn a gretto. Ac yn yr

Ruf.8.3. wythfed Bennod, Yr hyn oedd yn am-mhossibl i'r gyfraith, yn gymmaint a'i bod yn egwan oblegid y cnawd, Duw gan ddanfon ei fab ei hun yn-

ghyffelybiaeth cnawd pechadurus, a hynny am bechod a gondemnodd bechod yn y cnawd, fal y cyflawnid cyfiawnder y ddeddf ynom ni, y rhai ydym yn rhodio, nid yn ol y cnawd, ond yn ol yr Yspryd.

Yn yr hyn leoedd y mae'r Apostol yn dangos tri pheth enwedigol, y rhai sydd rhaid iddynt gydgerdded yn ein cyfiawnhâd ni; o ran Duw, grâs a mawr drugaredd; o ran Christ cyfiawnder, hynny yw taledigaeth i gyfiawnder Duw, neu bridwerth ein prynedigaeth ni, trwy offrymmiad ei gorph, a thywalltiad ei waed ef, gan gyflawni 'r gyfraith yn gwbl, ac yn gyflawn: ac o'n rhan ninnau, ffydd wir fywiol yn haeddiant Jesu Grist: yr hon ffydd er hynny nid ydyw eiddom ni, onid drwy weithrediad Duw ynom. Megis nad ydyw trugaredd a gras Duw, yn unic, onid hefyd ei gyfiawnder ef yn ein cyfiawnhâd ni: yr hyn y mae 'r Apostol yn ei alw yn gyfiawnder Duw: yr hwn sydd yn sefyll mewn taledigaeth iawn drosom ni, a chyflawnad y gyfraith. Megis nad ydyw grâs neu râd Duw, yn cau allan gyfiawnder Duw, yn ein cyfiawnhâd ni ond yn unic yn cau allan ein cyfiawnder ni'hynny ydyw cyfiawnder ein gweithredoedd ni, fal na byddont yn haeddu ein cyfiawnhad: Ac am hyn ni son Pawl ymma, am ddim o ran dyn, tuac at gyfiawnhâd, onid gwir a bywiol ffydd yn unig, yr hon er hynny yw rhoddiad Duw, ac nid gweithred dŷn ei hun heb Dduw.

Ac etto nid ydyw y ffydd hon yn cau allan edifeirwch, gobaith, cariad, echryd, ac ofn Duw, fal na chydsyllter hwy â ffydd ymhob dyn a gyfiawnhair: ond mae hi yn eu cau allan oddiwrth swydd cyfiawnhâd

cyfiawnhâd: megis er eu bod hwy oll yn bre-
sennol yn yr hwn a gyfiawnhair, etto nid ydynt
yn cyfiawnhau ynghyd; Ac nid ydyw ffydd yn cau
allan gyfiawnder ein gweithredoedd da ni, y rhai
sydd raid eu gwneuthur ar ol hynny, megis ein
dyled ni at Dduw (o herwydd yr ydym yn rhwy-
medig i wasanaethu Duw mewn gweithredo-
edd da a orchymmynnodd ef yn ei sanctaidd scry-
thyr holl ddyddiau ein heinioes:) ond yr ydys yn
eu cau hwy allan, fal nas gwnelom ni hwy o fw-
riad cael ein gwneuthur trwyddynt yn ddaionus.
O herwydd mae'r holl weithredoedd da a allom
ni eu gwneuthur, yn anghwbl ac yn anghyfiawn:
ac am hynny ni allant haeddu ein cyfiawnhâd ni:
ond mae'n cyfiawnhâd ni yn dyfod drwy unic dru-
garedd Duw yn rhâd: a thrwy gymmaint druga-
redd, ac mor rhâd megis pan nad oedd yr holl fyd
yn abl i dalu un rhan tuag at yr iawn a'r taledi-
gaeth ymma, fe fu fodlon gan ein tâd nefol o'i anei-
rif drugaredd, heb ein haeddiant ni, ddarparu
gwerthfawroccaf dlws, corph a gwaed ein Ia-
chawdwr Christ, trwy'r hwn y cwbldelid yr iawn,
y cyflawnid y gyfraith, ac y bodlonid cyfiawnder
Duw: fal yn awr y mae Christ yn gyfiawnder i'r
cwbl oll ac a wir gredant ynddo. Ffe a dalodd dro-
stynt iawn trwy ei angau ei hun. Ffe a gyflaw-
nodd drostynt hwy y gyfraith yn y bywyd hwn:
megis bellach ynddo fe, a thrwyddo fe, y gellir ga-
lw pob Christion yn gyflawnwr y ddeddyf: yn
gymmaint a darfod i gyfiawnder Christ gyflawn-
ni, yr hyn oedd ddyffygiol yn eu gwendid hwy.

¶ Yr

## ¶ Yr ail rhan o'r bregeth am gadwedigaeth dyn.



Chwi a glywsoch oddiwrth bwy y dylye bawb geisio cyfiawnder a chyfiawnhâd, a pha fodd y mae'r cyfiawnder hwn yn dyfod i ddynion drwy angau a haeddiant Christ: Chwi a glywsoch fod yn rhaid wrth dri pheth i gwplhau y cyfiawnder hwn: hynny yw, trugaredd Duw, cyfiawnder Christ a gwir a bywiol ffydd, o'r hon ffydd y tardda, y ffrydia, neu y tŷf gweithredoedd da. Fe fanegwyd o'r blaen yn helaeth na chyfiawnhair neb drwy ei weithredoedd da ei hun, na chyfiawna un dyn y gyfraith mor gyfiawn ag y mae hi yn gofyn ei chyfiawni. A hyn y mae S. Pawl yn ei brufo yn ei epistol at y Galathiaid gan ddywedyd, Pe rhoesyd cyfraith a allasai roddi bywyd yn wir fe fuasai gyfiawnder o'r gyfraith. Ac fe ddywaid ailwaith, Os bydd cyfiawnder trwy'r gyfraith, fe fu farw Christ yn ofer. A thrachefn, Chwi y rhai a gyfiawnhair drwy'r gyfraith, a gwympasoch oddiwrth râd; Ac hefyd fe scrifenna at yr Ephesiaid yn y modd ymma, O râs yr ydych yn gadwedig trwy ffydd, a hynny nid o honoch chwi, rhodd Duw ydyw, nid o weithredoedd, rhag i neb orfoleddu; Ac ar ychydig eiriau, y chwbl o ddadlewad Pawl yw hyn, Os yw cyfiawnder yn dyfod yn rhad, nid yw yn dyfod o weithredoedd: as o weithredoedd, nid yw yn dyfod yn rhad.

Gal 3.21. Ephes.2.8.9.

Ac hyn y cyrchai yr holl prophwydi, fal y dywed Petr yn y ddegfed o'r Actau, Am Grist medd S. Petr, y mae'r holl prophwydi yn testiolaethu,

Act.10.43.

mai drwy ei enw ef, y caiff pawb a gredo ynddo faddauant o u pechodau.

Ac yn y modd ymma am gyfiawnhâd yn unic drwy wir a bywiol ffydd ynghrist, y sonnia yr holl hen awdyrion, Groegwyr a lladingwyr, ymmysc y rhai yr enwaf yn enwedig dri, Hilari Basil, ac Ambros. S. Hilari sydd yn dywedyd fal hyn yn eglur yn y nawfed canon ar Mathew, ffydd yn unic a gyfiawnhâ; Ac S. Basil Awdur Groeg a scrifenna fal hyn, llymma lawenychu perffaith cyfan yn nuw, pan fytho un nid yn ei fawrygu ei hun am ei gyfiawnder: ond yn cydnabod fod ei hun a diffyg cyfiawnder a chyfiawnhâd arno, a bod yn ei gyfiawnhau ef drwy ffydd ynghrist yn unic. Ac mae Pawl (medd ef) yn gorfoleddu mewn bychander a di-ystyrwch ei gyfiawnder ei hun, ac yn edrych am gyfiawnder Duw trwy ffydd. Llyna eiriau Basil: A S. Ambros awdur lladin a ddywaid y geiriau hyn, Llymma ordeiniaeth Duw, ar ini y sawl y sydd yn credu ynghrist, gael bod yn gadwedig heb weithredoedd drwy ffydd yn unic, gan dderbyn yn rhâd faddeuant o'n pechodau.

Phil.3.9.

Ystyriwch yn ddiescaelus y geiriau hyn, Heb weithredoedd, Trwy ffydd yn ynig, Yn rhâd y derbyniwn faddeuant o'n pechodau. Pa beth a ellir ei ddywedyd yn oleuach na dywedyd yn rhâd, heb weithredoedd, trwy ffydd yn unic yr ydym yn cael maddauant o'n pechodau? Yr ymmaddroddion ymma ac eraill o'r fath ymma, fod yn ein cyfiawnhau ni drwy ffydd yn unic, yn rhad, heb weithredoedd, yr ydym ni yn eu darllen yn fynych yn scrifennadau y rhan fwyaf o'r hên scrifenyddion gorau. Megis heblaw Hilari, Basil, ac Ambros, y rhai a gyfrifasom ni o'r blaen, yr ydym yn darllen

yr

yr vn peth yn Origen, S. Chrysostom, S. Cypri-
an, S. Augustin, Prosper, Oecumenius, Proco-
pius, Bernardus, Anselmus, a llawer eraill o
awduron groeg a lladin. Etto nid felly y maent yn
deall yr ymadrodd hwn, Trwy ffydd yn vnic, fal pe
byddai y ffydd honno sydd yn cyfiawnhau, yn vnic
mewn dyn, heb wir etifeirwch, gobaith, cariad,
echryd, ac ofn Duw, dros vn amser nac ennyd.
A phan ydynt yn dywedyd, fod yn ein cyfiawnhau
ni yn rhad, nid ydynt yn meddwl y dylym, nac y
gallwn fod ar ol hynny yn segur, megis pe byddid
o hynny allan heb edrych yn ol dim o'n rhan ni.
Ac nid ydynt hwy yn meddwl y cyfiawnhair ni fe-
lly heb weithredoedd da, fal y gallom fod yn hollol
heb wneuthur vn weithred dda, fal y manegwn
yn helaethach ar ol hyn. Ond yr ydys yn dywe-
dyd hyn, fod yn ein cyfiawnhau ni drwy ffydd yn
vnig, yn rhâd, heb weithredoedd y ddeddyf, i
gwbl dynnu ymmaith haeddiant ein gweithre-
doedd ni, megis pethau analluog i haeddu ein
cyfiawnhâd ar ddwylaw Duw, ac felly i gyhoeddi
yn eglur wendid dyn, a daioni Duw, ein mawr
wendid ni ein hunain, a mawr nerth a gallu
Duw, am-nherpheiddrwydd ein gweithredoedd
ni ein hunain, ac am rhad ein Iachawdwr
Christ. Ac am hynny yn hollawl i ganniatau
haeddiant ein cyfiawnhâd ni i Grist yn vnic a'i
werthfawrocaf waed-dywalltiad ef. Dymma'r
ffydd y mae'r Scrythur lân yn ei dangos, dym-
ma'r graig gadarn, a sylfaen athrawaeth Chri-
stionogawl. Mae holl dadau eglwys Grist yn cy-
nabod yr athrawaeth hon: dymma'r athrawaeth
sydd yn mawrygu, ac yn gosod allan wir ogoni-
ant Christ, ac yn ffusto i lawr wag ogoniant dyn:

Pwy

Pwy bynnag a amheuo hyn, nis ddlyid ei gyfrif ef yn Gristion, nac yn osodydd allan o ogoniant Christ, ond yn wrthwynebwr i Grist, a'i efengyl, ac yn osodydd allan o wagogoniant dyn.

Ac er gwired ydyw yr athrawaeth hon (megis yn sicer y mae hi yn wiraf ag a ddichon bod) fod yn ein cyfiawnhau ni yn rhâd, heb haeddiant ein gweithredoedd da ein hunain, megis y manega S. Pawl, neu yn rhâd trwy'r fywiol a'r berffaith ffydd hon yngHrist yn unig, megis yr arfer yr hên dadau o ddywedyd: etto fe ddyleid gwir ddeall y wir athrawaeth hon, a'i hamlygu hi yn eglur iawn, rhag i ddynion cnawdol o'i phlegid hi gymmeryd achos i fyw yn gnawdol, yn ôl chwant ac ewyllis, y byd, y cnawd, a'r cythrel. Ac er mwyn na chaffo neb gamsynaid trwy gamgymeryd yr athrawaeth hon, mi amlygaf yn eglur, ac yn fyrr ei huniawn ystyr hi, fal na allo neb feddwl y dichon ef wrth hyn gymmeryd achos o rydd-did cnawdol, i ddilyn chwantau y cnawd, neu trwy hyn y gellir gwneuthur un rhyw o bechod, neu arfer o fyw yn anuwiol.

Yn gyntaf deallwch, yn ein cyfiawnhâd ni drwy Grist, nad yr un peth yw swydd Duw tuag at ddŷn, a swydd dŷn tuag at Dduw. Nid gorchwyl dyn ond gorchwyl Duw yw cyfiawnhâd, o herwydd ni ddichon un dŷn ei wneuthur ei hunan yn gyfiawn nac yn gwbl, nag mewn rhan, drwy ei weithredoedd da ei hun: o herwydd mwyaf rhyfyg a allai Antichrist i osod yn erbyn Duw oedd ddywedyd ŷ gallai ddŷn trwy ei weithred ei hun dynnu ymmaith ac arllwys ei bechodau, a'i gyfiawnhau ei hunan. Ond gorchwyl Duw yn unic yw cyfiawnhau, ac nid peth yr ydym ni yn ei

rof

roi iddo ef, onid peth yr ydym ni yn ei dderbyn oddiwrtho ef: nid peth yr ydym ni yn ei offrwm iddo ef, ond peth yr ydym ni yn ei gaffael gantho ef, trwy ei drugaredd râd ef, a thrwy vnic haeddiant ei anwyl garedig fab ef, ein vnic brynwr a'n ceidwad, a chyfiawnydd, Iesu Grist.

Megis nad hyn yw gwir ystyr yr athrawaeth ymma: yr ydys yn ein cyfiawnhau ni yn rhâd, heb weithredoedd, neu fe'n cyfiawnhau'r ni trwy ffydd ynghrist yn vnic: nid yw yr ystyr, meddaf, mai 'n gorchwyl ni yn credu ynghrist, neu ffydd Grist yr hon sydd ynom ni, sydd yn ein cyfiawnhau ni, ac yn haeddu ini gyfiawnhâd (o herwydd ni byddai hynny onid ein cyfrif ein hunain yn gyfiawn drwy ryw weithred neu rinwedd ynom ni ein hunain. Ond gwir ystyr a meddwl yr athrawaeth hon, yw, er ein bod ni'n gwrando gwir air Duw, ac yn ei gredu, er bod ynom ffydd, gobaith, cariad, edifeirwch, ac ofn Duw ac er ein bod ni yn gweuthyr llawer o weithredoedd da, etto rhaid ini ymwrthod a holl haeddiant y rhinweddau ymma, ffydd, gobaith, a chariad, a phob rhinweddau a daionus weithredoedd eraill ar a wnauthom, a wnawm, neu a allon eu gwneuthur, megis pethau o lawer yn rhy weinion, yn rhy analluog, ac yn rhy anghyflawn i haeddu ini ollyngdod o'n pechodau, a chyfiawnhâd, ac am hynny rhaid ini ymddiried, yn vnic ynnhrugaredd Duw, a'r aberth a wnaeth ein Archoffeiriad, a'n ceidwad Christ Iesu mâb Duw a offrymmodd ef vnwaith drosom ni ar y groes, i hebrwng ini trwy hynny râd Duw a gollyngdod, cyfladl o'n dechreuol bechodau, cyn bedydd, ac o'n pechodau gweithredol, y rhai a wnaethom ar ol bedydd, os ni a wir edi-

ſarhawn, ac a drown yn ddiragrith atto fe. Fal er rhinweddoled, ac er duwioled oedd Joan fedyddiwr, etto yn hyn o beth, am faddeuant pechodau, fe ddanfonodd y bobl oddiwrtho ei hun, ac âu danfonodd hwy at Grist, gan ddywedyd, wele Ioan.1.29. oen Duw yr hwn sydd yn tynnu ymmaith bechodau 'r byd: felly er maint ac er duwioled rhinwedd yw bywiol ffydd, etto mae hi yn ein danfon oddiwrthem ein hunain, ac yn ein gollwng, ac yn ein gyrru ni at Grist, i gael yn unic gantho fe ollyngdod o'n pechodau neu gyfiawnhâd: fal y mae ein ffydd ni ynghrist, megis yn dywedyd wrthym ni fal hyn, Nid myfi sydd yn tynnu eich pechodau chwi ymmaith, onid Christ yn unic ac atto ef yn unic y danfonaf chwi er mwyn hynny, gan ymwrthod mewn hyn o beth â'ch holl rhinweddau da, gairiau, meddyliau, a gweithredoedd, a chan osod a dodi eich ymddiried ynghrist yn unic.

## ¶ Y trydydd ran o'r bregeth am Gadwedigaeth.

FE a ddangoswyd i chwi yn amlwg na all neb gyflawni cyfraith Dduw, ac am hynny fod pawb oll trwy'r gyfraith yn golledig. O'r hyn beth y mae'n rhaid canlyn fod yn gofyn rhywbeth heb law 'y gyfraith i'n Jechydwriaeth ni, hynny yw gwir a bywiol ffydd ynghrist, yn dwyn allan weithredoedd da, a bywyd yn ôl gorchymmynion Duw. Chwi a glywsoch hefyd ystyr yr hên dadau ar y geiriau ymma, ffydd yn unig a'n cyfiawnhâ, gwedy ei amlygu mor eglur, megis y gwelwch mai ystyr yr ymadrodd ymma (fe a'n cyfiawnheir

iawnhefr ni trwy ffydd yngrhist yn unig) yn ôl meddwl yr hên dadau y wo hyn, Yr ydym ni yn dodi ein ffydd ynghrist, fod yn ein cyfiawnhau ni yn unig trwyddo ef: fod yn ein cyfiawnhau ni trwy drugaredd Duw yn rhâd, a thrwy haeddiant ein Ceidwad Christ yn unig, ac nid trwy un rhinwedd neu weithred dda o'r eiddom ni ein hunain, sydd ynom ni ,neu a allwn ni ei gael, neu ei wneuthur i haeddu hynny: lle mae Christ yn unig yn achos haeddiannol o hono.

Ymma y gellwch weled arfer llawer o eiriau er gwagelyd ymryson ynghylch gairiau, gan y rhai sy ewyllysgar i ymdaeru ynghylch gairiau, ac hefyd i ddangos y gwir ystyr, er gwagelyd drwg chwedleua, a cham-ddeall: ac etto fe allai na wasanauthai 'r cwbl i'r rhai ydynt ymrysongar, o herwydd fe lunia'r ymrysengar achos o ymryson, er na bydder yn roi un achos iddo i wneuthur felly. Etto ni ddylyid gormodd ofalu am y fath ddynion, os gellir llesau y rhai ydynt chwannoccach i wybod y gwirionedd, nag (pan fytho ef goleu ddigon) i ymryson yn ei gylch, a thrwy ymrysongar ac ymddalus ddadl, i'w *gwmlo a'i dywyllu ef. Gwir ydyw, os ni a chwedleuwn yn briodol ac yn inion am gyfiawnhâd, nad ydyw ei'n gweithredoedd ni yn haeddu maddauant o'n pechodau, ac yn ein gwneuthur ni o rai anghyfion, yn gyfiawn ger bron Duw: ond Duw o'i unic drugaredd, trwy unic haeddiant a rhyglyddau ei fab Jesu Grist, sydd yn ein cyfiawnhau ni. Etto am fod ffydd yn ein danfon ni yn inion at Grist am faddauant o'n pechodau, ac mai trwy'r ffydd a rodd Duw ini yr ydym ni yn cofleidio addewidiō trugaredd Duw, a maddauant o'n pechodau; yr hwn

Gwymmylu

Braicheidio



beth

beth nid ydyw neb o'n rhinweddau, na'n gweithredoedd yn ei wneuthur yn briodol: am hynny yr arfer yr Scrythur ddywedyd, fod ffydd yn cyfiawnhau heb weithredoedd. Ac yn gymmaint ac mai'r un peth mewn ffrwyth yw dywedyd, ffydd heb weithredoedd a ffydd yn unic sydd yn ein cyfiawnhau ni: am hynny ycyhoeddodd hên dadau'r eglwys, o amser i amser, ein cyfiawnhad ni yn y geiriau hyn, ffŷdd yn unic a'n cyfiawnha ni: heb feddwol dim arall ond yr hyn a feddyliodd S. Pawl, pan ddywad ynte, ffydd heb weithredoedd a'n cyfiawn ni.

Ac o herwydd bod yn dwyn hyn oll i ben trwy unic haeddiant ein Iachawdwr Christ, ac nid drwy ein haeddiant ni ein hunain, na thrwy haeddiant un rhinwedd ag y sydd ynom, nac un weithred ag a ddaw oddiwrthym. O herwydd paham o ran haeddiant yr ydym megis yn ymwrthod asswaith â ffydd a gweithredoedd a phob rhinweddau eraill. O herwydd mor fawr ydyw yn amherffeiddwch ni drwy lygredigaeth pechod dechreuol, megis y mae'r holl bethau sydd ynom ni yn amherffaith: ffydd, gobaith, a chariad, ofn, meddyliau, geiriau, a gweithredoedd: ac er mwyn hynny, anaddas ydynt i haeddu un rhan o'n cyfiawnhad ni. A'r ymmadroddion hynny y rydym yn ei arfer wrth ymostwng i Duw, a rhoddi yr holl ogoniant i'n Iachawdwr Christ yr hwn a ddyly ei gael ef oll.

Ymma y clywsoch orchwyl Duw yn ein cyfiawnhâd ni, yr hwn y rydym ni yn ei dderbyn yn rhâd gantho ef, trwy ei drugaredd ef heb ein haeddiant ni, trwy wir a bywiol ffydd. Weithian chwi a gewch glywed swydd adyled Christion

tuag at Dduw a pha beth a ddylyem ninnau ei
rhoddi i Dduw adwaith am ei fawr drugaredd,
a'i ddaioni. Ein swydd a'n dlyed ni yw, nid treu-
lio'n hamser yn y bywyd presennol hwn yn a'n-
ffrwythlon, ac yn segurllyd, heb ofalu yn ôl ein
bedydd a'n cyfiawnhâd, mor ambell weithre-
don da a wnelom, i ogoniant Duw, a budd i'n
cymydogion: pellach o lawer 'on swydd a'n dlyed
ni yw (yn ol ein gwneuthur unwaith yn aelodau
Christ) byw yn wrthwyneb ac yn erbyn hynny,
gan ein gwneuthur ein hunain yn aelodau dia-
fol, wrth rhodio yn ol ei hudad ef, ac yn ol llithiad
y byd, a'r cnawd: drwy'r hyn y gwyddom ein bod
ni yn gwasanauthu y byd a'r cythrel, ac nid
Duw. O achos nid ydyw y ffydd honno yr hon heb
etifeirwch sydd yn dwyn allan naill ai gweithre-
doedd drwg ai yntau heb ddwyn gweithredoedd
da, yn ffydd iniawn, bur, fywiol, ond ffydd farw
ddiawlig, mewn ragrith neu liw yn unic, fal y
galw S. Pawl a S. Iaco hi. O herwydd fe wyr y
diafol, ac mae fe'n credu eni Christ o forwyn, iddo
ymprydio dd'eugain diwarnod a de'ugain nos heb
fwyd na diod, iddo wneuthur pob'rhyw wrthiau,
gan ei amlygu ei hun yn Dduw: maent yn credu
hefyd i Grist er ein mwyn ni ddioddef poenedig
angau er ein prynu ni o angau tragwyddol, ei
ailgyfodi ef y trydydd dydd o angau. Maent hwy
yn credu ei escyn ef i'r nefoedd, a'i fod ef yn eistedd
ar ddehaulaw y tâd, ac y daw ef yn niwedd y byd i
farnu byw a meirw. Mae'r diawlaid yn credu
y pynciau hyn 'on ffydd ni, ac felly maent yn cre-
du hefyd fod yr holl bethau 'n wir, ac sydd scrifen-
nedig yn yr hên destament, a'r testament newydd,
ac etto er yr holl ffydd hon, nid ydynt ond diaw-

 liaid,

lliaid, yn aros fyth yn eu stât ddamnedig, ac heb wir ffydd Gristionogawl ganthynt.

O herwydd vniawn a gwir ffydd Gristionogawl yw, nid yn vnic credu'r Scrythur lân, a bod holl byngciau ein ffydd ni yn wir onid hefyd bod a diogel obaith ac ymddiried yn-nhrugarog addewidion Duw, ar gael eu cadw oddiwrth ddamnedigaeth tragwyddol, trwy Grist: o'r hon ffydd y canlyn calon garedig barod i gadw ei orchymmion ef. A'r ffydd Gristionogawl hon, nid oes na chan y diawl, nag* affeith gan vn dyn, y rhwn yn ei gyffes oddiallan, yn ei enau, neu mewn derbyniad y sacramentau oddifaes, yn ei ddyfodiad i'r eglwys, ac wrth bob argoel oddiallan, a dybygir ei fod yn wir Gristion, ac etto sydd yn ei fywyd a'i weithredoedd yn ymddangos i'r gwrthwyneb.

* Chwaith.

O herwydd pa fodd y dichon bod gan wr wir ffydd, diogel obaith, a siccr ddiogelrwydd ac ymddired yn Nuw y maddauir ei bechodau trwy haeddiant Christ, ac yr heddychir rhyngtho â Duw, ac y gwnair ef trwy Grist yn gyfrannog o deyrnas nêf, pan fytho ef yn byw yn annuwiol, ac yn gwadu Christ yn ei weithredoedd? siccr yw ni ddichon bod gan y fath ddyn, obaith, a ffydd yn-Nuw. O herwydd fal y gwyddont mai Christ yn vnig yw Ceidwad y byd, felly y gwyddont hefyd na feddianna dynion drwg deyrnas Dduw. Hwy a wyddont fod Duw yn casau pob anghyfiawnder, y distrywa ef bawb a ddywedant gelwydd, y caiff y rhai a wnaethôt weithredoedd da, (y rhai ni ellir heb fywiol ffydd yn Ghrist eu gwneuthur) ddyfod i'r ail gyfodiad i fywyd, a'r rhai a wnaethont ddrwg i anghyfodiad barn: disal y gwyddant y

daw-

daw i'r rhai ymryssongar, ac i'r rhai na fyddant ufydd i'r gwirionedd, onid a ufyddhânt i anghyfiawnder, ddigter, llid, a blinder, &c.

J orphen am hynny gan ysgrythyrau aneirif ddoniau Duw, a ddangoswyd ac a roddwyd ini yn drugarog heb ein haeddiant, yr hwn nid yn unic an creodd ni o ddim, ac o ddryll o glai, ac o ran ein eneidiau o'i anfeidrol ddaioni a'n cyfododd ni yn debyg ac yn gyffelib iddo ei hun: ie ac lle yr oeddym hefyd gwedy'n barnu i uffern, ac i dragwyddol angau a roddodd ef fab anianol yr hwn oedd Dduw tragwyddol, anfarwol, gogyfuwch ag ef mewn nerth a gogoniant i'w gnawdoli ac i gymmerid arno ein annian farwol ni, ynghyd a'n gwendid, ac yn yr anian honno, i oddef am ein drygioni angau tost, cywilyddus o siwriad ein cyfiawnhau ni, an adferu i fywyd tragwyddol, gan ein gwneuthur felly iddo i hun yn anwyl garedig blant, yn frodyr i'w unic fâb ein Ceidwad Christ, ac yn etifeddion tragwyddol gydag ef o'i frenhiniaeth nef.

Nid ydyw doniau Duw mawrion trugarog ymma, (os ystyrir hwy yn dda) yn rhoddi ini achos i fod yn segur, nac i fyw heb wneuthur gweithredoedd da: nac yn ein gyrru trwy fodd yn y byd, i wneuthur pethau drwg, ond o'r gwrthwyneb os ni nid ydym yn ddiobaith, a'n calonnau cygaletted ac yw'r garreg maent yn ein hannog ni, i'n rhoddi ein hunain i Dduw yn hollol, â'n holl ewyllys, â'n holl galonnau, â'n holl allu, â'n holl nerth, ac i'w wasanaethu â'n holl weithredoedd: gan ufyddhau i'w orchmynion ef trwy 'n hoes, gan geisio 'n wastad ym-mhob peth ei ogoniant a'i anrhydedd ef, ac nid ewyllys ein synhwyrau,

hwyrach, a'n gwag-ogoniant ein hunain: gan osni yn wastadol yn ewyllysgar ddigio Duw, mor drugarog, ac mor garedig bryn ydd, mewn meddwl, gair, neu weithred.

Ac mae donniau Duw ymma os cwbl ystyrir hwy, yn ein hannog ni er ei fwyn ef i fod yn barod hefyd i'n rhoddi ein hunain i'n cymydogion, ac i ymroi cy belled ag y gallom â'n holl nerth i wneuthur i bawb ddaioni. Ffrwythau gwir ffydd yw y rhai ymma: gwneuthur daioni i bawb, yn nessaf ag y gallom, ac vwchlaw pob peth, ac ymmhob peth, derchafu gogoniant Duw, oddiwrth yr hwn yn vnic y mae ini yn sancteiddrwydd, cyfiawnhâd, Iechawdwriaeth, a phrynedigaeth: i'r hwn y byddo holl ogoniant, mawl ac anrhydedd, yn oes oesoedd. Amen.

## ¶ Deongliad byrr am wir a bywiol a Christionogawl ffydd.



Y Dyfodiad cyntaf at Dduw, bobl dda Gristionogawl, sydd trwy ffydd, trwy 'r hon fal y manegwyd yn y bregeth ddiwethaf, yn cyfiawnhair gerbron Duw. A rhag i neb gamsynnaid eisiau i hiniawn ddeall hi, fe ddylyed nodi yn ddiescaulus fod yn yr Scrythur lân yn cymmeryd ffydd mewn dwy ffordd. Mae vn ffydd, yr hon yn yr Scrythur a elwir yn ffydd farw, yr hon ni ddwg allan ddim gweithredoedd da, am ei bod yn segur, yn hesb, ac yn anffrwythlon. A'r ffydd Iac.2.19. hon a gyffelyba 'r sanctaidd Apostol Iaco i ffydd y diawliaid, y rhai a gredant fod Duw yn gywir ac

yn

yn gyssion, ac a grynant rhag ofn, ac ni wnant ddim er hynny yn dda, onid pob peth yn ddrwg. Y ffydd hon sydd gan Gristionogion melldigedig drwg, y rhai a gyffesãt (fal y dywaid Pawl) Dduw â'u geneuau, onid a ymwadant ag ef yn eu gweithredoedd, gan fod yn atgas, heb iniawn ffydd, ac yn barodol i bob gweithred drwg ceryddus. A hon yw dirgel gred yn y galon, trwy 'r hon y mae fe'n gwybod fod Duw, ac yn cyduno â gwirionedd sancteiddiaf air Duw, a gynhwysir yn y sanctaidd Scrythur. Megis y saif hon yn unic mewn credyniaeth fod gair Duw yn wir. A hon ni elwir yn briodol ddim honi yn ffydd: ond megis y dichon yr un a ddarlleno comentariau Cæsar, gredu fod y commentariau hynny yn wir, a thrwy hynny fod gantho wybodaeth o fywyd Cæsar, a'i weithredoedd godidawg, am ei fod yn credu stori Cæsar. Etto ni ddywedir yn iniawn ei fod ef yn credu yn Cæsar, oddiwrth yr hwn nid ydyw'n edrych, am na nerth, na daioni.

Tit.1.16.

Felly yr un a gredo fod pob peth a adroddir am Dduw yn y beibl yn wir, ac y fytho er hynny yn byw mor annuwiol, ac na ddichon ef edrych, am fwynhau addewidion a daionus ddoniau Duw: er dywedyd fod gan hwnnw ffydd a chred i air Duw, etto ni ellir dywedyd yn iawn ei fod ef yn credu yn nuw, na bod gãtho y fath ffydd a gobaith yn nuw, trwy 'r hon y dichon ef yn ddiogel edrych am rhâd trugaredd, a bywyd tragwyddol oddiar ddwylaw Duw, ond yn hytrach llid, a chosp, yn ol haeddiant ei ddrwg fywyd. O herwydd fal yr scrifennir yn y llyfr a elwir yn eiddo didymus Alexandrinus, yn gymmaint a bod ffydd yn farw heb weithredoedd, nid ffydd ydyw hi yn awr, mwy

nag

nag y mae gŵr marw yn ŵr. Am hynny nid y ffydd farw hon yw'r ddiogel ar anianol ffydd a geidw pechaduriaid. Mae ffydd arall yn yr Scrythur, yr hon nid yw (fal honno) yn segur, yn anffrwythlon, ac yn farw, ond yn gweithio drwy gariad (fal y manega S. Pawl) ac fal y gelwir y ffydd wâg arall yn ffydd farw, felly y gellir galw hon yn ffydd fyw, fywiol.

Gal 5.6.

Ac nid cyffredinawl gred yn unic yw hon o byncciau ein ffydd ni: onid hefyd diogel, siccrwydd ac ymddired ynnhrugaredd Duw, trwy ein harglwydd Iesu Grist, a diogel obaith cael derbin pob peth da ar law Duw. Ac er ein bod ni trwy wenddid, a thrwy brofedigaeth ein gelyn ysprydol, yn cwympo oddiwrtho ef trwy bechod, etto os ni a drown drachefn atto trwy etifeirwch, y pardyna ef ni, ac y gollwng dros gôf ein holl gamweddau, er mwyn ei fab ein Ceidwad Iesu Grist, ac i gwna ef ni yn etifeddion gydag ef o'i deyrnas dragwyddol: ac hyd oni ddelo 'r deyrnas honno, y bydd ef Ceidwad ac ymddiffynnydd ini yn ein holl beriglau ac enbeidrwydd, pa beth bynnac a ddigwyddo, ac er ei fod ef yn danfon ini weithiau adfyd tost, etto y bydd ef yn wastadol yn dâd caredig ini, gan ein ceryddu am ein pechodau, ac er hynny heb dynnu ei drugareddau dros fyth oddiwrthym, os ni a ymddiredwn ynddo, ac a ymroddwn yn hollol iddo, ac a orbwyslwn yn unic arno, ac a alwn arno, gan fod yn barod i ufyddhau iddo, ac i'w wasanauthu ef.

Dymma 'r ffydd gywir, fywiol, ddidwyll, yr hon nid ydyw yn y genau a'r gyffes oddifaes yn unic, ond mae hi yn byw, ac yn cyffroi yn y galon oddifewn. Ac nid ydyw y ffydd hon heb obaith ac ym-

ddiried

ddiried yn nuw, nac heb gariad Duw a'n cymydogion, nac heb ofn Duw a chwant gwrando ei air ef a'i ganlyn, wrth wagelyd y drygioni a gwneuthur yn llawen bob daioni.

Y ffydd hon (fal y *geilw Pawl hi) yw sail y donniau yr ydym ni yn edrych an danynt, ac yn gobeithio eu derbyn oddiar law Dduw: a siccrwch a diogel edrych am danynt, er nad ydynt etto yn ymddangos i'n synhwyrau cnawdol ni. Ac yn ol hynny mae fe'n dywedyd, fod yn rhaid i'r hwn a ddelo at Dduw, gredu ei fod ef, a'i fod yn obrwywr trugarog i'r rhai a wnânt ddaioni. Ac nid oes dim yn canmol gwyr da yn fwy gerbron Duw, na bod y ddiogel ffydd a'r gobaith ymma ynddynt. Am y ffydd hon, y mae tri pheth enwedigol i'w nodi.

* Deffinia.
Heb. 11. 1.

Y cyntaf nad ydyw y ffydd hon yn gorwedd yn farw yn y galon: onid mai hi yn fywiol, yn ffrwythlon, yn dwyn allan weithredoedd da.

Yn ail na ellir hebddi wneuthur gweithredoedd da cymmeradwy ger bron Duw.

Yn drydydd, pa fath weithredoedd da y mae'r ffydd hon yn eu dwyn allan.

Yn gyntaf, megis na ellir cuddio'r golau, nad ymddangoso fe mewn rhyw le neu ei gilydd: felly ni ellir cadw gwir ffydd yn ddirgel, canys pan fo'r achos yn gofyn, hi a dyrr allan, ac a'i dengys ei hunan trwy weithredoedd da. Ac megis y mae corph bywiol dŷn yn wastadol yn arfer pethau a berthynant at gorph naturiol bywiol, er ei ymborth a'i gadwedigaeth, megis y bydd rhaid, cyfaddas, ac achos iddo: felly y bydd enaid dŷn yr hwn sydd a ffydd fywiol ynddo yn wastadol yn gwneuthur rhyw weithredoedd da, y rhai a fanegant ei fod ef yn fyw ac na bydd ef segur. Pan-

glywo

glywo dynnion am hynny yn yr Scrŷthur vchel glod ffydd, ei bod hi yn gweuthur ini fodloni Duw, fyw gydâ Duw, a bod yn blant i Dduw, os hwy a dybygant am hyn eu bod hwy gwedy eu rhyddhau oddiwrth wneuthur gweithredoedd da, ac y gallant fyw yn y modd y mynnont, maent hwy yn cellwair a Duw ac yn eu twyllo eu hunain. Ac mae hynny yn arwydd eglur eu bod hwy ymmhell oddiwrth feddiannu gwir abywiol ffydd, ac heb wybod beth ydyw hi.

O herwydd gwir a bywiol ffydd Gristionogawl yw, nid yn vnic credu pob peth am Dduw a gynhwysir yn yr Scrythyr lân, ond hefyd, gobaith ac ymddiried ynnuw, ei fod ef yn pryderu, ac yn gofalu drosom ni, megis y gofala'r tâd am ei blentyn yr hwn y mae fe yn ei garu: y bydd ef trugarog ini e'r mwyn ei vnig fâb, a bod gennym ni ein Iachawdwr Christ yn dragwyddol offeiriad a dadleuwr, yn haeddiannau, offrwm a dioddeifaint yr hwn yr ydym yn ymddiried, fod yn golchi ac yn arllwys ein beiau ni yn wastadol, pa bryd bynnag trwy wir etifeirwch y trothom ni atto â'n holl galonnau, gan fwriadu ynom ein hunain yn safadwy drwy ei râd ef vfyddhau iddo, ai wasanaethu trwy gadw ei orchymmynion ef, ac heb droi byth yn ein hôl at bechod.

O'r fath hon yw'r wir ffydd y mae'r Scrythur yn ei chanmol, yr hon pan welo ac ystyrio pa beth a wnaeth Duw drosom, a annogir hefyd trwy nerth gwastadol Yspryd Duw i'w wasanaethu a'i fodloni ef, i gadw ei ewyllys ef tuag attom, ac i ofni ei sorriant ef, i barhau yn wastadol yn blant vfyddgar, i ddāgos ein diolchgarwch iddo, trwy gadw a chanlyn ei orchmynion ef, a hynny yn rhâd, o

wir

wir gariad, ac nid rhag ofn cosp na chariad gobrwyau bydol: gan ystyriaid pa mor eglur heb ein haeddiant ni y derbyniasom yn rhâd faddauant a thrugaredd.

Fe ddengys y wir ffydd hon ei hun, ac ni ddichon hi fod yn hir yn segur. O herwydd scrifennedig ydyw, trwy ffydd y bydd y cyfiawn byw. Nid ydyw nac yn cyscu nag yn segur pan ddyle fod yn neffro ai yn gweuthur daioni. Ac mae Duw trwy Jeremi yn dywedyd ei fod ef yn wynfydedig ac yn fendigedig, yr hwn sydd a ffydd a siccr obaith gantho yn Duw. Canys fe fydd megis pren gwedy ei blannu a'r lan y dwfr, yr hwn a danna ei wraidd a'r lled tuar irder, ac ni ofna wres pan delo, fe fydd ei ddalen ef glâs, ac ni phaid a dwyn ffrwyth felly y bydd y gwyr duwiol (gan ddodi heibio bob ofn adfyd) yn dangos ffrwyth eu gweithredoedd da bob amser ac y bo cyfaddas eu gwneuthur. Abac.2.4. Ierem.17.8.

## ¶ Yr ail rhan o'r bregeth am ffyd.



CHwi a glywsoch yn y rhan gyntaf o'r bregeth hon fod dau ryw o ffydd, ffydd farw anffrwythlon, a ffydd fyw yn gweithio drwy gariad; fod y gyntaf yn brophidiol, a'r ail yn anghenrhaid i gyrhaeddyd Iachawdwriaeth, yr hon ffydd sydd yn wastad a chariad yn gydsylldedig â hi, ac sydd yn ffrwythlon yn dwyn pob gweithredoedd da.

Yn awr o blegid yr un peth gwrandewch beth sydd yn canlyn, fe ddywaid y gwr call fod yr hwn

Eccl.32.27. sydd yn credu yn nuw yn gwrando a'r ei orchymynion ef. Canys os ni nid ymddangoswn yn ffyddlon yn ein ymddygiad, nid ydyw'r ffydd yr hon yr ydym yn ei chymeryd arnom, onid mewn lliw yn unic. O herwydd y dangosir gwir ffydd Gristionogawl drwy fywyd da, ac nid wrth airiau
Lib. de fide & operibus ca.2. yn unig, fal y dywaid S. Augustin. Ni wahenir bywyd da oddiwrth ffydd yr hon a weithia trwy
Sermone de fide & Lege. gariad. A S. Chrysostom a ddywaid, ffydd o honi ei hunan sydd yn llawn gweithredoedd da, er cynted y credo dyn fe a herddir o honynt. Mae S. Pawl yn dangos yn halaeth yn yr 11. Benod at yr Hebreaid, mor llawn yw'r ffydd hon o weithredoedd da, a pha fodd y gwnâ hi weithredoedd un
Heb.11.4. yn gymmeradwysach ger bron Duw, na gweithred un arall, gan ddywedyd i ffydd wneuthur
Gen.4.4. offrwm Abel yn well nag offrwm Cain. Hon a
Gen.6.12. wnaeth i Noah wneuthur yr Arch. Hon a wnaeth
Eccl.44.17. i Abraham ymadel â'i wlad a'i holl geraint, a my-
Gen.12.1. ned i wlad bell i daring ymmlhith diaithriaid. Felly y gwnaeth Isaac a Iaco hefyd, gan orbwyso a gorwedd yn unic ar y Nerth a'r gobaith oedd ganthynt yn Nuw. A phan ddaethont i'r wlad a ddaroedd i Dduw ei haddo iddynt, nid adailadent ac ni wnaent ddinasoedd, trefydd, na thai, onid byw fal dieithriaid mewn pebyll a ellid eu symmud beunydd. Y ddoedd eu hymddiried hwy cymmaint ynnuw, nad oeddynt yn priso ar un peth bydol, am fod Duw gwedy darparu iddynt driglеoedd gwell yn y nef, o'i osodiad a'i wneuthurdeb ei hun.

Dymma'r ffydd a baratôdd Abraham ar orch-
Gene.20.3. ymyn Duw i offrwm ei fab a'i etifedd Isaac, yr hwn a garodd ef yn fawr, a thrwy'r hwn yr a-

ddawsai Dduw iddo eppil aneirif: ym mysc y rhai y genid vn yn yr hwn y bendigid yr holl genhedlaethau: yr ydoedd ef yn ymddiried cymaint yn Nuw fal pe lladdesid ef, etto fod Duw yn abl trwy ei holl-alluog nerth i'w adgyfodi ef o angau, ac i gyflawni ei addewid. Ni wanobeithiodd ef am addewidion Duw, er bod rheswm i'r gwrthwyneb. Fe a gredodd yn ddiogel ddigon na wrthodai Dduw ef mewn prinder a newyn yr hyn oedd yn y wlad. Ac mewn pob periglau eraill y dygesid ef iddynt, fe a ymddiredodd y byddai Dduw iddo ef yn Dduw, yn wascodydd ac yn ymddiffynnydd, pa beth bynnag a welai ef i'r gwrthwyneb. Dymma'r ffydd a weithiodd felly ynghalon Moses hyd oni wrthododd ef ei gymmeryd yn fab merch brenin Pharao, a meddiannu etifeddiaeth fawr yn yr Aipht: gan dybaid mai gwell oedd goddef blinder a thrymder gyda phobl Dduw, na byw dros ennyd bychan mewn melysder pechod, gyda dynion drwg. Trwy ffydd ni phrisiodd efe ar fygylau brenin Pharao, o herwydd yr ydoedd ef yn ymddiried yn-Nuw yn gymmaint nad ydoedd ef yn prisio am lwyddiant y byd hwn, onid edrych yr ydoedd am wobr yn y nef, gan osod ei galon ar yr anweledig Dduw, megis pe buasei yn ei weled ef yn wastad yn gydrychiol ymlaen ei lygaid. Trwy ffydd yr aeth plant yr Israel trwy'r môr côch. Trwy ffydd y cwympodd caerau Jericho, heb roddi vn ergyd iddynt, ac y gweithiwyd llawer o wrthiau eraill.

Eccl.44.21. Exod.1.11. Exod.14.22. Iosua.6.20.

Yn yr holl wyr da a fuont er ioed o'r blaen, ffydd a ddygodd allan eu gweithredoedd da hwy, ac a fwynhaodd addewidion Duw.

Ffydd a gauodd geneuau llewod, ffydd a ddiffoDan.6.22.

dodd

Act.3.27. dodd rym y tân, ffyd a waredodd rhag min y cleddyf, ffydd a roddodd gryfder i wyr gweinion, a orchfygodd mewn ryfel, a gwympodd luoedd o'r anghredadwy ac a gyfododd y meirw i fywyd. ffydd a wnaeth i wŷr da oddef yn esmwyth adfyd. Rhai a watwarwyd, a fflangellwyd, a glymmwyd, ac a dasiwyd i garchar: llawer a gollasont eu da ac a fuont fyw mewn tlodi mawr. Rhai a grwydrasont ar frynnau, mynyddau, ac anialwch.

* Rhaccwyd. Rhai a * ddirdynnwyd, rhai a laddwyd, rhai a labyddiwyd, rhai a lifiwyd, rhai a dorrwyd yn ddrylliau, rhai a dorrwyd eu pennau, rhai a loscwyd heb drugaredd, ac ni fynnent eu rhyddhau, am eu bod yn edrych am gyfodi ailwaith i stat oedd well.

Yr oedd yr holl dadau, merthyrwyr, a gwyr sanctaid eraill, y rhai y mae S. Pawl yn son am danynt, a'u ffydd gwedy ei siccrhau yn-Nuw, pan oedd yr holl fyd yn eu herbyn hwy. Nid oeddynt hwy yn adnabod yn unic fod Duw yn Arglwydd, yn wneuthurwr ac yn llywodraethwr ar holl wyr y byd, ond yr oedd ganthynt hefyd ddiogel obaith a hyder y byddai fe yn Dduw iddyn hwy, yn ddiddanydd, yn helpwr, yn nerthwr, yn ymborthwr ac yn ymddiffynnwr. Hon ydyw 'r ffydd Gristionogawl yr hon oedd gan y gwyr sanctaidd ymma, a'r hon a ddlye fod gennym ninnau hefyd.

Ac er na enwed hwy yn Gristionogion, etto yr oedd ganthynt ffydd Gristionogawl, canys hwy a edrychent am holl ddoniau Duw dad drwy haeddiant ei fâb Iesu Grist, fal yr ydym ninnau yn edrych. Dymma 'r holl wahaniaeth rhyngthynt hwy a ninnau, eu bod hwy yn edrych pa bryd y dawai ef, a'n bod ninnau yn yr amser y daeth ef.

Am

Am hyn y dywaid S. Awstin, fe a newidiwyd ac a symmudwyd yr amser, ac nid y ffydd. O achos mae gan bob vn o honom yr vn ffydd yn vn Christ, yr vn Yspryd glan ac sydd gennym ni oedd ganthynt hwythau, medd S. Pawl. Cans fal y dyscodd yr Yspryd glan nyni i ymddiried yn-Nuw, ac ialw arno fal ein Tad, felly y dyscodd hwyntau i ddywedyd fal yr scrifennir, tydi yw ein Tad ni a'n prynwr, dy enw di sydd heb ddechreuad ac yn dragwyddol. In Ioan. tract. 45. 1. Cor. 8. 6. Esai. 63. 16.

Duw a roddodd iddynt hwythau ras i fod yn blant iddo megis y rhydd ef yn awr i ninnau. Ond yn awr trwy ddyfodiad ein Ceidwad Christ y derbynniasom yn halaethach Yspryd Duw i'n calonnau, drwy'r hwn yr ydym ni yn derbyn rhagor ffydd a diogelach obaith nag oedd gan lawer o honynt hwy. Ond mewn defnydd, yr vn ydynt hwy a ninnau. Mae gennym ni yr vn ffydd yn-Nuw ac oedd ganthynt hwy, ac yr oedd ganthynt hwy yr vn ffydd ac sydd gennym ninnau. Ac mae S. Pawl yn canmol eu ffydd hwy yn fwy, er mwyn nad ymroem ni ddim llai, ond yn rhagor i Grist mewn cyffes ac mewn bywyd yn awr ac yntef gwedy dyfod, nag yr ymroe yr hen dadau cyn ei ddyfod ef.

Ac mae 'n eglur wrth holl ymadroddion Paul nad ydyw gwir fywiol a Christionogawl ffydd beth marw, anffrwythlon, ofer, ond yn beth o rinwedd berffaith, ac o ffrwyth rhyfedd, ac o rym i ddwyn pob cynhyrfiadau a gweithredoedd da. Mae'r holl sanctaidd Scrythyrau yn gytun yn testiolaethu fod gwir ffydd fywiol ynghrist yn dwyn allan weithredoedd da, ac am hynny y dlye bob dyn ei brofi a'i holi ei hun yn ddiescaelus, er

D mwyn

mwyn gwybod pa vn a wna gwir ffydd fywiol
ddigellwair, ai bod yn ei galon ai nid ydyw: yr
hyn a ddichon ef ei wybod wrth ei ffrwythau hi.
Yr oedd llawer ac oedd yn cyffesu ffydd Grist yn
y camsyniaeth a'r amryfysedd ymma, gan dybaid
eu bod yn adnabod Duw ac yn credu ynddo, a
hwythau yn eu bywyd yn cyhoeddi y gwrthwy-
1.Ioan.2.3. neb: yr hwn gamsyniaeth y mae S. Ioan yn ei
Epistol cyntaf yn ei argyoeddi, gan scrifennu fal
hyn, Trwy hyn y gwyddom ein bod yn adnabod
1.Ioan.2.4. Duw, os ni a gadwn ei orchymmynion ef. Yr vn
a ddywedo ei fod yn adnabod Duw, ac heb gadw
ei orchymynion, sydd gelwyddog ac nid oes gwi-
rionedd ynddo. Ac yn y man y dyweid, yr vn sydd
yn pechu nid ydyw yn gweled nac yn adnabod
Duw. Na thwylled neb ni fy anwyl blant. Ac
eilwaith y dywaid, trwy hyn y gwyddom ein
bod o'r gwirionedd, ac y bydd i ni ddiogelwch
ein calonnau, os ein calonnau a'n cyhuddant
1.Ioan.3. mwy yw Duw na'n calonnau, ac efe a wyr bob
19,20. peth. Fy anwyl os ein calonnau ni'n cyhuddant
mae i ni hyder ar Dduw y cawn gantho bob peth
ac a ofynnom am ein bod yn cadw ei orchymyni-
on ac yn gwneuthur y pethau sy fodlon yn ei olwg.
Ac fe ddywaid etto, Pob vn a gretto mai Iesu
yw Christ a aned o Dduw: ac ni a wyddom nad
1.Ioan.5.1,18. oes neb a aned o Dduw yn pechu, eithr hwn a
genhedlwyd o Dduw a'i ceidw ei hun, a'r drwg
ni chyffwrdd ag ef. Ac yn ddiwethaf i gau ar y
cwbl, gan ddangos yr achos yr scrifennodd ef yr
Epistol ymma, y mae yn dywedyd. Am hyn yr
scrifennais attoch er mwyn i chwi wybod eich
bod yn meddiannu tragwyddol fywyd, y rhai y-
dych yn credu yn-Mab Duw. Ac yn y drydydd
mae

mae fe 'n cadarnhau y cwbl am ffydd a gweithre- 1.Ioan.3.
doedd da ar ychydig o airiau, gan ddywedyd, Yr vn a wnêl yn dda ei fod ef o Dduw, a'r hwn a wnel yn ddrwg nid ydyw yn adnabod Duw. Ac fe ddywaid Ioan, fal y drwg adnabyddiaeth fywiol, a ffydd Duw weithredoedd da, felly y mae fe'n dywedyd na ddichon gobaith a chariad sefyll gyda bywyd drwg. Am obaith yr scrifenna fe fal hyn.

Ni a wyddom pan ymddangoso Duw y byddwn cyffelyb iddo, o blegid ni a gawn ei weled ef fal y mae ef. A phwy bynnac sydd a'r gobaith hwn ynddo, mae fe yn ei burhau ei hun megis y mae Duw yn bur.

Ac am gariad fal hyn y dywaid, Pwy bynnag 1.Ioan.3.32.
a gatwo air neu orchymyn Duw, yn hwn y mae
perffaith gariad Duw yn trigo. A thrachefn, Ca- 1.Ioan.2.5.
riad Duw yw hyn, i ni gadw ei orchymynion. Ac 1.Ioan.5.3.
ni ddywad Ioan hyn megis ymadrodd dichellgar a ddychmygodd ef o'i ffansi ei hun, onid megis gwirionedd anghenrhaid diogel a ddangoswyd iddo gan Grist ei hun, y gwirionedd tragwyddol annhwyllodrus: yr hwn sydd yn traethu yn eglur yn llawer lle, na all ffydd, gobaith a chariad sefyll heb weithredoedd duwiol da.

Am ffydd fe a ddywaid, Yr hwn sydd yn credu ym-mab Duw sydd a bywyd tragwyddol ynddo:
yr hwn nid ydyw yn credu yn y Mab, ni chaiff we- Ioan.3.36.
led bywyd, ond mae llid Duw yn aros arno. Ac Ioan.5.24.
mae fe'n cadarnhau hynny a llw dauddyblyg: Yn wir, yn wir y dywedaf wrthych, mae gan yr hwn sydd yn credu ynoff fywyd tragwyddol.

Yn gymmaint a bod bywyd tragwyddol gan yr hwn sydd yn credu yngHrist, mae'n rhaid o hyn ganlyn fod gan yr vn a fytho a ffydd gantho, wei-

thredoedd da hefyd: a'i fod ef yn ymegnio i gadw gorchymynion Duw yn vfyddgar. O herwydd nid bywyd tragwyddol, onid diderfynol angau a berthyn i ddrwg weithredwyr, y rhai ydynt yn byw yn anufydd ac yn troseddu ac yn torri gorchymynion Duw yn ddietifeirwch, fal y dywaid

Mat.25.34. Christ ei hun, Y rhai a wnant dda a ant i fywyd tragwyddol, a'r rhai a wnant ddrwg a ânt i dân annherfynol. Ac ailwaith, Myfi ydyw'r llythyren gyntaf a'r diwethaf, myfi yw y dechrau a'r di-

Gwele.2.6. wedd. I'r vn a fyddo sychedig y rhoddaf yn rhad ddwfr o ffynnon y bywyd. Yr vn a orchfygo a gaiff bob peth. Myfi a fyddaf Dduw iddo ac yntef a fydd yn fâb i minnau. Ond i'r rhai ofnus sydd yn gwanobeithio yn Nuw, ac ar-nynt eisiau ffydd, i'r dynion melldigedig, llofryddion, godinebwyr, swynwyr, addolwyr eulynod, a'r rhai celwyddog, hwy a gânt eu rhan yn y pwll sydd yn llosci a thân a brymston, yr hwn ydyw yr ail angau.

Ac megis y dywaid Christ fod ffydd yn ddiammau yn dwyn gweithredoedd da, felly hefyd y dywaid ef am gariad, Pwy bynnag sydd a'm gorchymmynion gantho ac a'u ceidw, mae fe yn fyng-

Ioan.14.23. haru i. Ac a'r ol hynny, Yr hwn am car i a geidw fyngair, a'r neb ni char fi ni cheidw fyngairiau. Ac megis y profir cariad Duw wrth weithredoedd da, felly hefyd y profir ofn Duw, fal y dywaid y

Eccl.1.21. a'r.15.1. gwr call, Ofn Duw sydd yn dodi ymmaith bechod. Ac fe ddywaid ailwaith, Y neb a ofna Dduw a wna weithredoedd da.

# ¶ Y drydydd rhan o'r bregeth am ffydd.



Hwi a glywsoch yn yr ail rhan o'r bregeth hon, na ddylai neb feddyliaid fod gantho fywiol ffydd, yr hon a ganmol yr Scrythur lan, yr hyd ybytho efe yn byw yn a'nufydd i gyfraithiau Duw. O herwydd mae pob gweithredoedd da yn tyfu oddiar y ffydd honno. Ac megis y manegwyd i chwi wrth siamplau, fod ffydd yn gneuthur dynnion yn ddiogel, yn llonydd, ac yn oddef-gar ymhob cyfyngder. Yn awr gwrãdewch ynghylch yr vn peth, pa beth a ganlyn.

Fe ddichon dyn yn ebrwydd ei dwyllo ei hun, a thybied yn ei feddwl ei fod ef trwy ffydd yn adnabod Duw, yn ei garu ef, ac yn ei ofni ef, ac yn perthyn atto, er ei fod ef ymmhell oddiwrth wneuthur a bod felly. O herwydd barnudd yr holl bethau hyn yw duwiol a Christionogawl fywyd; Yr vn a glywo ei galon yn ceisio anrhydedd Duw, ac a fyfyrio a'r gael gwybod ewyllys a gorchymynion Duw, ac a'i gosodo ei hun at hynny, ac a fytho'n arwain ei fywyd nid yn ol chawntau'r cnawd i wasanaithu diawl trwy bechod, ond a osodo ei feddwl i wasanaithu Duw, er mwyn Duw ei hun, ac er ei fwyn ef hefyd i garu ei holl gymmydogion, pa vn bynnag a font a'i ei geraint a'i ei wrthwynebwyr, gan wneuthur daioni i bob dyn pan fytho lle ac amser yn gwasanaethu, ac heb wneuthur o'i fodd ddrwg i neb, y fath ddyn a ddichon yn ddifai lawenhau yn Duw, gan wybod

bod wrth ei fywyd fod gantho yn ddiffuant wir ac uniawn wybodaeth o Dduw, ffydd fywiol, gobaith diogel, a gwir ac uniawn gariad ac ofn Duw.

Ond yr hwn a dafio ymmaith iau gorchymynnion Duw oddiar ei wddf, ac a'i rhoddo ei hun i fyw yn ddietifeiriol yn ol ei gnawdol feddwl a'i ewyllys, ac heb ofalu am wybod gair Duw, chwaethach byw yn ei ol ef: Mae'r fath ddyn yn eglur yn ei dwyllo ei hun, ac nid ydyw yn gweled ei galon ei hun, os ef sydd yn meddwl ei fod yn adnabod Duw, yn ei garu ef neu yn ei ofni neu yn ymddiried ynddo. Fe allai y tybygai rhai eu bod yn perthyn at Dduw er ei bod yn byw mewn pechod: ac felly hwy a ddawant i'r eglwys ac a'u dangosant eu hunain megis pe byddent anwyl blant Duw. Ond fe ddywaid Joan yn eglur, os
1.Ioan.1.7. ni a ddywedwn fod ini gymdeithas ag ef, a rhodio yn y tywyllwch, celwyddog ydym, ac nid ydym a'r y gwir.

Eraill sydd yn ofer feddwl eu bod yn adnabod ac yn caru Duw er na ofalant am ei orchymynnion ef. Ond fe ddywaid Joan yn oleu ddigon; Yr hwn a ddywaid, mi a'i hadwen ef, ac ni cheidw ei orchymynion celwyddog ydyw, a'r gwirionedd
1.Ioan.2.4. nid yw ynddo.

Mae rhai yn credu eu bod yn caru Duw er eu bod yn casiau eu cymmydogion. Ond amlwg y dywaid Joan, Os dywaid neb ei fod yn caru Duw
1.Ioan.4.20. ac yntef yn casiau ei frawd, celwyddog yw. Yr hwn a ddywaid ei fod yn y goleuni ac a gashao ei
1.Ioan.2.9. 10.11. frawd yn y tywyllwch y mae fe hyd hyn. Yr hwn a gar ei frawd sydd yn aros yn y goleini ond yr hwn a gashâo ei frawd yn y tywyllwch y mae fe

'n rho-

'n rhodio, ac ni wyr i ba le y mae yn myned, gan ddarfod i'r tywyllwch ddallu ei lygaid ef. Ac hefyd ef a ddywaid, wrth hyn yr adwaenir plant Duw a phlant diawl: pwy bynac ni wna gyfiawnder, nid yw o Dduw, na'r hwn ni char ei frawd. 1.Ioan.3.10.

Na thywyllwch am hynny eich hunain, gan dybied eich bod a ffydd yn-Nuw, neu yn caru Duw neu yn ymddiried ynddo ac yn ei ofni, yr hyd y byddoch byw mewn pechod. O herwydd mae eich bywyd annuwiol pechadurus chwi yn cyhoeddi y gwrthwyneb, pa beth bynnag a dybygoch neu a ddywedoch chwi eich hunain. Dyled Christion yw bod a'r wir a'r Gristionogawl ffydd hon ynddo, ei chwilio a'i holi ei hun, pa vn a wna hi ai bod gantho ai nad ydyw, a gwybod pa bethau a berthynant iddi, a pha fodd y mae hi yn gweithio yndo. Nid i'r byd y gallwn ymddiried, oferedd yw y byd a phob peth ac sydd ynddo. Duw sydd raid bod yn ymddiffynnwr ac yn nawddwr i ni yn erbyn pob profedigaeth anwiredd a phechod, yn erbyn pob amryfysedd, ofergoel, delwaddoliad, a phob drygioni. Pe byddai'r holl fyd o'n rhan ni, a Duw yn ein herbyn, pa elw a allai'r byd ei ddwyn i ni? Dodwn am hynny ein holl ffydd a'n gobaith yn-Nuw ac ni ddichon y byd na diafol a'i holl nerth orchfygu yn ein herbyn.

Chwiliwn am hynny Gristionogion da a holwn ein ffydd, pa beth ydyw hi: na wenheithiwn ein hunain, onid edrychwn ar ein gweithredoedd, ac felly barnwn pa fath ffydd sydd gennym.

Oblegyd y peth hyn y mae Christ ei hun yn dywedyd yr adwaenir y pren wrth ei ffrwyth. Gwnawn am hynny weithredoedd da, a thrwy hyn- Math.7.8.

ny dangoswn fod ein ffydd yn fywiol ac yn Gristionogawl. Dangoswn fod ein etholedigaeth yn ddiogel ac yn safadwy, drwy'r rhinweddau a ddylei darddu o ffydd fal y dywaid Petr, Byddwch ddiwyd i wneuthur eich galwedigaeth a'ch etholedigaeth yn siccr. Ac fe orchymmyn ini gyssylltu ynghŷd â ffydd rhinwedd, ynghyd a rhinwedd gwybodaeth, ynghŷd â gwybodaeth gymmedrolder, ynghŷd â chymmedrolder ammynedd, ynghŷd âg ammynedd Dduwioldeb, ynghŷd â Duwioldeb garedigrwydd brawdol, ynghŷd â charedigrwydd brawdol gariad. Felly y gallwn yn wirionedd ddangos fod gennym fywiol a Christionogawl ffydd: siccrhau ein cydwybod yn well ein bod yn yr iniawn ffydd, a thrwy y moddion ymma gadarnhau eraill hefyd. Os y ffrwythau hyn ni chanlynant nid ydym onid cellwair â Duw, ein twyllo 'n hunain ac eraill hefyd. Difai y gallwn fod yn dwyn enw Christionogion, ond mae arnom eisiau gwir ffydd, heb yr hon nid oes neb yn Gristion.

2.Pet.1.10.

Vers.6,7.

O herwydd mae gwir ffydd yn dwyn gweithredoedd da yn wastadol, am hyn y dywaid Iaco, dangos i mi dy ffydd trwy dy weithredoedd. Rhaid i'th orchwylion a'th weithredoedd fod yn dystion eglur o'th ffydd: os amgen os dy ffydd a fydd heb weithredoedd da, nid ydyw onid ffydd y diawl, ffydd yr annuwiol, llun neu ddynwarediad ffydd, ac nid y wir a'r Gristionogawl ffydd.

Iac.2.18.

Ac megis nad ydyw diafol a phobl ddrwg yn well o herwydd eu ffydd dwyllodrus, ond ei bod hi yn chwaneg o achos dammedigaeth iddynt: felly y rhai a fedyddiwyd, ac a dderbynniasont wybodaeth am Dduw, ac am haeddiant Christ: ac

etto o fwriad byw yn segurllyd heb weithredoedd da (gan dybied fod ffydd Noeth yn ddigon iddynt, neu gan osod eu meddwl ar wag-hoffderau'r byd) ydynt yn byw mewn pechod ac yn ddietifeiriol, heb ddwyn y ffrwythau a berthynant at y fath uchel alwedigaeth. Ar ucha'r fath rhyfygus ddynion ac ewyllysgar bechaduriaid mae'n rhaid cwympo mawr ddigofaint Duw a chosp tragwyddol yn uffern a ddarparwyd i'r rhai ydynt yn byw yn anghyfion ac yn ddrwg.

Am hynny fal yr ydych yn dwyn enw Christ (Gristionogion daionus) na thwylled cam-dyb am ffydd chwi un amser, ond byddwch sicer o'ch ffydd a holwch hi wrth eich bywyd, edrychwch ar y ffrwythau sydd yn dyfod o honi, synnwch argynnydd cariad a charedigrwydd o honi, tuag at Dduw a'ch cymmydogion: yno y gellwch ddeall ei bod hi yn wir ffydd fywiol. Os byddwch yn deall ac yn ystyriaid fod y fath ffydd ynoch llawenhewch am dani hi, byddwch ddiescaelus i'w phorthi hi, megis yr arhosso hi yn wastad ynoch, cynnydded beunydd a thyfed fwyfwy yn wastadol trwy wneuthur yn dda. Felly y byddwch sicer i fodloni Duw trwy eich ffydd: ac yn y diwedd (megis yr aeth gwyr ffyddlon eraill yn y blaen) felly yr ewch chwithau atto ef hefyd, pan fytho ef ewyllys ef, ac y derbynnwch ddiwedd a gwobr diwethaf eich ffydd, yr hwn (fal y gailw S. Peter ef) yw Iachawdwriaeth eich eneidiau, yr hyn Duw a'i canniatao ini yr hwn a'i haddawodd ef i'w ffyddloniaid, i'r hwn y bytho anrhydedd a gogoniant yn oes oesoedd. Amen.

¶ Pregeth

# ¶Pregeth am weithredoedd da a gyssyllter â ffydd.

N y bregeth ddiwethaf y manegwyd i chwi pa beth yw gwir a bywiol ffydd Gristionogawl, yr hon y sydd yn gwneuthur i ddyn na byddo segurllydd, onid yn ei waith yn wastad yn gwneuthur gweithredoedd da megis y gwasanaetho 'r lle, ar amser. Yn awr trwy nerth Duw y manegir yr ail peth a nodwyd o'r blaen am ffydd, na ellir hebddi wneuthur vn weithred dda gymeradwy a hoff gan Dduw.

O herwydd fal y dywaid ein Iachawdwr
Ioan.15.4.5. Christ, ni all canghen ddwyn ffrwyth o honi ei
hun, sef onid erys yn y winwydden: felly ni ell-
wch chweithau onid arhoswch ynofi. Myfi yw
'r winwydden chwithaw yw 'r canghennau, yr
hwn a arhosso ynofi a minnau ynddo yntef, hwn-
nw a ddwg ffrwyth lawer: cans hebof fi ni ell-
wch chwi wneuthur dim. Ac mae S. Pawl yn
Heb.11.5.6. profi fod gan Enoch ffydd, am iddo fodloni Duw:
O herwydd heb ffydd ni ellir bodloni Duw. Ac
ail waith mae fe'n dywedyd at y Rufeiniaid, Pa
Ruf.14.23. beth bynnag nid yw o ffydd pechod yw.

Ffydd sydd yn rhoddi goleuni i'r enaid. Ac mae y rhai a sydd heb ffydd mor feirw gerbron Duw, ac yw celanedd heb eneidiau gerbron y byd. Er tecced ac er mor ogoneddus ymmlaen dynion a fytho 'r gwaith a wnelom ni heb ffydd, etto nid yw ymmlaen Duw onid Marw. Megis nad ydyw delw gwedy ei charfio neu' ei pheintio onid

rhith

rhith neu lun marw o'r peth ei hun, heb na bywyd nac vn gallu i yscog ynddo, felly y mae gweithredoedd yr holl anffyddloniaid ymmlaen Duw. Maent yn ymddangos yn weithredoedd bywiol ac etto yn wir nid ydynt onid meirw heb ffydd ynddynt i fywyd tragwyddol. Nid ydynt ond llun a lledrith pethau bywiol da, ac nid pethau bywiol da ei hunain. Canys gwir ffydd sydd yn rhoddi bywyd i'r gweithredoedd, ac ond o'r ffydd honno ni ddaw gweithredoedd daionus da, o herwydd heb ffydd nid oes vn weithred yn dda ger bron Duw, fal y dywaid S. Awstin, Nid oes i ni ddodi gweithredoedd da ymmlaen ffydd, na thybied y dichon dŷn cyn byddo ffydd gantho wneuthur vn weithred dda: O herwydd er bod y fath weithredoedd yn ymddangos ger bron dynion yn ganmoladwy etto nid ydynt ymmlaen Duw onid ofer ac anghymmeradwy. Hwy a gyffelybir i redfa ceffyl a redo oddiar y iawnffordd gan gymmeryd poen fawr yn ofer. Na chyfrifed neb (medd ef) am hynny ei weithredoedd da ymmlaen ffydd. Lle nid oedd ffydd nid oedd gweithredoedd da; Y bwriad medd ef sydd yn gwneuthur y weithred yn dda, ond rhaid yw bod ffydd yn arwain ac yn cyfarwyddo bwriad dyn.

In prefatio Psal. 31.

Ac mae Christ yn dywedyd, Os dy lygad di a fydd ddrwg, fe fydd dy holl goph di yn dywyll. Mae 'r llygad medd S. Awstyn yn arwyddoccau y bwriad trwy'r hwn y mae dyn yn gwethur peth. Megis yr hwn ni wna weithredoedd da â duwiol fwriad a gwir ffydd yr hon a weithia trwy gariad, Mae'r holl gorph heblaw hynny (hynny yw) holl rhifedi ei weithrydoedd ef yn dywyll, ac nid oes goleuni ynddynt. O herwydd nid ydys yn mesur-

Math. 6. 23.
In prefatio Psal. 31.

sur gorchwylion da wrth y gweithredoedd noethion, ac nid felly yr ydys yn eu adnobod hwy oddiwrth faiau, onid wrth y bwriad a'r diwedd er mwyn yr hwn y gwnaethpwyd hwy. Os cenhedlddyn a ddillatta'r Noeth, a bortha y newynog, ac a wna y fath weithredoedd eraill, etto can nad ydyw ef yn gwneuthur y pethau hyn o ffydd, er anrhydedd a chariad Duw, nid ydynt iddo ef onid gweithredoedd meirw anffrwythlon ofer. Ffydd sydd yn cannol y weithred at Dduw. Oblegid fal y dywaid Awstin na drwg na da fo gennym, mae'r weithred ni ddaw o ffydd yn ddrwg: lle nid ydyw ffydd Christ yn sylfaen, nid oes vn waithred dda, pa adailadaeth bynnag a wnelom arno. Mae vn weithred yn yr hon y mae pob gweithred dda, hynny yw ffydd yr hon a weithia trwy gariad. Os ydyw honno gennym mae gennym sylfaen yr holl weithredoedd da. O herwydd yr ydys yn rhoi rhinweddau nerth, synwyr, cymmedrolder, cyfiawnder, oll i gyd at ffydd.

Heb ffydd nid oes gennym vn o'r rhinweddau ymma, ond eu llun au henwau hwy yn vnic, fal y dywaid S. Awstin, Mae holl fywyd y rhai sydd heb ffydd yn bechod, ac nid oes dim da heb yr hwn a sydd awdur pob daioni, lle nid ydyw efe nid oes yno onid lledrith rhinwedd yn y gweithredoedd gorau.

Psal.84.3. Ac fal y dywaid S. Awstin wrth agoryd y vers hon o'r Psalm, fe gafodd y golommen nyth lle caidw hi ei chywon) fod Iddewon anffyddlonion a Hereticiaid yn gwneuthur gweithredoedd da. Maent yn dillatta'r noeth, yn porthi'r tlawd, ac yn gwneuthur gweithredoedd y drugaredd: ond o herwydd nad ydynt yn eu gwneuthur â gwir

ffydd,

ffydd, maen hwy yn collieu cywon. Ond os hwya arhosant yn y ffydd fe fydd ffydd nyth a noddfa i'w cywon hwy, hynny yw nawddfa i'w gweithredoedd hwy fal na chollant eu holl wobr.

A'r hyn y mae Awstin mewn llawer o lyfrau yn ei ddadleu yn halaeth, mae S. Ambros yn ei gynnwys mewn ychydig o eiriau, gan ddywedyd, yr hwn trwy annian a fynnei wrthwynebu beiau naill ai trwy ei naturiol ewyllys, ai drwy reswn, ofer y mae fe'n harddu amser y bywyd ymma, ac nid ydyw yn gallu meddiannu gwir rinweddau, o herwydd heb addoli y gwir Dduw nid ydyw yr hyn a dybygir ei fod yn rhinwedd, onid bai.

Ac etto yn eglurach i'r defnydd ymma yr scrifenna S. Chrysostom yn y geiriau hyn, Chwi a ellwch weled llawer heb wir ffydd ganthynt, ac heb fod o gorlan Christ, ac etto fal y gwelir, maent yn hoyw mewn daionus weithredoedd y drugaredd. Chwi a'u cewch hwynt yn llawn trugaredd, tiriondeb, a chwedy ymroi i gyfiawnder, e'r hynny nid oes iddynt ddim ffrwyth o'u gweithredoedd, am fod arnynt eisiau y weithred bennaf. Cans pan ofynnodd yr Iddewon i Grist pa beth a wnaent i wneuthur gweithredoedd da, fe a attebodd, hon yw gweithred Duw, credu o honoch yn yr hwn a anfonodd ef, fal y galwodd ef ffydd yn waith Duw. Ac er cynted y bytho ffydd gan ddyn, mae fe yn y fan yn ymhoywi mewn gweithredoedd da. O herwydd mae ffydd o honi ei hun yn llawn gweithredoedd da, ac heb ffydd nid oes dim yn dda.

In sermone de fide, Lege & Spiritu sancto.

Yn lle cyffelybaeth mae fe'n dywedyd fod y rhai fydd yn discleirio ac yn * goleuannu mewn gwei-

* Llewyrchu.

thre-

thredoedd da heb ffydd yn-Duw, yn debyg i wyr meirw yn gorwedd mewn beddau gwerthfawr gwych, ac etto heb fuddio iddynt. Ni ddichon ffydd fod yn noeth heb weithredoedd da, o herwydd yno nid yw hi wir ffydd: a phan gydfylltir hi â gweithredoedd, etto mae hi bwchlaw'r gweithredoedd. O herwydd megis yn gyntaf y mae bywyd mewn dynnion y rhai ydynt wir ddynion, ac yn ol bod bywyd yr ydys yn eu hymborth hwynt: felly mae yn rhaid i ffydd ynghrist fyned o'r blaen, ac yn ol hynny rhaid yw ei phorthi â gweithredoedd da. Fe ddichon bod bywyd heb ymborth, ond ni ddichon bod ymborth heb fywyd.

Rhaid i ddyn gael ei ymborth trwy weithredoedd da, ond rhaid yw bod ffydd gantho yn gyntaf. Yr hwn a wna weithredoedd da, ac heb ffydd, nid oes bywyd ynddo. Mi a fedraf ddangos un heb weithredoedd a fu fyw, ac a ddaeth i'r nef, ond heb ffydd ni bu fywyd mewn dyn er ioed. Fe a gredodd y lleidr yn unic yr hwn a grogwyd pan dioddefodd Christ, ac fe a gyfiawnhaodd y trugarocaf Dduw ef. A rhag dywedyd o neb ailwaith fod arno eisiau amser i wneuthur gweithredoedd da, ac oni buase hynny y gwnellai fe hwy. Gwir yw, nid ymryfonaf ddim yn hynny: ond hyn a ddywedaf yn siccr ddigon, i ffydd yn unic ei gadw ef. Pe buasei fe yn byw ac heb ofalu am ffydd a'i gweithredoedd, fe a gollasai ailwaith ei gadwedigaeth. Ond hyn yw'r cwbl yr ydwyf yn ei ddywedyd, i ffydd o honi ei hunan ei gadw ef, ac na chyfiawnhaodd gweithredoedd o honynt eu hunain ddyn er ioed.

Ymma y clywsoch feddwl S. Chrysostom gan yr hwn yr ydych yn deall nad ydyw ffydd heb wei-

thredoedd, os bydd lle ac amser i'w gwneuthur hwy, ac na ddichon gweithredoedd heb ffydd lesshau i fywyd tragwyddol.

## ¶ Yr ail rhan o'r bregeth am weithredoedd da.

FE fanegwyd i chwi eisioes ddau beth o'r tri a nodasid yn enwedig ynghylch ffydd yn y bregeth ddiwethaf.

Y cyntaf yw nad ydyw ffydd un amser yn segur heb weithredoedd da pan fo pryd ac amser i'w gwneuthur hwy.

Yr ail, na ellir gwneuthur gweithredoedd da cymmeradwy ger bron Duw heb ffydd.

Weithian awn at y trydydd, Lle y dangosir pa fath weithredoedd ydyw y rhai a darddant o wir ffydd, ac a hebryngant ddynion duwiol i dragwyddol fywyd. Hyn ni ellir ei ddyscu yn well na chan Grist ei hun, i'r hwn y gofynnodd rhyw wr mawr yr un pwngc, Pa weithredoedd a wnaf, eb rhyw lywodraethwr, i ddyfod i dragwyddol fywyd? i'r hwn yr attebodd Jesu,

Os mynni ddyfod i fywyd tragwyddol, cadw y gorchymynion. Ond y llywodraethwr heb ei fodloni trwy hyn, a ofynodd ymhellach, Pa orchymynion? Fe wnelse yr scrifenyddion a'r Phariseaid gymmaint o gyfraithiau a thraddodiadau o'r eiddynt eu hunain i hebrwng dynion i'r nef, heblaw gorchymynion Duw, na wyddai y gwr ymma trwy ba un y dawai ef i'r nef, ai trwy y cyfraithiau a'r traddodiadau hynny, ai trwy orchymynion Duw.

Ac am hyn y gofynnodd, pa orchymynion yr ydoedd

edd

edd Christ yn eu meddwl. I'r hwn y gwnaeth Christ atteb golau, gan gyfrif iddo orchmynion Duw, a dywedyd, Na ladd, na wna odineb, na ledratta, na ddwg gamdystiolaeth, Anrhydedda dy dâd a'th fam, Car dy gymmydog fal dy hun. Trwy 'r hyn airiau y dangosodd Christ mai gorchymynion Duw ac nad traddodiadau a chyfraithiau dynion yw 'r uniawn ffordd sydd yn ein hebrwng ni i fywyd tragwyddol: fal y dyleid cymmeryd hon yn gywiraf gwers a ddangoswyd trwy enau Christ ei hunan, mai gweithredoedd cyfraith foesawl Dduw yw gwir weithredoedd ffydd, y rhai a dywysant i'r bendigedig fywyd sydd ar ddyfod. Ond yr ydoedd dallineb a chenfigen dyn o'r dechreuad yn barod i gwympo oddiwrth orchymynion Duw. Megis Adda y gwr cyntaf yr hwn er nad oedd gantho orchymmyn onid un, na fwytae o'r ffrwyth gwaharddedig, etto er gorchymmyn Duw fe a gredodd y wraig yr hon drwy ddichell y sarph a dwyllasid: ac felly a ganlynodd ei ewyllys ei hun, gan adel heibio orchymmyn Duw.

Ac er yr amser hynny etto fe ddallwyd pawb oll a ddaethont o hono, trwy ddechreuol bechod, hyd onid oeddynt barod i gwympo oddiwrth Dduw ai gyfraith, ac i ddychymmygu ffordd newydd i Gadwedigaeth trwy weithredoedd o'u ddychymmyg eu hun: hyd oni chrwydrodd haychen yr holl fyd ynghylch amcanion eu calonnau eu hunain, gan ymwrthod a gwir anrhydedd yr unic a bythfywiol Dduw, gan addoli, rhai yr haul, y lleuad, y ser, rhai Jupiter, rhai Diana, rhai Juno, Saturn, Apollo, Neptun, Ceres, Bacchus, a gwyr a gwragedd meirw.

Rhai ni allid a hyn eu digoni, a addolasant amryw anifeiliaid, adar, pyscod, ehediaid, a gwiberod, pob gwlad, tref, a thy haychen gwedy eu rhannu, gan osod ac adoli delwau y pethau a'u bodlonent.

Mor ynfyd oedd y bobl gwedy iddynt gwympo at eu hamcanion eu hunain, a rhoi i fynydd y tragwyddol a'r bywiol Dduw a'i orchmynion, ac y dychmygasont iddynt eu hunain aneirif ddelwau a Duwiau.

Yn yr hwn gamsynnaeth a thywyllwch yr oeddynt yn aros nes i'r holl-alluog Dduw gan dosturio wrth ddallineb dyn, ddanfon i'r byd ei gywir brophwyd Moeses i argyoeddi ac i geryddu yr anfad ynfydrwydd ymma, ac i ddyscu'r bobl i adnabod yr unic fywiol Dduw, a'i wir anrhydedd a'i addoliad. Ond mae llygredig duedd dyn gwedy ymroi mor gwbl i ddilyn ei feddwl ei hun, ac fal y dywedwn, i fawrhau 'r aderyn * a faethrinodd ef ei hun, nad ydyw yr holl rybyddiau, annogiaethau, daionus ddoniau na bygythiau Duw, yn abl i'w gadw ef oddiwrth y fath ddychymmygion. * Fagodd.

O herwydd er holl ddoniau Duw a dywalltwyd ar blant yr Israel, etto pan aeth Moeses i fynydd i ymddiddan â'r holl-alluog Dduw, nid arhosasai yno ond ychydig ddyddiau, nes i'r bobl wneuthur Duwiau newydd. Ac fal y daeth yn eu pennau, hwy a wnaethant lo o aur ac a benlinasant i lawr ac a'i haddolasant ef. Ac yn ol hyn hwy a ddilynasant y Moabiaid, ac a addolasant Beel phegor Duw y Moabiaid. Exod.32.

Darllenwch lyfr y Barnwyr, llyfrau y brenhinoedd a'r prophwydi, ac yno y cewch weled mor

E anwadal

anwadal oedd y bobl, mor llawn o amcanion, a pharotach i ddilyn eu ffansiau eu hunain nâ sancteiddiaf orchymmynion Duw. Yno y gellwch ddarllen am Baal, Moloch, Chamos, Melchom, Baal-peor, Astaroth, Bel, y ddraig, Priapus, y sarph brês, y dauddeg arwydd, a llawer o bethau eraill. I ddelwau y rhai mewn gostyngeiddrwydd mawr y gosodai 'r bobl bererindodau, gan eu trwsio 'n werthfawr, arogldarthu, penlinio ac offrwm iddynt, gan dybied fod hynny yn haeddiant uchel ym-mlaen Duw: ac y cyfrifid hynny uwchlaw holl gyfraithiau a gorchymyniō Duw.

Ac lle daroedd i Dduw orchymmyn na wnaid un aberth ond yn Jerusalem, hwyntau o'r gwrthwyneb a wnaethant allorau ac aberthau ymmhob man, yn y mynyddoedd, yn y coedydd, ac yn y tai, heb wneuthur cyfrif o orchymmynion Duw, gan dybied fod eu hamcanion a'u crefydd eu hunain yn well nâ hwy. Ac fe wascarwyd y camsynnaeth hynny cyhyd, fel y llygrwyd nid yn unic y cyffredin annyscedig bobl, ond yr offeiriaid a'r dyscawdwyr hefyd, trwy drachwant, gwagogoniant, ac anwybod i wneuthur yr un rhyw ffieidd-dra. Yn gymmaint a phan nad oedd gan frenin Ahab ond un Elias yn wir ddyscawdr a gwenidawg Duw, yr oedd wythcant a deg a deigain o brophwydi yn ei annog ef i addoli Baal, ac i aberthu yn y coedydd a'r llwyni.

Ac fe a barhaodd y blin gamsynniaeth hynny, nes i'r tri brenin godidawg, Josaphat, Ezechias, a Josias, dewisol wenidogion Duw, ddinistrio y pethau hynny yn gwbl: a dwyn ailwaith y bobl oddiwrth eu gwâg amcanion, at orchmynion Duw. Am yr hwn beth mae eu hanfarwol wobr,

a'u gogoniant hwy yn aros gyda Duw yn dragywydd.

Ac heb law y traddodiadau a soniasom ni amdanynt eisioes, fe wnaeth tuedd dyn (er cael ei sanctaidd addunedau ei hun) sectau, a chrefyddau newydd, a elwid Phariseaid, Saducæaid, ac scrifenyddion, a llawer (fal y tybygid oddifaes, ac wrth ymddangosiad têg eu gweithredoedd) o draddodiadau ac ordeiniadau sanctaidd duwiol, ond mewn gwirionedd yr ydoedd y cwbl oll yn arwain at ddelw-addoliad, ofergoel a rhagrith, gan fod eu calonnau oddifewn yn llawn cenfigen, balchedd, trachwant a drygioni.

Yn erbyn y sectau hynny a'u sancteiddrwydd ragrithiol y gwaeddodd Christ yn danbeitach nag yn erbyn un rhyw ddynion eraill, gan ddywedyd a mynych adrodd y geiriau hyn, gwae chwi scrifenyddion a Phariseaid ragrithwyr, canys yr ydych yn glanhau y tu allan i'r cwppan a'r ddyscl, ac o'r tu mewn llawn ydych o yspail a bryntni. Tydi Pharisead dall, glanha yn gyntaf y tu mewn i'r *cwppan a'r ddyscl. O herwydd er eu holl wych draddodiadau, ac ymddangosiadau eu gweithredoedd da oddiallan, y rhai a wnelsent o'u meddylfryd eu hunain, trwy y rhai yr ymddangosent i'r byd yn grefyddgaraf ac yn sancteiddiaf o wyr y byd, etto fe wyddiai Grist yr hwn a welodd eu calonnau hwy eu bod oddifewn ger bron Duw, yn ansanteiddiaf yn ddifeithiaf ac ym-mhellaf oddiwrth Dduw o holl wyr y byd, ac am hynny y dywaid wrthynt, O ragrithwyr, da y prophwydodd Esaias am danoch chwi, gan ddywedyd, Nesau y mae 'r bobl hyn attaf â'u genau a'm anrhydeddu a'u gwefusau, onid eu calon sydd bell oddi-

Math.23.25.

* Phiol.

Math.15.8,9.

Esai. 29.13.

oddiwrthyf: ofer y'm anrhydeddant i gan ddyscu
Mat.15.3. gorchymmynion dynnion yn ddyscedidiaeth, yr y dych yn torri gorchymmyn Duw trwy eich traddodiad chwi.

Ac er bod Christ yn dywedyd eu bod hwy yn addoli Duw yn ofer, trwy ddyscu athrawiaethau a gorchymmynion dynnion, etto nid oedd Christ trwy hyn yn meddwl distrywio holl orchymmynion dynion, o herwydd ef ei hun a fu ufydd i dywysogion a'u cyfraithiau a wnaeth pwyd er trefnu a llywodraethu 'r bobl. Onid fe a argyoeddai y cyfraithiau a'r traddodiadau a wnaethai 'r scrifenyddion a'r Phariseaid, y rhai ni wnaethpwyd yn unig er daionus drefnu 'r bobl, (megis y gwneuthpwyd cyfreithiau moesol) onid hwy a osodasid cyfuwch sal y gwneuthpwyd hwy yn bur ac yn iawn addoliad Duw, megis pe buasent gogyfuwch â chyfraithiau Duw, neu uwch eu llaw hwy.

O herwydd ni ellid cadw llawer o gyfraithiau Duw, ond gorfod arnynt roddi lle i'w cyfreithiau hwy. Dymma 'r rhyfyg yr oedd Duw yn ei gashau yn fawr, i ddyn dderchafu ei gyfraithiau ei hun, a'u gwneuthur yn ogyfuwch â gorchymmynion Duw, yn y rhai y mae anrhydedd ac iawn addoliad Duw yn sefyll, a pheri gadu heibio er mwyn y rhai hynny ei gyfraithiau ef ei hun.

Fe a osododd Duw ei gyfraithiau ei hun trwy y rhai y mynn ei anrhydeddu. Ei ewyllys ef hefyd yw cadw o'r bobl ac ufyddhau i bob cyfraithiau dynion drwy na wrthwynebant ei gyfraithiau ef, megis daionus ac anghenraid i bob daioni cyffredinawl: ac er hyn nid megis yn y rhai yn benuaf y mae anrhydedd Duw yn sefyll. Ond

fe

fe wnair neu fe ddylid gwneuthur holl foesawl gyfraithiau dynnion er dwyn dynnion yn well i gadw gorchymmynion Duw, fal o hyn yr anrhydeddid Duw drwyddynt hwy yn well.

Etto nid oedd fodlon gan yr scrifennyddion a'r Pharisæaid na chyfrifasid eu cyfraithiau hwy yn vwch na chyfraithiau gosodedig moesawl eraill, ac ni fynnent eu galw hwy wrth enwau cyfraithiau bydol eraill, ond hwy a'u galwent yn draddodiadau sanctaidd, duwiol, ac a fynnynt eu cyfrif hwy nid yn vnic yn iawn ac yn wir addoliad Duw (megis yn wir y mae cyfraithiau Duw) onid hefyd vn vchel anrhydedd Duw, i'r hwn y dylyei orchymyniō Duw roi lle. Dymma'r achos y dywedai Grist mor llym yn eu herbyn hwy, gan ddywedyd, mae eich traddodiadau sydd mor fawrhaus ger bron dynion, yn gasineb ger bron Duw. O herwydd fynychaf o'r fath draddodiadau y canlyn troseddu neu dorri gorchymynion Duw, a mwy o ddefosiwn i gadw y fath bethau, ac yn fwy yn erbyn cydwybod eu torri hwy, nâ thorri gorchymynion Duw. Megis y cadwe yr scrifenyddion a'r Pharisæaid y Sabaoth yn y fath ofergoel, ac mor arswydus, hyd oni ddigient wrth Grist am iddo ar y Sabaoth iachau y cleifion: ac wrth ei Apostolion am iddynt ar y dydd hwnnw, a hwyntau yn newynog gynnull tywys ŷd i'w bwyta, ac am na byddai ddyscyblon Christ yn golchi eu dwylaw cy fynyched ac y gorchymynne eu traddodiadau hwy, y cweryle yr scrifenyddion a'r Pharisæaid ar Grist gan ddywedyd, pahamy mae dy ddiscyblon di yn torri traddodiadau yr henuriaid ond fe a attebodd Christ hwy gan ddangos eu bod hwy trwy eu traddodiadau eu hunain yn Mat.12.2,13. Mat.15.2,3.

yn torri gorchymmynion Duw.

O herwydd hwy a ddyscent i'r bobl y fath gre-
fydd ar fod iddynt offrwm eu da i drysordy'r deml,
yn rhith anrhydeddu Duw, gan adel eu tadau a'u
mammau y rhai yr oeddynt yn rhwymedig i'w
cymmorth, heb ymwared: Ac felly y torrasont
orchymynion Duw, i gadw eu traddodiadau eu
hunain. Yr oeddynt hwy yn cyfrif yn fwy y llw
a wnaid i'r aur neu'r offrwm yn y deml, nâ'r
llw a wnaid yn enw Duw ei hun, neu i'r deml;
Yr oeddynt yn gyflymmach i dalu eu degymmau
o bethau bychain, nag i wneuthur pethau mwy
a orchymmynnasai Dduw megis gweithredoedd
Math.23.v.23. y drugaredd, gwneuthur cyfiawnder, a gweu-
thur yn ddihocced, yn uniawn, ac yn ffyddlon â
Duw a dyn.

Y pethau hyn medd Christ sydd raid eu gwneu-
thur, ac na a dawer y llaill heb wneuthyd. Ac i
ddiweddu, yr oeddynt mor ddeillion ac y tramg-
wyddwent wrth wellтyn, ac y neident dros gŷff.
Hwy a fyddent fanol i dynu gwybedyn fach o'u
diod, ac er hynny hwy a lyngcent gammel. Am
hynny y galwodd Christ hwy yn-dywyswyr deilli-
on, gan rybyddio ei ddyscyblon o amser i amser i
wagelyd eu athrawaeth hwy. O herwydd er eu
bod hwy yngolwg y byd yn wyr perffaith yn eu
bywyd a'u hathrawaeth, etto nid ydoedd eu by-
wyd onid rhagrith, na'u hathrawaeth onid sur-
does, gwedy ei gymyscu ag ofergoel, delwaddo-
liad a chamfarn, gan osod i fynydd draddodiadau
ac ordeiniadau dŷn yn lle gorchymmynion Duw.

## ¶ Y trydydd ran o'r bregeth am weithredoedd da.



Fal y gallai bawb iawn ystyrlaid
gweithredoedd da, fe fanegwyd
yn yr ail rhā o'r bregeth hon, pa
fath weithredoedd da yw y rhai
a fynnai Dduw i'w bobl rodio
yndynt: hynny yw y rhai a or-
chymmynnodd ef yn ei sanctaidd
scrythur, ac nid y fath weithredoedd a ddychym-
mygodd dynnion o'u ymmenyddau eu hunain, o
zêl ddall a defosiwn, heb air Duw. Ac wrth gam-
gymmeryd annian gweithredoedd da, fe a anfod-
lonodd dŷn Dduw yn fawr, ac aeth oddiwrth ei
orchymynion ef a'i ewyllys.

Ac fal hyn y clywsoch mor barod oedd y byd o'r
dechrau hyd amser Christ i gwympo oddiwrth
orchymmynnion Duw, ac i geisio moddion eraill
i'w amrhydeddu a'i wasanaethu ef yn ol y defo-
siwn a wnellent o'u pennau eu hunain. A pha
fodd y gosodasant eu traddodiadau eu hunain go-
gyfuwch, neu uwchben gorchymynion Duw.

Yr hyn beth a ddigwyddodd yn ein amseroedd
ninnau, mor gyflawn ac ymmlhith yr Iddewon:
a hynny trwy lygredigaeth neu ar y lleiaf trwy
esceulusdra y rhai a ddylasent fwyaf dderchafu
gorchymynnion Duw, a chadw ei bur a'i nefol a-
thrawaeth ef a adawodd Christ inni. Pa wr ac yn-
ddo na barn, na dysc, gwedy ei chyssylltu â gwir
zêl tuag at Dduw, na wyla ac na alara ddyfod i
mewn i grefydd Grist y fath gau-athrawaeth,
ofergoel, delwaddoliad, a rhagrith, ac anafus fa-

fau, a chamarferon eraill, hyd oni rwystrwyd bob ychydig, ac oni ddodwyd heibio fara melys sanctaidd air Duw trwy surdoes y pethau hynny. Ni bu gan yr Iddewon er ioed yn eu dallineb mwyaf cynnifer pererindod at ddelwau mudion, ac ni arferwyd gymmaint o benlinio, o gusanu ac o offrwm, ac a arferwyd yn ein hamser ni.

Ni bu er ioed y ddeugeinfed ran o'r sectau a'r gaugrefyddau ymlith yr Iddewon, ac nid arferwyd hwy yn annuwiolach nac mewn mwy o ofergoel, nag yr arferwyd hwy yn hwyr yn ein mysc ni. Yr hyn sectau a chrefyddau oedd ganthynt y sawl ragrithiedig gau weithredoedd yn eu crefydd (megis yn rhyfygus y galwent hi) fal yr ydoedd eu llusernau (meddent) yn rhedeg drosodd yn wastad, yn abl i wneuthur iawn nid yn unig dros eu pechodau eu hunain, onid hefyd dros bawb eraill o'u cymwynaswyr, brodyr, a chwiorydd mewn crefydd. Megis yn annuwiol ac yn ddichellgar yr hudasent y bobl annyscedig, gan gadw mewn llawer mann megis ffeiriau a marchnodoedd o'u haeddedigaethau, y rhai oeddent yn llawn o greiriau sanctaidd, o ddelwau, ac o weithredoedd gweddill, yn rhedeg drosodd yn barod i'w gwerthu. Pob peth ac oedd ganthynt a elwid yn sanctaidd, peisiau sanctaidd, gwregysau sanctaidd, pardynau sanctaidd, padreuau sanctaidd, esgidiau sanctaidd, rheolau sanctaidd, a phob peth yn llawn sancteiddrwydd.

Pa beth a ddichon bod yn ffolach yn annuwiolach neu yn llawnach o ofergoel nag i wyr, gwragedd, a phlant wisco pais mynach i'w gwared oddiwrth y *dderton neu'r cowyn: a phan fyddent

* Cryd neu'r nodau.

farw

marsiandwyr, bonedddigion, barwniaid, iairll a duwciaid, etto wrth y term twyllodrus dichellgar hwnnw proprium in communi, hynny yw priodol mewn cyffredinolrwydd, y gwatwarent yr holl fyd, gan beri iddynt gredu er eu holl gyfoeth a'u meddiannau, eu bod hwy yn cadw eu llw a'u hadduned, ac yn byw mewn ewyllysgar dlodi. Ond er eu holl gyfoeth ni allent nerthu na thâd na mam na neb eraill ac oedd wir anghenus dlodion, heb gennad eu tâd Abad, prior, neu warden.

Etto hwy allent gymmeryd gan bawb, ond ni allent roi dim i neb, na allent i'r rhai yr oeddynt rhwymedig wrth gyfraithiau Duw i'w cymmorth. Ac felly trwy eu traddodiadau a'u rheolau hwy, ni chae gyfraithiau Duw reoli yn eu mysc hwy.

Math.15.3.8. Ac am hynny y gallid yn ddifai ddywedyd am danynt yr hyn a ddywedodd Christ wrth y Phariseaid, Yr ydych yn torri gorchymmynion Duw â'ch traddodiadau, yr ydych yn anrhydeddu Duw â'ch gwefusau, a'ch calonnau ydynt bell oddiwrtho: a pha hwyaf oedd y gweddiau a arferent ddydd a nos mewn lliw a rhith o'r cyfryw sancteiddrwydd, i ennill ewyllys da gwragedd anwadal, a dynion anddichelgar eraill, fal y gallent ganu offerennau a gwasanaeth dros eu gwyr a'u ceraint, a'u gollwng hwy, au derbyn i'w gweddiau, cyfiawnach a gwirach y dywedir am danynt ymadrodd Christ, Gwae chwi scrifenyddion a Phariseid ragrithwyr, canys yr ydych yn difa tai gwragedd gweddwon yn rhith hir weddio, am hynny y derbynniwch farn fwy: gwae chwi scrifenyddi-

Math.23. 14. 15. on a Phariseaid ragrithwyr, canys amgylchu yr ydych y mor a'r tir i wneuthur un proselyt neu

frawd

frawd newydd, a chwedy darffo i chwi eu derbyn hwy i mewn au cymeryd i'ch sect, yr ydych yn eu gwneuthur yn blant uffern yn waeth nâ chwi eich hunain.

Moliant i Dduw a osododd ei oleuni ynghalon ei ffyddlon was a'i wenidawc cywir brenin Harri 8. o goffadwriaeth glodforus, ac a roddes iddo wybodaeth ei air, ac ewyllys difri i geisio ei ogoniant ef, ac i ddodi heibio bob sectau Pharisaiaidd coelfucheddol, y rhai a osodasai Anghrist yn erbyn gwir air Duw a gogoniant ei sanctaidd enw ef, fal y rhoddodd ef yr un rhyw Yspryd i'r ardderchoccaf a'r clodforusaf frenhinoedd Josaphat, Josias ac Ezechias. Duw a ganiatâo i ni oll ffyddlon a gwir ddeiliaid gorüwchelder y brenin, ymborth a'r felus a blasus fara gair Duw ei hunan, ac megis y gorchymynnodd Christ wagelyd surdoes rhith grefydd Phariseaid a phapistiaid. Yr hwn er ei fod gan Dduw yn gas, ac yn wrth wyneb i gyfraithian Duw, ac i bur grefydd Grist, etto fe ganmoled i fod yn dduwiolaf bywyd, ac yn stât uchaf o berffeithrwydd. Fal pe gallai ddyn fod yn dduwiolach ac yn berffeithiach, wrth gadw rheolau, traddodiadau, a chyffesau dynion, nag wrth gadw sancteiddiaf orchymynnion Duw.

Ac ar ychydig airiau i adel heibio y rhywiau eraill ar grefydd, adroddwn ryw fathau o ofergoel a chamarferon papistiaid, megis paderenau, sallwyreu Mair, gwersau saint Bernard, llythyrau S. Agathi o'r purdan, offerennau iawn, sanadau, Jubileau, gau-greiriau, padereuau sanctaidd, clych, bara, dwfr, palmwydd, canwyllau, tân bendigaid, a'r fath bechau coelfucheddol, ymprydau,

diau, creiriaethau, brawdoliaethau, pardynau a'r fath farchnadiaethau: y rhai a wnaed gymmaint o honynt, ac a gamarfered er anferth ddirmygu gogoniant Duw a'i orchymynion: gan dybied eu bod hwy yn odidawgaf a sancteiddiaf pethau a allai fod, i gael bywyd tragwyddol trwyddynt, a maddauant o bechodau.

Ie hefyd fe dderchafed felly wag-amcanion, ceremoniau anffrwythlon, cyfreithiau annuwiol, gosodiadau a chynghorau Rufain, yn y fath fodd nad oeddid yn cyffelybu dim iddynt mewn awdurdod, synwyr, dysc a duwioldeb, hyd oni ddywedent y dylyei bawb dderbyn cyfraithiau Rufain, megis y pedwar efangylwyr, i'r rhai y dylyei holl gyfraithiau tywysogion roddi lle. Ie ac yr oeddynt o ran hefyd yn gadel heibio ac yn dibriso cyfreithiau Duw, fal y gellid cadw yn dduwiolach, ac anrhydeddu a mwy ostyngeiddrwydd y cyfraithiau, gosodiadau, cynghorau, y traddodiadau a'r ceremoniau hynny. Fal hyn y dallwyd y bobl trwy wedd deg y pethau ymma, fal y tybygent fod ufydd-dod iddynt yn fwy sancteiddrwydd, ac yn berffeiddiach gwasanaeth ac anrhydedd i Dduw ac yn bodloni Duw yn fwy nag ufydd-dod i orchymynion Duw.

Or fath hyn y bu lygredig agwedd dyn, yn ymrhoi yn ofer i wneuthur o'i ben ei hun newydd anrhydedd i Dduw, ac i fod gwedy hynny yn well ei ewyllys a'i ddefosiwn i gadw hynny nag i chwilio allan am orchymynion Duw, a'i cadw. Ac hefyd i gymmeryd gorchymynion dynion yn lle gorchymynion Duw, a gorchymynion Duw yn lle gorchymynion dynion. Ie gorchymynion dynion yn lle y rhai uchaf, sancteiddiaf a pherffei-

ddiaf

ddiaf o holl orchmynion Duw. Ac felly yr oedd y cwbl oll yn gymmysc ddigon, fal yr ydoedd yn anodd i wyr dyscedig wybod, ac nid oedd honynt nemmor a wyddai neu a gymerai arno wybod, neu ar y lleiaf a feiddiai ddywedyd y gwirionedd, a gwahanu a dosparthu gorchymynion Duw oddiwrth orchymynion dynion. O hyn y tyfodd llawer o gamsyniaeth, ofergoel, delw-addoliad, gwâg-grefydd camfarn, mawr ymryson a phob annuwiol fywyd.

Am hyn megis y mae gennych zêl at iniawn a phur anrhydedd Duw, fal yr ydychwi yn priso am eich eneidiau eich hunain, ac am y bywyd a ddaw, yr hwn sydd heb na phoen na diwedd, rhoddwch eich hunain uwchlaw pob peth i ddarllen ac i wrando gair Duw: ystyriwch yn ddiwyd ynddo pa beth a ewyllysia ef i chwi ei wneuthur, ac a'ch holl egni ymhyderwch i ddilyn hynny.

Yn gyntaf rhaid yw bod gennych ddiogel ffydd yn-Nuw, a'ch rhoi eich hunain yn hollol iddo ef, ei garu ef mewn hawddfyd ac mewn adfyd, ac ofni ei ddigio ef bob amser. Ac er ei fwyn ef cerwch bawb, ceraint a gelynion, am eu bod yn greaduriad ac yn ddelw iddo, a chwedy i Grist eu prynu megis chwithau. Bwriwch yn eich calonnau pa fodd y gellwch wneuthur daioni i bob dyn yn ol eich gallu, ac na ddrygwch neb, ufyddhewch eich goruwch a'ch llywodraethwyr, gwasaneuthwch eich meistred yn ffyddlon ac yn ddyfal, yn gystadl yn eu gwydd ac yn eu absen, nid rhag ofn cosp yn unic, ond er mwyn cydwybod, gan wybod eich bod yn rhwymedig i wneuthur felly, trwy orchymyn Duw.

Nac anufyddhewch eich tadau a'ch mammau, onid anrhydeddwch hwy, cynorthwywch a bodlonwch hwy yn ol eich gallu. Na orthrymmwch, na leddwch, na ffustwch, nac sclawndyrwch neb. Na chasshewch neb, onid carwch bawb, dywedwch yn dda am bawb, cynorthwywch a nerthwch bawb hyd y galloch, ie eich gelynion a'ch casshant chwi, a ddywedant yn ddrwg am danoch, ac a'ch enesweidiant chwi. Na chymerwch dda neb, na thrachwentwch dda neb yn anghyfion, ond byddwch fodlon i'r peth a ennilloch yn gywir, a rhowch eich da eich hunain yn garedigol pan fo rhaid ac achos.

Gwagelwch bob delwaddoliad, swyngyfaredd ac anudon. Na wnewch odineb, anniweirdeb nac vn aflendid, mewn meddwl nac mewn gweithred gydâ gwraig gwr arall, gydâ gweddw, na chydâ merch, neu mewn moddion eraill. Ac wrth drafaelu fal hyn yr hyd y byddoch byw, i gadw gorchmynion Duw (yn y rhai y saif pur odidawg ac iawn anrhydedd Duw, yr hyn os gwnair mewn ffydd yr hon a ordeiniodd Duw i fod yn vniawn ffordd a llwybr i'r nef) ni ffaelwch chwi ddyfod fal yr addawodd ef i'r bywyd didranc bendigedig lle y cewch fyw mewn gogoniant, allawenydd gyda Duw dros fyth. I'r hwn y byddo moliant, gogoniant ac ymherodraeth dros fyth ac yn dragywydd. Amen.

Pregeth

## ¶ Pregeth am gariad perffaith a charedigrwydd Christianogawl.



O'R holl bethau ar ydynt dda eu dangos i Gristionogion, nid oes vn peth mor angenrhaid son a galw am dano beunydd, ac yw cariad perffaith: cystadl am fod holl weithredoedd cyfiawnder yn gynhwysedig ynddo, ac hefyd am fod diffyg cariad yn wradwydd ac yn gwymp ir byd, yn aethwladaeth rhinwedd, ac yn achos o bob drygioni. Ac yn gymmanit a bod pob dyn haechen yn gwneuthur ac yn llunio cariad perffaith iddo ei hun, yn ol ei ewyllys ei hunan: ac er cased fytho ei fywyd ger bron Duw a dyn, etto fe debyg yn wastadol fod cariad ynddo. Erwydd paham yn awr y cewch glywed dosparth ac yspysrwydd goleu cywir o gariad perffaith, nid o ddychymmyg dyn, onid o airiau a siampl ein Iachawdwr Iesu Ghrist: yn yr hwn ddosparth ac hyspysrwydd y dichon pob dyn megis mewn drych ystyriaid, a gweled yn oleu heb gamsyniaeth pa vn yw ai bod mewn gwir gariad perffaith ai nad ydyw. Math. 22.

Cariad perffaith yw caru Duw a'n holl galon, a'n holl fywyd, a'n holl nerth, ac a'n holl rym a'n gallu. A'n holl galon, hynny yw, fod ein calonnau a'n meddyliau a'n myfyrdodau gwedy ymroi i gredu ei air ef, i ymddired ynddo ac i'w garu vwchlaw pob peth a garom orau, yn y nef neu ar y ddaear.

A'n holl fywyd, Hynny yw bod ein llawenydd a'n gorfoledd pennaf gwedy ymroi iddo a'i anrhydedd, a bod ein holl fywyd gwedy ymroi i'w Math. 5.6.

wasa-

wasanaethu ef uwchlaw pob peth, i fyw ac i farw gydag ef. Ac i ymwrthod a phob peth arall yn gynt nag efe: Canys yr hwn a garo ei dad neu ei fam, ei fab neu ei ferch, ty neu dir yn fwy nâ myfi medd Christ, nid ydyw deilwng o honofi.

Math. 10.

A'n holl nerth, hynny yw â'n dwylaw, â'n traed, â'n llygaid, â'n clustiau, â'n geneuau, â'n tafodau ac â holl rym ac a phob rhan o'n cyrph a'n eneidiau y dlyem ymroi i gadw ac i gyflawni ei orchymynion ef. Dymma'r rhan gyntaf a'r bennaf o gariad, ond nid hyn yw y cwbl.

O herwydd cariad hefyd yw caru pob dyn, da a drwg, car a gelyn, pa achos bynnac a rodder i'r gwrthwyneb, a dwyn ewyllys a chalon dda at bawb, ymddwyn yn dda tu ag at bawb mewn geiriau a golwg, ac ymhob gweithred oddiallan. O herwydd hyn a ddyscodd Christ ei hun ini, a hyn a wnaeth ef yn ei weithredoedd. Dymma fal y dyscodd ef gariad Duw i ddoctor o'r gyfraith yr hwn a ofynnodd iddo pa un oedd y gorchymmyn mwyaf a'r pennaf yn y gyfraith.

Car dy Arglwydd Dduw medd Christ, â'th holl galon, â'th holl einioes ac â'th holl feddwl. Ac fal hyn y dysc ef ni am y cariad a ddlye fod yn ein plith y naill tuag at y llall; Chwi a glywsoch ddywedyd, Car dy gâr a chasha dy elyn, ond yr ydwyfi yn dywedyd wrthych, cerwch eich gelynion, bendithiwch y rhai a'ch melldithiant, gwnewch dda i'r rhai a'ch casant, a gweddiwch dros y rhai a wnel enwed i chwi ac a'ch erlidiant, fal y byddoch blant i'ch Tad yr hwn sydd yn y nefoedd, canys mae fe yn peri i'w haul dywynnu ar y drwg a'r da, ac yn danfon glaw ar y cyfion a'r anghyfion: canys os chwi a gar y rhai a'ch carant, pa wobr a fydd i chwi?

Math. 22.

Math. 5. 43. 44. &c.

chwi? onid ydyw y Publicanod yn gwneuthur yr vn modd? Os chwi a gyfarchwch well i'ch brodyr a'ch anwyl geraint pa rogoriaeth yr ydych yn ei wneuthur; onid ydyw y cenhedloedd yn gwneuthur yr vn peth.

Dymma airiau ein Iachawdwr Christ ei hun ynghylch caru ein cymmydogion. Ac yn gymmaint a darfod i'r Phariseaid â'u mellitigedig draddodiadau â'u cam-ddeongliadau, lygru a hayachen * groni pur ffynnon bywiol air Duw, gan ddyscu bod y cariad perffaith a'r caredigrwydd ymma yn perthyn at geraint gwyr yn vnic, a bod yn ddigon i ddyn garu y sawl a'i câr yntef, a chashau ei elynion. Am hyn fe agorodd Christ ailwaith y ffynnon hon, fe a'i glanhaodd ac a'i carthodd hi, gan roddi i'w wir a'i dduwiol gyfraith cariad, wir ac eglur ddeongliad, yr hon yw, y dlyem ni garu pob dyn, câr a gelyn, gan ddangos hefyd pa fudd a gawn ni o hynny a pha afles o'r gwrthwyneb. Attal.

Pa beth a allwn ei ddymuno cyffadl ar ein lles a chael gan ein tad nefol ein cyfrif a'n cymeryd yn blant iddo ei hun? A hyn, medd Christ, y bydd wn siccr o hono os ni a garwn bob dyn yn ddiwahanol. Ond os ni a wnawn amgen, medd ef, nid ydym well na Phariseaid, Publicanod a chenhedloedd, ac ni a gawn ein gwobr gyda hwy; hynny yw ein cau allan o rifedi etholedig blant Duw, ac o dragwyddol etifeddiaeth teyrnas nef.

Fal hyn y dyscodd Christ ni am wir gariad, fod pob dyn yn rhwymedig i garu Duw uwchlaw pob peth, ac i garu pob dyn, câr a gelyn. Ac fal hyn yr ymddug ef ei hun gan gynghori ei elynion, a cheryddu baiau ei gasogion, a phan nas gallai eu gwellahwy, fe a weddiodd drostynt.

Yn gyntaf, fe a garodd Dduw dad uwchlaw pob peth yn gymmaint ac na cheisodd ef na'i ogoniant ei hun na'i ewyllys, onid gogoniant ac ewyllys ei Dad. Nid ydwyf, medd ef, yn ceisio fy ewyllys fy hunan, onid ewyllys yr hwn am danfonodd. Ac ni wrthododd ef farw i gyflawni ewyllys ei Dad gan ddywedyd, Os gellir aed y cwppan hwn oddiwrthyf, ac onid e bydded dy ewyllys di ac nid fy ewyllys i.

Ioan.5.3.

Math.26.3.

Ni charodd ef ei geraint yn unic, ond ei elynion hefyd, y rhai a ddygent yn eu calonau gasineb anferth yn ei erbyn ef, ac â'u tafodau a ddywedent bob drygioni am dano, ac a'i herlidient ef hyd angau â'u holl allu â'u nerth. Er hynny ni thynnodd ef ei ewyllys da oddiwrthynt, ond fe a'u carodd hwy yn wastad, gan bregethu am gariad iddynt, eu ceryddu am eu camathrawaeth a'u drwgfywyd, fe wnae les a daioni iddynt, gan gymeryd yn oddefgar bob peth ac a ddywedent ac a wnaent yn ei erbyn ef. Pan roddent iddo airiau drwg ni roddod ef iddynt ddrwg airiau ailwaith, pan darawent ef ni tharawodd ef hwy drachefn, a phan oddefodd angau ni laddodd ac ni fygythiodd hwynt. Ond fe a weddiodd drostynt ac a osododd y cwbl ar ewyllys da ei dad nefol. Ond megis na chyffro y ddafad a ddyger i'r lladdfa, ac megis na wrthwyneba'r oen a ddyger i'w gneifio, felly yr aeth yntef i'w farwolaeth heb wrthwynebu ac heb agoryd ei enau i ddywedyd dim drygioni.

Esai.53.7.

Act.8.32.

Fal hyn y dangosais i ywch pa beth yw cariad, yn gystadl wrth athrawaeth ac wrth siampl Christ ei hun: trwy'r hyn y dichon pob dyn ei adnabod ei hun yn ddigamsyniaeth, pa stat a chyflwr y mae'n sefyll ynddo, pa un a wna ai bod

mewn cariad ac felly yn blentyn i'r Tâd o'r nef, ai nad ydyw.

O herwydd er bod pob dyn hayches yn credu ei fod mewn cariad, etto na holed ef neb arall ond ei galon ei hun, a'i fywyd a'i ymddygiad, ac ni thwyllir ef, onid fe a adnebydd ac a farna yn gywir, pa un a wna ai bod mewn cariad perffaith ai nad ydyw. O herwydd yr un ni ddilyno ei chwant a'i ewyllys ei hun, ond a ymroddo yn ddifri i Dduw i wneuthur ei holl ewyllys ef a'i orchymynion, siccr yw ei fod ef yn caru Duw yn fwy na dim: os amgen, diogel yw nad ydyw yn ei garu ef, pa beth bynnag a gymmero arno: fal y dywaid Christ, Os cerwch fi, cedwch fyngorchymynion: o herwydd yr hwn sydd yn gwybod fyngorchymynion ac yn eu cadw, medd Christ, hwnnw a'm cari. Ioan.13.35.

Ac fe a ddywaid ail-waith, Yr hwn a'm car i a gaidw fyngair, a'm tad a'i car yntef, ac ni a ddawn ein dau atto ef, ac a arhoswn gydag ef. A'r hwn ni'm car i, ni cheidw fyngairiau. Ac felly yr hwn a ddygo galon a meddwl da at bawb, ac a arfero ei dafod a'i weithredoedd yn dda at bob dyn, câr a gelyn, fe a ddichon wybod fod cariad yn aros ynddo. Ac yno fe a ddichon fod yn siccr gantho fod yr holl-alluog Dduw yn ei gymmeryd ef yn lle anwyl blentyn, fal y dywaid S. Ioan, Fal hyn yr adwaenir yn eglur blant Duw oddiwrth blant diafol: pwy bynnag ni char ei frawd ni pherthyn i Dduw. Ioan.4.7.8.

## ¶ Yr ail rhán o'r bregeth am gariad perffaith.



Chwi a glywsoch eglur a ffrwythlawn yspysrwydd am gariad, ac mor fuddiol ac mor anghenrheidiol ydyw: pa fodd y mae yn cyrhaeddyd at Dduw a dyn, câr a gelyn, a hynny trwy athrawaeth a siampl Christ: a hefyd pwy a ddichon gwybod am dano ei hun a ydyw ef mewn cariad, ai nad yw. Bellach y canlyn ynghylch yr un peth.

Mae gwrthgas annian dyn, gwedy ei llygru drwy bechod, a'i nailltuo oddiwrth air Duw a'i ras, yn tybied fod yn erbyn rheswm i ddyn garu ei elynion, ac mae gantho lawer o resymmau yn ei annog i'r gwrthwyneb. Ond yn erbyn yr holl resymmau hynny, y dylem osod athrawaeth a bywyd ein Iachawdur Christ: yr hwn gan ein caru ni pan oeddem elynion, a ddyscodd i ni garu ein gelynion; fe a gymerodd yn oddefgar lawer o ddifenwad ac a oddefodd yn ewyllysgar lawer o watwar, ffusto, ac angau creulon hefyd er ein mwyn ni.

Am hynny nid ydym ni aelodau iddo fe, oni chanlynwn ni ef. Fe oddefodd Christ, medd S. 1.Pet. 2.20,21. Petr, drosom ni gan adel i ni siampl i'w ganlyn ef. Hefyd mae'n rhaid i ni ystyriaid nad ydyw caru ein ceraint ddim amgen nag a wna y lladron, y godinebwyr, y lladdiaid, a phob rhai drygionus eraill: yn gymmaint a bod yr holl Iddewon, y Twrciaid, yr anghredadwy, ie yr holl anifeiliaid gwylltion yn caru y sawl a'u carant, y rhai y derby-

derbyniant eu bywyd neu gynnwysasau eraill ganthynt. Ond caru eu gelyn yw cynneddf brio-dol plant Duw, a discyblon a chanlynwyr Christ yn unig.

Er bod gwrthgas a llygredig annian dyn yn pwyso yn fynych yn rhy-drwm y drygioni a'r fyr-had a wnel ei elyn iddo, ac yn tybied mai baich rhy anrhaith ei oddef yw bod yn rhwym i garu y sawl a'u casant, ond fe fyddai eu baich hwy esmwyth ddigon, ped ystyriai bob dyn o'r ystlys arall pa niwed a wnaeth ef i'w elyn, a pha ddai-oni a dderbyniodd ef oddiwrth ei elyn. Ac os ni ni fedrwn gael cyflawn daledigaeth, nac wrth dder-byn daioni gan ein gelyn, nac wrth dalu drygioni iddo ailwaith: yno pwyswn yr holl ddrygioni a wnaethon ni yn erbyn yr holl-alluog Dduw, mor fynych ac mor doft y digiasom ef: am yr hynn os ni a ewyllysiwn gael gan Dduw faddauant, nid oes ini ymwared oni faddauwn y camweddau a wnaethpwyd yn ein herbyn ni, y rhai nid ydynt ond ychydig a bychain iawn wrth y camweddau a wnaethom ni yn erbyn Duw.

Ac os ystyriwn na haedda yr hwn a wnaeth i ni gamwedd gael maddauant gennym, ystyriwn ailwaith mai llai o lawer yr haeddem ni faddeu-ant ar law Duw.

Ac er na haedda ein gelyn faddeuant er ei fwyn ei hun, etto ni a ddylyem faddau iddo er cariad ar Dduw, gan ystyriaid pa sawl a pha faint o ddoni-au heb ein haeddiant a dderbyniasom ni gantho ef, a bod Christ yn haeddu arnom ninnau er ei fwyn ef faddau iddynt hwy eu camweddau a wnaethant yn ein herbyn ni. Ond ymma y cyfyd cwestiwn anghenrhaid ei atteb. Os ydyw cariad

yn gofyn bod inni dybied a dywedyd, a gwneuthur daioni i bob dyn, da a drwg: pa fodd y gwna llywodraethwyr gyfiawnder ar ddrwg-weithredwyr, a hynny trwy gariad? Pa fodd y gallant dasu dynion drwg i garchar, a dwyn eu da a'u bywyd oddiarnynt, yn ol cyfraithiau, os cariad nis goddef iddynt wneuthur felly?

I hyn y mae atteb eglur byr, Nad ydyw cosp a dial o honynt eu hunain yn ddrwg, os y dieniwed au cymmer hwy yn oddefgar. Ac i'r dyn drwg y maent yn dda ac yn angenrheidiol, ac fe a ellir mewn cariad, ac fe a ddylid trwy gariad eu gosod hwy arno.

Er mwyn egluro'r hyn beth, deallwch fod dwy swydd i gariad, y naill yn wrthwyneb i'r llall, ac etto pob un o'r ddwy yn angenrheidiol eu gwneuthur i ddau ryw o ddynnion.

Un o swyddau cariad yw diddanu gwyr daionus dieniwed, nid gan eu gorthrymmu hwy a cham-achwynion, ond eu dewrhau a'u cannol au cyffro a gobrwyon i wneuthur daioni ac i bara mewn daioni; gan eu amddiffyn hwy a'r cleddyf rhag eu gwrthwynebwyr. A swydd Escobion a bugeiliaid yw cannol gwyr da am y daioni y maent yn ei wneuthur, er mwyn iddynt bara mewn daioni, a cheryddu a chospi trwy air Duw gamweddau a beiau dynion beius drwg.

Oherwydd y swydd arall i gariad yw argyoeddi, ceryddu, a chospi pob drygioni, heb edrych ar berson neb: ac fe ddylid arfer hon yn erbyn pob dyn drwg, a drwgweithredwyr yn unic. A swydd cariad yw cyfradl y naill a'r llall, argyoeddi, ceryddu a chospi y rhai drwg, a chyffuro a gobrwyo y daionus dieniwed.

Mae S. Pawl yn manegi wrth scrifennu at y
Rhufeiniaid gan ddywedyd, fod y galluoedd go-
ruchaf gwedy eu hordeinio gan Dduw, nid i fod
yn ofnadwy i'r rhai a wnant dda, onid i'r drwg- Ruf.13.13.
weithredwyr, i dynnu y cleddyf i ddial ar y rhai
a wnant bechod. Ac mae S. Pawl yn erchi i Ti-
mothi geryddu pechod yn eofn ac yn ddifri trwy
air Duw. Fal y dylid gwneuthur y ddwy swydd
yn ddiwall, er ymladd yn erbyn teyrnas diafol, y
pregethwr â'r gair, a'r llywodraethwr â'r cleddyf. 1. Timot. 5.20.
Ac onis gwnant nid ydynt yn caru na Duw na
'r rhai y maent yn eu llywodraethu, os hwy ei-
siau cospi a oddefant ddigio Duw, neu ddifa eu
deiliaid.

O herwydd megis y mae pob tad naturiol yn
cospi ei fab pan fytho baius, ac onid ê ni char ef
mo hono, felly pob rheolwyr teyrnasoedd, gwle-
dydd, trefi a thai a ddylyent yn garedigol gospi y
rhai a bechont o fewn eu rheol hwy, a chysuro y
rhai a fyddont fyw yn ddienwed, os hwy a edry-
chant ar Dduw, neu ar eu swydd, neu a garant y
rhai y maent yn eu llywodraethu.

Ac fe ddlyid mewn amser cyfaddas, wneuthur
y fath gerydd a chosp yn erbyn y rhai a droseddât,
rhag o hir oedi i'r troseddwyr gwympo lwyr eu
pennau i bob rhyw ddrygioni: ac nid yn unic bod
yn ddrwg eu hunain, onid hefyd gwneuthur drwg
i lawer o ddynion eraill gan eu tynnu ar eu hol,
wrth roddi iddynt siamplau drwg i wneuthur pe-
chod ac anwiredd ar eu hol hwy. Megis y dichon
un lleidr yspeilio llawer, a gwneuthur llawer yn
lladron hefyd, ac un dyn cynhennus hudo llawer
ac anrheithio trefn eu gwlad yn hollol.

Ac mae cariad yn gofyn torri ymmaith o gorph

 y wlad

y wlad y saith ddynion drwg sydd gyfryw droseddwyr mawrion yn erbyn Duw a'r wlâd, rhag iddynt lygru dynnion honest da. Megis y torr y meddig da ymmaith aelod pwdr, a fytho gwedy methu, o gariad ar y corph i gyd, rhag i'r aelod hwnnw lygru yr aelodau nesaf atto.

Fal hyn y dangoswyd i'wch pa beth yw gwir Gristionogawl gariad perffaith, neu garedigrwydd, mor oleu ac na bytho rhaid i neb gymmeryd ei dwyllo. Yr hwn gariad pwy bynnag a'i cadwo, nid yn unic tuag at Dduw yr hwn a ddylei ei garu uwchlaw pob dim, ond tuag at ei gymydog hefyd, cystal câr a gelyn, fe a'i ceidw ef yn ddiammau oddiwrth holl lid Duw, à chyfiawn ddigofaint dyn. Dygwch am hynny y wers ferr hon gyda chwi yn dda, Y dlyid trwy wir Gristionogawl gariad garu Duw uwchlaw pob peth, a charu pob dyn, drwg a da, câr a gelyn, ac i bob un y dylyid gwneuthur daioni yn orau ac y gallom: i'r rhai ydynt ddaionus, o gariad i'w *eofnhau ai sirio hwy, am eu bod yn ddaionus, ac i'r rhai drwg, o gariad annog a cheisio cael eu cospi hwy a'u ceryddu: fal trwy hynny y geller naill ai eu hebrwng hwy i ddaioni, ai ar y lleiaf na ddigier Duw ac na waethyger y wlad drwyddynt.

*Hyfhau.

Ac os ni fal hyn a uniawnwn ein bywyd trwy gariad perffaith a charedigrwydd Christionogawl, yno mae Christ yn addo i ni, ac yn ein siccrhau ei fod ef yn ein caru ni, y cawn ni fod yn blant ei'n tad nefol, wedi ein derbyn eilwaith i'w ffafor ef, ac yn aelodau i Grist, ac yn ol y bywyd byr presennol marwol hwn, y cawn fyw gydag ef yn dragywydd, yn ei dragwyddol deyrnas nefol ef. Am hynny iddo fe gyda'r Tâd a'r Yspryd glan,

y bytho holl anrhydedd a gogoniant yn oes oesoedd. Amen.

## ¶Pregeth yn erbyn tyngu anudon.



Mae'r holl-alluog Dduw, er mwyn bod ei sancteiddiaf enw ef mewn anrhydedd a chael gan y bobl ei fawrhau ef, yn gorchymmyn na chymerai neb ei enw ef yn ofer yn ei enau, gan fygwth cosp ar y rhai a'i camarfero ef yn ddirmygus trwy dyngu anudon a chabledd.

An hyn fal y gwybydder ac y cadwer y gorchymmyn hyn yn well, fe a fanegir i'wch pa fodd y mae'n gyfraithlon i Gristionogon dyngu, a pha berigl sydd o dyngu'n ofer neu yn anudon.

Yn gyntaf pan fo barnwyr yn gofyn llw i'r bobl er mwyn manegi ac agoryd y gwirionedd, neu er gwneuthur cyfiawnder, mae'r cyfryw lw yn gyfraithlon.

Hefyd, pan fo gwyr yn gwneuthur addewidion ffyddlon, gan alw enw Duw yn dyst i gadw cyfammodau ac addewidion honest, statudau, cyfraithiau, defodau daionus, megis y gwna tywysogion Christionogawl yn eu cyfwndebau heddwch, er cadwedigaeth eu gwledydd, ac megis y gwna pob rhyw o ddynion addewidion ffyddlon mewn priodasau y naill i'r llall mewn honestrwydd a gwir gymdeithas: a phawb pan font yn tyngu cadw cyfraithiau cyffredinawl, ordeiniadau a defodau daionus, er cadw a chynnal trefn ymhlith dynion; pan dyngo deiliaid ar fod yn gywir ac yn ffyddlon i'w brenhinioedd a'u harglwyddi.

glwyddi. Pan fo barnwyr, llywodraeth-wyr a swyddogion yn tyngu gwneuthur eu swyddau yn gywir: a phan fytho gwr yn dywedyd gwir er gosod allan ogoniant Duw, ac er Iechydwriaeth i'r bobl, wrth bregethu'r efangyl yn gyhoeddus, neu wrth rhoddi yn ddirgel gyngor er iechyd eneidiau.

Mae'r holl fatheu hyn a'r lwaint a thyngu mewn pethau honest anghenrheidiol yn gyfraithlon. Ond pan fytho rhai yn tyngu o arfer wrth resymmu, wrth brynu, gwerthu, a phob ymddiddan beunyddol arall, megis y mae llawer yn dyngwyr mawr arferol, mae'r fath dyngu yn annuwiol, yn anghyfraithlon, ac yn waharddedig wrth orchymmyn Duw. O herwydd nid ydyw y fath dyngu ddim amgen nâ chymmeryd enw Duw yn ofer.

Ac ymma ni a ddylyem weled na waharddwyd llw cyfraithlon, eithr ei orchymmyn ef gan yr holl-alluog Dduw. O herwydd mae gennym siampl ein Iachawdwr Christ, a gwyr duwiol eraill yn yr Scrythur sanctaidd, y rhai eu hunain a dyngasont, ac a ofynasont lwau gan rhai eraill hefyd. A gorchymyn yr arglwydd yw, Ti a

Deut.10.20. ofni dy Arglwyd Dduw ac a dyngi i'w enw ef.

Ac mae'r holl-alluog Dduw yn dywedyd trwy

Psal.63.11. ei brophwyd Dafydd, fe a ganmolir pawb a dyngo iddo ef. Fal hyn y tyngodd ein Iachawdwr

Ioan.3.11. Christ yn fynych gan ddywedyd, Yn wir, yn wir.

2.Cor.1,23. Ac mae S. Pawl fal hyn yn tyngu, Yr ydwyf yn galw Duw yn dyst. A phan ydoedd Abraham yn heneiddio fe a ofynnod gan ei was lw ar fynnu

Gene.24.3. gwraig i'w fab Isaac yr hon fyddai o'i genedl ef ei hun: ac fe a dyngodd y gwas yn ebrwydd ar gyflawni ewyllys ei feistr. A phan geisiwyd gan Abraham,

braham, fe a dyngodd wrth Abimelec brenin Ge- Genes.21.23.
rar, na wnai fe eniwed iddo nac i'w eppil. Ac felly y tyngodd Abimelec i Abraham hefyd. Ac fe dyngodd Dafydd y parhae fe yn gyfaill ffyddlon i Jonathan, ac a dyngodd Jonathan a'r fod yn gydymmaith ffyddlon i Ddafydd hefyd.

Fe a orchymynnod Duw os gwystlid un peth i neb, neu adel peth ynghadw, os y peth hwnnw a ledrattid neu a gollid, y dlyid tyngu y ceidwad hwnnw ger bron barnwyr, na ledrattasai fe mo hono, ac na wnelsai fe dwyll, gan beri i neb ei ddwyn ef ymmaith, trwy ei gydundeb neu ei gydnabyddiaeth ef. Ac mae S. Pawl yn dywedyd, Heb.6.16.
ymmhob ymryson rhwng dwy blaid, lle bytho un yn dywedyd ie, ar llall nag êf, fal na ellir gwybod y gwirionedd, llw a roddo barnwr a ddylei ddiweddu y fath ymryson. Ac hefyd Duw a ddywaid trwy y prophwyd Jeremi, Ti a dyngi byw yw yr Ier.4.2.
Arglwydd, mewn gwirionedd, mewn barn, ac mewn cyfiawnder.

Fal pwy bynnac a dyngo pan fytho 'r barnwr yn gofyn iddo lw, bydded a chydwybod sicer fod y tri pheth hyn yn ei lw ef, ac nid rhaid iddo ofni Anudon-
byth *anudon. rwydd.

Yn gyntaf rhaid i'r hwn a dyngo, dyngu mewn gwirionedd, hynny yw gan ddodi heibio bob ffafwr a phob ewyllys nerthu un o'r ddwy blaid, rhaid iddo osod y gwirionedd yn unic ymmlaen ei lygaid, ac o gariad ar hwnnw rhaid iddo ddywedyd y peth a wyr ef ei fod yn wir, ac heb ddywedyd dim ymhellach.

Yn ail, mae 'n rhaid i'r neb a gymero llw, ei wneuthur mewn barn, nid yn yscafn heb synnaid beth a wnelo, onid yn ystyriol gan ystyriaid pa

beth:

beth yw llw. Yn drydydd, mae'n rhaid i'r neb a dyngo dyngu mewn cyfiawnder, hynny yw er mwyn y zêl a'r cariad y mae ef yn ei ddwyn i ymddiffyn y dieniwed, i faentaeno'r gwir ac i gyfiawnder yr achos, gan roi heibio bob ennill a cholled, pob cariad a ffafwr, er cyfeillach neu garennydd i'r un o'r ddwy blaid.

Fal hyn y mae llw os ydyw ynddo y tri pheth hyn, yn rhan o ogoniant Duw, yr hon yr ydym ni rhwymedig wrth orchymmyn Duw i'w rhoddi iddo. O herwydd mae fe'n gorchymmyn ini dyngu yn unic i'w enw ef. Nid am ei fod ef yn chwenychu ini dyngu, onid megis y gorchymynnodd ef i'r Iddewon offrwm aberthau iddo, nid am ei fod yn hoffi offrymmau, onid i gadw yr Iddewō rhag delw-addoliad. (Esai 42.8.) O blegid wrth orchymmyn ini (Psal.115.1.) dyngu i'w enw sanctaidd ef, nid ydyw yn ein dyscu fod yn hoff gantho lw, onid trwy hynny mae fe'n gwahardd rhoddi ei ogoniant ef i un creadur yn y nef yn y ddaear neu'r dwfr. Hyd hyn y clywsoch i Dduw orchymmyn llwon cyfraithlon, i'r patriarchau, y prophwydi, Christ ei hun, a'i Apostol Pawl arfer llw. Ac am hyn y dlyei Gristionogion dybied fod llwau cyfraithlon yn dduwiol, ac yn anghenrheidiol. O herwydd trwy addewidion a chyfammodau gwedy eu cadarnhau trwy lw, mae tywysogion a gwledydd yn cael eu cadarnhau mewn llonyddwch a heddwch. Trwy addewidion sanctaidd a galw enw Duw yn dyst, y'n gwnair ni yn aelodau bywiol i'n Iachawdwr Christ, pan addefom ei grefydd wrth dderbyn sacrament y bedydd. Trwy y cyffelyb addewid sanctaidd y mae dirgelwch priodas yn rhwymo gŵr a gwraig mewn cariad an-nherfynol, fal nad ydynt

ynt

ynt yn chwennych yscar er vn gwrthwyneb ac a ddichon ar ol hynny gwympo.

Trwy lwau y rhai a dwng brenhinoedd, tywysogion, barnwyr a llywodraethwyr, yr ydys yn cadw cyfraithiau cyffredinawl heb halogi, yr ydys yn gwneuthur cyfiawnder i bawb yn ddiwahaniaeth, yr ydys yn gwared y dieniwed, y plant ymddifaid, y gwragedd gweddwon, a'r tlodion, oddiwrth lofryddwyr, gorthrymwyr a lladron, rhag iddynt gael cam neu eniwed.

Trwy lwau cyfraithlon y cedwir yn wastadol mewn trefn dda gyfeillach a chariad rhwng y naill a'r llall, ymhob gwlad a dinas a thref a phentref.

Trwy lw cyfraithlon y chwilir allan ddrwg weithredwyr, y cospir y camweddus, ac yr adferir y rhai a oddefant gam i'w cyfiawnder ailwaith. Am hynny ni ddichon llw cyfraithlon fod yn ddrwg, yr hwn sydd yn dwyn gydag ef cymmaint o gymmwynasau daionus angenrheidiol.

Am hyn, lle mae Christ mor ddifrif yn gwahardd tyngu, ni ddlyid deall dim o hano fal pe byddai yn gwahardd pob rhyw lw, ond mae fe'n gwahardd pob ofer dyngu i Dduw, neu greaduriaid, a phob tyngu anudon, fal y mae yr arfer o dyngu yn gyffredinol wrth brynu a gwerthu, ac yn ein beunyddol ymddiddan, er dangos y dylaid cymmeryd gair pob Christion yn y fath bethau cystadl a phe byddai gwedy cadarnhau ei ymddiddan â llw.

O herwydd medd S. Jerom, fe ddlyei air pob Christion fod mor wir ac y gellid i gymeryd ef megis llw. A Chrysostom a destiolaetha yr vn peth, ac a ddywaid, Nid gweddus ini dyngu, o herwydd

pa raid tyngu gan nad yw gyfraithlon i un o hanom ddywedyd celwydd wrth y llall?

Fallai y dywedai un, yr ydys yn fynghymmell ac yn fyngyrru fi i dyngu, o herwydd oni wnaf fi felly, ni chred y rhai a ymddiddanant â mi, a'r rhai a brynant ac a werthant gyda mi ddim honof fi. I hyn y mae Chrysostom yn atteb fod yr hwn fydd yn dywedyd felly, yn dangos ei fod ei hun yn ddŷn anghyfiawn twyllodrus. O herwydd pe byddai fe cyfiawn, a'i airiau a'i weithredoedd yn cyduno, ni byddai raid iddo dyngu byth. O herwydd yr hwn a arfero gwirionedd a chyfiawnder yn ei ymddiddan a'i fargennon, nid rhaid iddo trwy: ofer dyngu wneuthur i'w gymydogion i gredu, ac ni wan-ymddired ei gymmydog ddim ei eiriau ef. Ac os bydd gwedy myned heb goel arno mor llwyr ac na choelia neb o hano heb dyngu, gwybydded yntef ei fod ef gwedy myned yn llwyr heb goel arno.

O herwydd gwir yw, fal yr scrifenna Theophylactus, nad ymddiredir llai i neb nag i'r un arfero mynych dyngu. Ac mae 'r holl-alluog Dduw yn dywedyd trwy 'r gŵr call, y bydd y gŵr a dyngo llawer yn llawn o bechod, ac nad ymâd gwialen Duw oddi wrth ben ei dŷ ef.

Ond fe ddywaid rhai er escuso ei haml lwau yn eu beunyddol ymadroddion, pa ham na thyngaf fi a minnau yn tyngu 'r gwir? Etto er eu bod yn tyngu 'r gwir, nid ydynt hwy heb fai am eu bod yn tyngu yn fynych, yn ddiystyr, am bethau diffrwyth, heb fod yn rhaid, a phan na ddlyent dyngu, ond y maent yn cymmeryd fancteiddiaf enw Duw yn ofer. Annuwiolach ac anghallach o lawer ydyw y rhai a gamarferant fancteiddiaf enw

Duw.

Duw, nid yn unic wrth brynu a gwerthu pethau gwael diffrwyth beunydd ymmhob lle, onid hefyd wrth fwyta, yfed, chwarae, chwedleua, ac ymddadleu; megis pe na allid gwneuthur un o'r pethau hyn onis gwneid trwy arfer a chamarfer enw Duw, trwy son am dano yn ofer, ac yn amharchus, ie trwy dyngu a thyngu anudon iddo, er torri ei orchymmyn ef a thynnu arnom ei ddigofaint ef.

## ¶ Yr ail rhan o'r bregeth am dyngu.



FE ddangoswyd i'wch yn y rhan gyntaf o'r bregeth hon yn erbyn tyngu ac * anudon, pa berigl mawr y sydd o gymmeryd enw Duw yn ofer: ac nad yw pob llw yn anghyfraithlon, nac yn erbyn gorchymmyn Duw: a bod tri pheth yn angenraid ymmhob llw cyfraithlon.

* Anudonrwydd.

Yn gyntaf, tyngu o honom er maenteinio 'r gwir.

Yn ail tyngu honom mewn barn, nid yn ddibris, ac yn ddiofal.

Yn drydydd er cariad ar gyfiawnder.

Chwi a glywsoch pa lesad a ddaw o lwau cyfraithlon, a pha enbeidrwydd sydd o lwau anghyfraithlon: bellach ynghylch chwaneg o'r un peth, deallwch, fod y rhai a wnant addewidion cyfraithlon o bethau da honest ac heb eu cyflawni, yn cymmeryd enw Duw yn ofer, cystal â'r rhai a wnant addewidion o bethau drwg anghyfraithlon, ac a'u cyflawnant.

Yn

Yr ydym yn darllen yn yr Scrythur lân am ddau gosp cyhoeddus ar y rhai ni ofalant gadw addewidion duwiol, ond a'u torrant hwy trwy wybod ac yn ewyllysgar, er eu bod hwy yn rhwymedig trwy lw i'w cadw hwy.

Iosua. 9.3. Yn gyntaf, fe wnaeth Iosua a phobl Israel gyfundeb ac a addewid ffyddlon o gariad a chyfeillach tragwyddol â'r Gibioniaid, etto yn ol hynny yn amser Sawl felldigedig fe laddwyd llawer o'r Gibioniaid ymma, yn erbyn yr addewid ffyddlon honno. Am hynny y digiodd Duw mor greulon fal y danfonodd ef newyn cyffredinol ar yr holl wlad, yr hwn a barhaodd dros dair blynedd. Ac ni thynne Duw ei gosp nes iddo ddial y camwedd hynny trwy farwolaeth saith meibion neu geraint nesaf Sawl.

A phan wnaeth Zedechias brenin Ierusalem addewid o ffyddlondeb i frenin Chaldea. Pan wrthrysfelodd Zedechias yn erbyn brenin Nabucadnezar yn wrthwyneb i'w lw a'i ffydd-dod,
2. Bren.24.17. A'r.25.1. trwy fod Duw yn goddef fe a orchfygodd y brenin anghredadwy hwnnw wlad Iudea, fe a warchaodd y ddinas Ierusalem, ac a yrrodd frenin Zedechias i gilio, ac wrth gilio a'i daliodd ef yn garcharwr, a laddodd ei feibion ef ymmlaen ei wyneb, ac a dynnodd ei ddau lygad ef, a'i rhwymodd ef â chadwynau, ac mewn modd gresynol a'i dug ef yn garcharwr i Babilon.

Fal hyn y dengys Duw yn eglur mor gas gantho y rhai a dorrant eu haddewidion honest a gwplmer trwy lw, ac a wnaet yn ei enw ef. Ac o'r rhai a wnant trwy lw addewidiou drwg ac a'u cyflawnant, mae ini siamplau yn yr Scrythur lân am Herod, am yr Iddewon melldigedig, ac am

Jephthah. Herod a addawodd trwy lw i'r llances a ddawnsiodd ger ei fron ef, y rhoddai iddi beth bynnac a ofynnai: a hithe wedi ei haddyscu gan ei mam a ofynnodd ben S. Joan fedyddiwr. Herod fal y daroedd iddo wneuthur llw drwg, a gyflawnodd ei lw yn waeth, ac yn greulon a laddodd y prophwyd sanctaidd. Math.14.7.

Felly y gwnaeth yr Iddewon cenfigennus lw, gan eu rhegi eu hunain os hwy a fwytaent neu a yfent hyd oni laddent Pawl. Act.23.12.

Ac fe wnaeth Jephthah yn ol i Dduw roddi iddo orbwchafiaeth ar feibion Ammon, adduned ynfyd, ar offrymmu i Dduw yn aberth y peth cyntaf a gyhwrddai ag ef o'i dŷ ei hun, yn ôl ei ddyfod adref. Trwy rym yr hwn lw ynfyd byrbwyll y lladdodd ef yn ansynhwyrol ac yn ynfyd ei unic ferch ei hun, yr hon a ddaethai o'i dy ef allan mewn llawenydd a gorfoledd i'w groesewi ef adref. Fal hyn y cyflawnodd ef yn drachreulon yr adduned a wnaethai ef yn ynfyd, yn erbyn tragwyddol ewyllys Duw a chyfraith natur, gan droseddu yn erbyn Duw yn ddau-ddyblyg. Barn.11.30, 31,35,39.

An hynny pwy bynnac a wnelo addewid trwy lw, synned fod y peth y mae yn ei addo yn dda, yn hônest ac heb fod yn erbyn gorchymmyn Duw, ac y gall ef ei hun ei gwblhau ef yn gyflawn. A'r fath addewidion da mae'n rhaid i bawb eu cadw byth yn sicer.

Ond os gwna neb lw un amser, naill ai o anwybod ai o genfigen ar wneuthur peth a fyddo yn erbyn cyfraith yr holl-alluog Dduw, neu'r peth ni all ef ei gyflawni ei hun, gwybydded fod y llw hwnnw yn llw annuwiol anghyfraithlon.

Ac bellach i ddywedyd peth am dyngu anudon

er mwyn i chwi gael gwybod faint a blined bat yw anudon ewyllysgar yn erbyn Duw, mi a ddangosaf i'wch pa beth yw cymmeryd llw ar lyfr ger bron barnwyr.

Yn gyntaf, pan font yn tyngu gan ddodi eu dwylaw ar lyfr yr efangyl, i ymofyn ac i bresentio yn gywir y pethau a ofynnir iddynt, ac na rwystrer hwy i ddywedyd gwirionedd, ac i wneuthur iniawnder, nac er ffafor nac er cariad, nac er ofn nac er cenfigen at un dyn mwy nâ'i gilydd, fal yr helpo Duw hwy a'r pethau a gynhwyser yn y llyfr hwnnw: rhaid iddynt ystyriaid y cynhwysir yn y llyfr hwnnw dragwyddol wirionedd Duw, ei sancteiddiaf a'i anhefynol air ef, trwy 'r hwn y derbyniwn faddauant o'n pechodau, ac y'n gwneir yn etifeddion teyrnas nef, i fyw gydag angylion a saint Duw dros fyth mewn didrangc lawenydd a gorfoledd.

Yn llyfr yr efengyl hefyd y cynhwysir toft fygythau Duw yn erbyn pechaduriaid ystyfnig, y rhai ni wellant eu bywyd, ac ni chredant wirionedd sanctaidd air Duw, a'r tragwyddol boenau a baratowyd yn uffern i ddelw-addolwyr, rhagrithwyr, celwyddog ac oferdyngwyr, anudonwyr, gau-dystion, condemnwyr y difeius, dieniwed, ac i'r rhai o ffafwyr a guddiant faiau drwg-weithredwyr rhag iddynt gael eu cospi.

Megis pwy bynnac yn ewyllysgar a dyngo anudon ar sanctaidd efengyl Ghrist, maent hwy yn hollol yn ymwrthod â thrugaredd Duw, ei ddaioni ef, a'i wirionedd, haeddiant ganedigaeth, bywyd, dioddeifaint, marwolaeth, ailgyfodiad, ac escyniad ein Iachawdwr Christ: maent yn gwrthod maddauant o'n pechodau a addawyd i

bob

bob pechadur etifarus, llawenydd nef a thragwyddol gyfeillach saint ac angylion. Yr hyn ddoniau a diddanwch a addawyd yn yr efengyl i wir Gristianogion, ac wrth dyngu felly anudon ar yr efengyl, maent yn ymroi i wasanaethu diawl, meistr pob celwydd, ffalster, twyll, ac * anudon, gan annog mawr lid a melldith Dduw yn eu herbyn yn y byd hwn,* erchyll ddigofaint a barn ein Iachawdwr Christ a'r ddydd y farn ddiwethaf, pan farno ef yn gyfiawn y byw a'r meirw, yn ol eu gweithredoedd.

Thyngu anvdon.

Echrydus.

O herwydd pwy bynnac a ymwrthodo â'r gwirionedd er cariad neu genfigen i un dyn, neu er elw ac ennill iddo ei hun, mae fe'n ymwrthod â Christ, ac megis Judas yn ei fradychu ef. Ac er bod yn awr yn ddirgel geudod y fath anudonwyr, etto fe a gyhoeddir yn y dydd diwethaf, pan gyhoedder dirgelion calonnau pawb i'r holl fyd. Ac yno yr ymddengys y gwirionedd ac a'u cyhudda hwynt, a'u cydwybod eu hun, a holl gwmpeini nef yn dwyn testiolaeth yn eu herbyn hwy. Ac fe a'u barna Christ y barnwr cyfion hwy yn gyfiawn y pryd hynny i ddidranc gywilydd, fal y mae'r holl-alluog Dduw drwy enau y Prophwyd Malachi yn bygwth cospi y pechod hwn o dyngu anudon yn dost, gan ddywedyd wrth yr Iddewon, mi a ddauaf i'r farn ac a fyddaf dyst ebrwydd, a barnwr llym, yn erbyn dewinion, godinebwyr, ac anudonwyr.

Mal.3.5.

Yr hwn beth a ddangosodd Duw mewn gweledigaeth i'r Prophwyd Zachari, pan welodd efe yr hedfanog lyfr, yr hwn oedd ugain cufydd o hŷd, a deg o led, gan ddywedyd wrtho, dymma'r felldith a aiff allan ar wyneb y ddayar am anghywirdeb,

Zach.5.3.

weirdeb, gau lwaint, a thyngu anudon. A'r fennllith hon a aiff i mewn i dy y twyllwr ac i dŷ'r anudonwr, ac a erys yngheuol ei dŷ ef, ac a'i difa ef, a choed a cherrig ei dŷ ef. Fal hyn y clywch gymmaint y mae Duw yn casau *anudon, a pha gosp a ddarparodd Duw i gamdyngwyr, ac anudonwyr.

* Anudōnrwydd.

Fal hyn y clywsoch pa fodd, ac ar ba achosion y mae'n gyfraithlon i Gristionogion dyngu: chwi a glywsoch pa gynheddfau a champau a ddylei fod mewn llw cyfraithlon, ac fel y mae llyau cyfraithlon yn dduwiol ac yn anghenrhaid eu cadw.

Chwi a glywsoch nad cyfraithlon tyngu yn ofer, hynny yw nid mewn un modd onid ar yr achosion, ac yn y modd y manegwyd i'wch.

Yn ddiwethaf chwi a glywsoch mor ddamnedig yw tyngu anudon, neu gadw llw a wneler mewn byrbwyll neu yn anghyfraithlon. Am hynny galwn am rad Duw yn ddifrif fal y gallom osod heibio bob ofer dyngu, a thyngu anudon, ac arfer yn unic lwau cyfraithlon duwiol, a chadw y rhai hynny yn ddihocced yn ol bodd ac ewyllys Duw: i'r hwn gyda'r Mâb a'r Yspryd glân y byddo anrhydedd a gogoniant. Amen.

¶ Pregeth

# ¶ Pregeth yn dangos mor enbaid yw cwympo oddiwrth Dduw.



Mae 'r gwr call yn dywedyd mai balchedd oedd ddechreuad ein mynediad ni oddiwrth Dduw. O herwydd trwy falchedd y troed calon dyn oddiwrth Dduw ei wneuthurwr. Balchedd medd ef yw dechreuad pob pechod: fe fydd yr hwn sydd a hi gantho yn llawn o regau, ac yn y diwedd hi a'i * difetha ef. Ac megis trwy falchedd a phechod yr ydym ni yn myned oddiwrth Dduw, felly y mae Duw a phob daioni yn myned oddiwrthym ninnau. Eccl.10.13, 14. * Difa.

Ac mae 'r prophwyd Osee yn dangos yn oleu ac yn eglur eu bod hwy yn trafaelu yn ofer, y rhai sy yn myned oddiwrth Dduw trwy fywyd drwg, ac etto er hynny a geisiant ei lonyddu a'i fodloni ef ag offrymmau. O herwydd er eu holl offrymmau hwy, mae ef yn myned fyth oddiwrthynt. Yn gymmaint medd y prophwyd, ac nad ydynt yn gosod eu meddiliau i droi at Dduw, er eu bod hwy yn ceisio 'r Arglwydd â * lloceidiau o ddefaid, a gyrfae o wartheg, etto ni chyhwrddant ddim ag ef, o blegid fe aeth ymmaith oddiwrthynt. * Diadellau. praiddiau.

Ond am ein troad ni at Dduw neu oddiwrth Dduw, deallwch y gellir gwneuthur hynny mewn llawer o ffyrdd. Weithiau yn uniawn trwy ddelwaddoliad, megis y gwnaeth Israel a Judah y pryd hynny. Weithiau yr aiff dynion oddiwrth Dduw o eisiau ffydd, ac o achos gwan-ymddired yn Nuw: am y rhai y dywaid Esai yn y modd ymma, Gwae y rhai a ânt i wared i'r Aipht

Esai.31.1. i geisio nerth, gan ymddiried mewn cephylau a
gobeithio mewn rhifedi cerbydau, ac mewn nerth
a gallu marchogion : a nid oes ganthynt obaith
yn sanctaidd Dduw yr Israel, ac ni cheisiant yr
Arglwydd. Ond pa beth a ganlyn? fe a ād yr Ar-
glwydd ei law i gwympo arnynt, a'r cynorth-
wywr a'r hwn a gynorthwyir a ddinistrir yng-
hyd.

Ver.3. Weithiau yr â dynnion oddiwrth Dduw trwy
escaeluso gorchymmyn Duw tuag at eu cymy-
dogion, y rhai a orchymynant iddynt ddangos ca-
riad o'u calonnau at bob dyn, fal y dywaid Zacha-
Zach.7.9,10. ri wrth y bobl o blaid Duw. Rhowch inion farn,
dangoswch drugaredd a thosturi bob un i'w
frawd, na feddyliwch dwyll i'r weddw, i'r plant
ymddifaid, i'r dieithriaid neu i'r tlodion : na luni-
ed neb ddrygioni yn ei galon yn erbyn ei frawd.

Ond ni phrisasont ar y pethau hyn, hwy a droe-
sant eu calonnau ac aethôt ymmaith, hwy a gae-
sant eu clustiau fel na clywent, hwy a galedasant
eu calonnau megis carreg adamant, fal na wran-
dawent air yr Arglwydd yr hwn trwy ei Yspryd
sanctaidd a ddanfonasai ef gyda'r hên brophwy-
Iere.9.16. di: am hyn y dangosodd yr Arglwydd ei fawr ddi-
gofaint arnynt hwyntau. Fe ddaeth, medd y pro-
phwyd Ieremi, fal y dywedais wrthynt, fal na
wrandawsant hwy, felly pan weddiasant hwy ni
warandawyd hwyntau: ond hwy a wascarwyd
i'r holl ddinasoedd, y rhai nid adwaenent, gwn-
naethpwyd eu tir hwy yn anialwch.

Ar ychydig airiau, cymmifer ac na allant aros
gair Duw, ond a ddilynant rysyg ac ystyfnigrw-
ydd eu calonnau eu hunain, a ânt yn eu hol ac
Ierem.7. nid yn eu blaen: (fal y dywaid Ieremi) maent yn
myned

myned ac yn troi ynimaith oddiwrth Dduw. Ac fe ddywaid Origen, mai hwnnw sydd yn troi at Dduw yr hwn a'i feddwl, a'i astudrwydd, a'i weithredoedd â bwriad ac â gofal a'i rhoddo eu ei hun i air Duw, ac a feddylio am ei gyfraith ef ddydd a nos: a'i rhoddo ei hun yn hollol i Dduw, ac a ymarfero yn ei ddeddfau ai orchymmynion ef. Ac o'r rhan arall fe ddywaid, Pwy bynnag a ymarfero a chwedleu ofer, pan draether gair Duw, mae hwnnw yn troi oddiwrth Dduw. Pwy bynnag pan darllenir gair Duw sydd yn gofalu yn ei feddwl am bethau bydol, am arian, neu am ennill, fe a droed hwnnw oddiwrth Dduw yn gwbl. Pwy bynnag a rwyder a gofalon am feddiannau, a lenwer a thrachwant cyfoeth: pwy bynnag a fyfyrio am ogoniant ac anrhydedd y byd hwn, hwnnw sy wedi troi oddiwrth Dduw.

Megis, yn ei dyb ef, pwy bynnac nid yw a'i feddwl yn unig ar y peth y mae Duw yn ei orchymmyn, ac yn ei ddangos, y sawl ni wrandawo ar hynny, nas braicheidio hynny, ac nis printio yn ei galon, o lwyr fwriad ar drefnu ei fywyd yn ol hynny, fe a drodd hwnnw yn llwyr oddiwrth Dduw, er ei fod yn gwneuthur pethau eraill o'i ddefosiwn a'i feddwl ei hun, y rhai yn ei olwg ef sydd well, ac yn dwyn i Dduw fwy o anrhydedd.

Mae'r sanctaidd Scrythur yn dangos ini fod hyn yn wir wrth siampl brenhin Sawl, yr hwn pan ddaroedd i Dduw trwy Samuel orchymmyn iddo, ladd yr holl Amaleciaid a'u difetha'n gwbl, a'u da, a'u hanifeiliaid, etto o ran trugaredd, ac megis yr ydoedd efe yn tybied, o ran defosiwn at yr Arglwydd Dduw, fe a gadwodd y brenin Agag, a holl oreuon eu hanifeiliaid hwy i 1.Sam.15.1.

 wneu-

wneuthur o honynt aberth i'r Arglwydd Dduw.
Am yr hwn beth fe ddigiodd Duw yn greulon
ac a ddywad wrth y prophwyd Samuel, Yr y-
dwyf yn edifaru i mi wneuthur Sawl yn frenin,
o herwydd fe a'm gwrthododd i ac ni chanlynodd
fyngairiau. Ac fe a orchymynnodd i Samuel ddan-
gos hynny iddo: a phan ofynnodd Samuel iddo
paham yn erbyn gair yr Arglwydd y cadwasai fe
yr anifeiliaid, fe escusodd y peth, o ran o herwydd
ofn, gan ddywedyd na feiddiai wneuthur amgen,
o blegid y bobl a fynnai wneuthur felly: ac mewn
rhan fe a feddyliodd y byddai Dduw bodlon am
ei bod hwy yn anifeiliaid teg ac yntef yn eu cadw
hwy o feddwl a bwriad da i anrhydeddu Duw
â'r aberthau a wnaid o honynt.

Ond Samuel, gan geryddu y fath fwriadau a
defosionau er maint y tybyger eu bod yn anrhy-
deddu Duw, oni chytunant â'i air ef, trwy'r hwn
yn unig y gallwn wybod ei ewyllys ef, fe a ddy-
V. 22. waid fal hyn, A fynnai Dduw offrymmau ac ab-
erthau, ai ynte ufydd-dod i'w air? ufydd-dod sydd
well nag aberth, a gwrando arno sydd well na
brasder hyrddod: ie mae gwrthwynebu ei lafe-
rydd ef megis pechod dewiniaeth, a bod heb gytu-
no â'i air ef yn debyg i gas ddelwaddoliad. Ac yn
awr yn gymmaint ac iti daflu ymmaith air yr Ar-
glwydd, y'th daflodd yntef dithau ymmaith fal
na byddych frenin.

Trwy'r holl siamplau hyn o'r Scrythur lân y
gallwn weled, os gadwn ni Dduw, y gad yntef
ninnau. Ac fe ddichon dyn yn hawdd ystyriaid wrth
fygythiau Duw pa flinderau a ganlynant yn ddi-
ogeladigon ar ol hynny.

Ac er nad ystyrio ef yr holl flinderau hyn hyd yr

eithaf, y rhai sydd gymmaint ac nas gall vn dyn eu hystyriaid hwy yn gwbl ddigon: etto fe ddeall yn hawdd gymmaint o honynt ac a bair iddo ofni a chrynu ac echrydio wrth eu cofio hwy, oni bydd ei galon ef yn galettach na'r garreg Adamant.

Yn gyntaf yr ydys yn dangos digofaint Duw tuag attom ni yn yr Scrythur lân wrth y ddau beth hyn, wrth ddangos ei wedd ef a'i wyneb yn ofnadwy arnom, ac wrth droi neu guddio ei wyneb oddiwrthym.

Wrth ddangos ei wyneb yn ofnadwy yr arwyddocair ei ddirfawr lid ef.

Wrth droi neu guddio ei wyneb, yr arwyddocair yn fynych ei fod ef yn hollol yn ein gwrthod ni ac yn ein rhoi ni i fynydd.

Yr ymadroddion hyn a ddywedir wrth gyffelybiaeth cynheddfau dynnion. O herwydd mae dynnion fynychaf yn dwyn gwedd ddaionus siriol garedig tuag at y rhai y maent yn eu caru, megis wrth y wedd neu'r wyneb yr ymddengys ond odid pa ewyllys a meddwl a ddwg ef at eraill.

Wrth hynny pan yw Duw yn dangos ei wedd yn ofnadwy tuag attom, hynny yw pan fytho'n danfon ei ofnus blaau, cleddyf, newyn neu *gowyn arnom, mae'n eglur ei fod ef gwedy digio 'n greulon wrthym. Ond pan fytho ef yn tynnu oddiwrthym ei air, iawn athrawaeth Christ, ei rasol nerth a'i gynhorthwy (yr hwn a gydsylltir yn wastad â'i air ef) ac yn ein gadel ni i'n synhwyrau a'n ewyllys a'n gallu ein hunain, mae fe y pryd hynny yn dangos ei fod yn dechrau ein gwrthod ni.

*Nodau.

Cans lle dangosodd Duw i bawb a wir gredant ei efengyl ef wyneb ei drugaredd yn Iesu Grist, yr

hwn

hwn sydd felly yn goleuo eu calonnau fal (os edrychant arno megis y dylent) y mae fe yn ei croi hwy yn rhich ei ddelw ei hun, yn eu gwneuthur yn gyfrannogion o'r goleuni nefol, ac o'i Yspryd glân, ac yn eu cyd-ffurfio hwy ag ef ei hun ymmhob daioni angenrhaid i blant Duw: felly os hwy ar ol hynny a esceulusant hynny, os byddant anniolchgar iddo, oni threfnant eu bywyd yn ol ei siampl a'i athrawaeth ef, ac i osod allan ei ogoniant ef, fe a dyn ymmaith oddiwrthynt ei deyrnas, ei sanctaidd air, trwy yr hwn y dylei deyrnasu ynddynt, am nad ydynt yn dwyn y ffrwyth y mae fe yn disgwyl am dano. Etto mae fe mor drugarog ac mor oddefgar ac nad ydyw yn dangos ei fawrlid arnom yn ddisymmwth.

Ond pan dechreuom ni laesu oddiwrth ei air ef, heb gredu iddo, neu heb ei ddangos yn ein bywyd, yn gyntaf mae fe 'n danfon ei genhadon, gwir bregethwyr ei sanctaidd air, i'n rhybyddio ac i ddangos ini ein dlyed: megis y mae efe o'i ran ef o'i fawr drugaredd tuag attom, gwedi rhoi ei unic fab i oddef angau er ein gwared ni o angau, trwy ei angau ef, a'n hadferu i fywyd tragwyddol, i aros gydag ef yn dragywydd ac i fod yn gyfrannogion ac yn etifeddion gydag ef o'i ogoniant tragwyddol a'i deyrnas nef. Felly ailwaith y dlyem ninnau o'n rhan ni rodio mewn duwiol fywyd, fal y gweddai i'w blant ef.

Ac os hyn ni wasanaetha, os ni fyth a barhawn yn anufydd i'w air ef a'i ewyllys, heb ei adnabod ef, na'i garu, na'i ofni, na dodi ein cwbl ymddiried a'n gobaith ynddo: ac o'r ystlys arall os ni a ymddygwn yn angharedigol tuag at ein cymydogion trwy ddirmyg, cenfigen, malais, neu

lofry-

lofrydddiaeth, yspail, godddineb, glothineb, twyll, celwydd, tyngu, a'r fath weithredoedd câs, ac annuwiol ymddygiad: yno mae fe yn ein bygwth a bygylau creulon gan dyngu yn ei lid na ddawe y rhai a wnaent y fath weithredoedd byth i'w orphwysfa ef, yr hon yw teyrnas nef. Marc. 1.15.

## ¶ Yr ail rhan o'r bregeth am gwympo oddiwrth Dduw.



CHwi a glywsoch yn y rhan gyntaf o'r bregeth hon pa sawl ffordd y cwymp dynion oddiwrth Dduw. Rhai trwy ddelw-addoliad, rhai o eisiau ffydd, rhai wrth esceuluso eu cymydogion, rhai o eisiau gwrando gair Duw, rhai wrth ymhoffi mewn oferedd pethau bydol.

Chwi a ddyscasoch hefyd pa flinder sydd i'r dyn sydd wedi myned oddiwrth Dduw: a pha fodd y mae Duw o'i aneirif ddaioni ar y cyntaf yn arfer trwy ei bregeth wyr roddi rhybyddion mwynion i alw dyn ailwaith o'r blinderau ymma: ac y gosod ef ar ol hynny fygythau creulon.

Yn awr oni wasanaetha na'r rhybydd mwyn, na'r fygythfa greulon hynny: yno y dengys Duw ei greulon wedd arnom, ac a * arllwys ar ein pennau anrhaith blagau, ac yn ol hynny fe a dynn oddiwrthym ei nerth a'i gynhorthwy, trwy'r hyn yr ymddiffynnai ni oddiwrth bob rhyw flinder. Fal y dysc yr efangylol Brophwyd Esai ni, yn gytun â chyffelybiaeth Christ, gan ddywedyd, ddarfod i Dduw wneuthur gwinllan deg i'w anwyl blant, a'i chau, a'i * muria hi, o bobparth, iddo blannu. Dywallt. Esai. 5.1. &c. Gwalo.

Math.20.33. blannu ynddi ddewisol winwydd, a gwneuthur twr a gwinwasc yn ei chanol hi. A phan edrychodd ef am rawn-win, hi a ddygodd iddo rawn-win gwylltion.

Ar ol hyn y canlyn, Yn awr medd yr Arglwydd mi addangosaf i'wch pa beth a wnaf i'm gwinllan, mi a dynnaf i lawr y cauau fal y crinont, mi a dorraf i lawr y gwelydd y fal y *methrer hwy dan draed, mi a'i gadawaf hi yn anial, ni thorrir ac ni chloddir hi, drain *drysi a dyfant drosti, ac mi a orchymynnaf i'r cymmylau na lawiant mwy arni.

* Danfelyr.

* Mieri.

Wrth y bygythau hyn y rhybyddir ni, os ni y rhai ydym ddewisol winllan Duw, ni ddygwn rawn-win da, hynny yw gweithredoedd da, y rhai a fydd hoff yn ei olwg ef, pan edrycho am danynt yn ol iddo ddanfo ei genhadon i alw arnom ni am danynt: ond a ddygwn yn hytrach rawn-win gwylltion, hynny yw gweithredoedd surion anffrwythlon diflas, yno y tynn ef ymmaith ein holl ymddyffynfaudd, ac a oddef i gwympo arnom flin blagau o brinder, rhyfel, newyn ac angau.

Ac yn ddiwethaf os hyn ni wasanaetha, fe a'n gad ni yn hoeth, fe a'n rhydd ni i fynydd, fe a dyr oddiwrthym ni, ni cheibia ac ni chloddia mwy o'n hamgylch, fe a'n gâd ni yn llonydd ac a oddef ini ddwyn y fath ffrwythau ac a fynnom, ie ddwyn gwyddeli, drain, a drysi; pob drygioni a brynti, yn y fath gyflawnder hyd oni thyfont drosom ni yn gwbl, ie hyd oni chegont, oni thagont ac oni ddinistriont ni yn hollol.

Ond ni ddeall y rhai sydd yn y byd hwn, heb fyw yn ol Duw, ond yn ol eu rhydd-did cnawdol,

fawr ddigofaint Duw tuag attynt: na chaua ef ac na chloddia ef mwy o'u hamgylch, y gad ef hwynt iddynt eu hunain. Ac maent hwy yn tybied mai rhodd wych ddaionus yw hon gan Dduw, cael pob peth yn ol eu ewyllys eu hun, ac maent felly yn byw, fal pe byddai rhydd-did cnawdol wir rhydd-did yr efengil.

Ond na atto Duw, bobl dda, ini byth chwennychu y fath rydd-did. O herwydd er bod Duw weithiau yn goddef i'r drygionus gael pob peth wrth eu bodd yn y byd hwn, etto diwedd bywyd annuwiol yn y diwedd yw dinistr tragwyddol.

Fe gafodd yr Israeliaid grwgnachus y peth yr oeddynt yn ei chwennych, hwy a gawsant soflieir ddigon, do hyd onid oeddynt yn dyffygio o honynt. Ond pa beth fu y diwedd? Fe gafas eu bwyd melus hwy saws sur chwerw. Pan ydoedd y bwyd yn eu geneuau, fe gwympodd plâg Duw arnynt, ac a'u lladdodd hwy yn ddisymmwth. Rifedi.11.33.

Felly os ni a fyddwn byw yn annuwiol, a Duw yn goddef ini ddilyn ein ewyllys ein hunain, a chael y peth sydd hoff ac anwyl gennym, ac heb ein cospi â rhyw blagau: yn ddiddau mae ef yn ddig annial wrthym. Ac er ei fod ef yn hir heb daro, etto fynychaf pan darawo ef y fath ddynnion, mae yn eu taro hwy dan un dros fyth.

Felly pan na bytho fe yn ein taro, pan beidio fe â'n blino ni ac a'n ffusto, a phan fytho yn ein goddef ni i redeg lwyr ein pennau i bob rhyw annuwioldeb, a hoffderau 'r byd, yn y rhai yr ydym yn ymhoffi, heb na chosp na chyffudd, mae hyn yn arwydd ofnus ddarfod iddo ein rhoddi ni i fynydd i ni ein hunain, ac na char ef ni, ac na ofala drosom ni ymhellach.

* Yscythru. Yr hyd y bytho gwr yn * yscathru ei winwydd, yn cloddio ynghylch y gwraidd, ac yn dodi pridd newydd attynt, mae gantho feddwl arnynt, mae fe'n gweled arwydd o ffrwythlonder i'w gael oddiwrthynt. Ond pan na osodo ef na chost na thrafael arnynt, mae hynny yn arwydd ei fod ef yn tybied na byddant byth da.

A'r hyd y bytho'r tâd yn caru ei blentyn, mae fe yn edrych arno yn ddigllon, ac yn ei gospi pan wnelo ar fai: ond pan na bytho hynny yn gwasanaethu, pan beidio ef â'i gospi fe, a goddef iddo wneuthur y peth a fynno, mae hynny yn arwydd ei fod ef yn meddwl ei ddietifeddu ef a'i daflu ymmaith dros fyth.

Felly yn siccr ni ddlye ddim bigo ein calonnau ni yn dostach, a'n dodi mewn anferthach ofn, na bod ein cydwybod yn ein cyhuddo ddarfod i ni ddigio Duw yn ddirfawr, a'n bod ni fyth yn para yn gwneuthur felly: ac nad ydyw Duw yn taro dim o hanom, ond yn ein gadel ni yn llonydd yn ein drygioni yr ydym yn ei hoffi.

Yno yn enwedig y mae'n oed gweiddi, a gweiddi ailwaith fal y gwaeddodd Dafydd, Na thafl fi ymmaith oddiwrth dy wyneb, ac na chymmer dy
Psal.51.11. Yspryd glan oddiwrthyf. Arglwydd na thro dy
wyneb oddiwrthyf, na thafl fi ymmaith yn dy lid.
Psal.27.9. Na chuddia dy wyneb oddiwrthyf, rhag fy mod
Psal.143 7. yn debyg i'r rhai a ânt i waered i uffern.

Y gweddiau galarus hyn sydd yn dangos i ni pa enbeidrwydd anferth y maent hwy ynddo, y rhai y mae Duw yn troi ei wyneb oddiwrthynt; yr hyd y bytho fe yn gwneuthur felly: felly y dlyent ein cyffroi a'n hannog ninnau i weddio ar Dduw, â'n holl galonnau, na hebrynger mo ho-

nom i'r cyflwr hwnnw, yr hwn yn ddiammau sydd mor drwm, mor flin ac mor ofnadwy, ac na ddichon na thafod ei draethu na chalon ei ddeall yn gyflawn.

O herwydd pa drymder angheuol a dybygai ddyn yw bod mewn digofaint Duw, gwedy i Dduw ei wrthod, gwedy tynnu yr Yspryd glân awdur pob daioni oddiwrtho, wedy ei hebrwng i gyflwr mor warthus, na wasanaetha ef i ddefnydd yn y byd, ond i'w ddamno yn vffern yn dragwyddol? O herwydd nid yn vnic y lleoedd hyn o'r Prophwyd Dafydd sydd yn dangos y bydd ar droad wyneb Duw oddiwrth neb, y gadewir ef yn hoeth o bob daioni, ac ym-mhell oddiwrth obaith ymwared.

Ond hefyd mae'r lle o Esai a goffasom ni o'r blaen yn dangos yr vn peth: yr hwn a fynegodd fod Duw yn y diwedd yn ymwrthod â'i anffrwythlon winllan, na oddef ef yn vnic iddi ddwyn chwyn, drain a drysi, ond y cospa ef ei hanffrwythlonder hi ymmhellach. Mae fe'n dywedyd na yscathra efe, ac na chloddia fe hi, ac y gorchymmyn ef i'r cymmylau na lawiont arni. Trwy'r hyn yr arwyddocair athrawiaeth ei sanctaidd air ef. Yr hyn mewn cyffelyb fodd a ddangosodd S. Pawl wrth enw plannu a dwfrhau, gan feddwl y tynn ef hynny oddiwrthynt, na chaent fod mwy o'i deyrnas ef, ac na thywysid hwy mwy byth gan Yspryd Duw, y dodid hwy ymmaith oddiwrth ei râd ef, ac oddiwrth y doniau oedd ganthynt gynt; ac a allasent trwy Grist eu meddiannu byth; y dynoethir hwy o'r goleuni nefol a'r bywyd oedd ganthynt ynghrist, pan oeddynt yn aros ynddo: hwy a fyddant fal y buant vnwaith, megis dynnion heb

Dduw

Dduw yn y byd hwn, neu etto mewn cyllwr gwaeth.

Ac ar ychydig airiau, hwy a roddir dan allu diawol, yr hwn a dyrnasa ymhawb oll ac a defler oddiwrth Dduw : megis y gwnaeth ef i Sawl a
1.Sam.15. Judas ac yn gyffredinawl i bawb oll ac a weithiant yn ol eu meddyliau eu hunain, plant angredadwy a gwanobaith.

Gwagelwn gan hynny, Gristionogion daionus, rhag ini trwy daflu ymmaith ac ymwrthod â gair Duw, trwy'r hwn yr ydym yn cael ac yn cadw gwir ffydd yn-nuw, gael ein taflu ar y diwedd ymmaith a'n gwneuthur yn blant anghredyniaeth, y rhai ydynt o ddau ryw, pell bob vn oddiwrth ei gilydd, ie haychen yn wrthwyneb i'w gilydd, ac etto mae pob vn o'r ddau ymmhell oddiwrth droi at Dduw.

Mae'r naill ryw gan bwyso eu bywyd pechadurus câs, ynghyd ag iniawn farn a chyfyngder cyfiawnder Duw, cy belled oddiwrth gyngor a diddanwch, (fal y mae yn rhaid bod pawb yr aeth Yspryd cyngor a diddanwch oddiwrthynt) na chymmerant hwy gan neb eu perswadio yn ei calonnau y gall Duw eu cymmeryd, neu os gall y cymmer ef hwynt i'w ffafor a'i drugaredd ailwaith. Y rhyw arall wrth glywed caredig a halaethion addewidion Duw, ac felly heb gyrhaeddyd gwir ffydd o'r addewidion hynny, ydynt yn gwneuthur yr addewidion ymma yn halaethach nag y gwnaeth Duw hwy erioed, gan ymddired, er hyd yr arhosont yn eu bywyd cas pechadurus, etto yn-niwedd eu hoes y dengys Duw ei drugaredd iddynt, ac y cânt hwy ymchwelyd atto ef ailwaith.

Ac mae 'r ddau ryw hyn o bobl mewn cyflwr damnedig, ac etto mae Duw (yr hwn ni fyn farwolaeth pechadur) gwedy gosod ffordd (os hwy mewn amser a ymwagelant) i bob vn o honynt i ddiangc.

Y cyntaf, fal y maent yn ofni iniawn farn Duw yn cospi pechaduriaid, trwy 'r hyn y dlyent *ddiharffu, a gwanobeithio yn siccr oblegid vn gobaith ac a all bod ynddynt hwy eu hunain; felly pe byddyn hwy yn ddiogel ac yn ddisigl yn credu mai trugaredd Duw yw yr vnic gynhorthwy yn erbyn gwanobaith ac anymddiried, nid yn vnig iddynt hwy, ond yn gyffredinawl i bawb oll a fo drwg ganthynt ac a wir edifarant am eu holl bechodau, a chyda hynny a lynant wrth drugaredd Duw, hwy allant fod yn siccr o drugaredd, ac y cânt hwy fyned i *borthladd diogelwch ac ymwared; i'r hon pwy bynnac a ddelo er *cynddrwg a fu ef o'r blaen, fe fydd allan o berigl damnedigaeth tragwyddol, fal y dywaid Duw drwy enau Ezechiel, Pa bryd bynnac yr edifaro pechadur o ddyfnder ei galon mi a ellyngaf dros gôf ei holl enwiredd ef. Am y rhyw arall fal y maent hwy yn barod i gredu addewidion Duw, felly y dlyent fod mor barod i gredu bygythau Duw, hwy a ddlyent gredu y gyfraith cystal a'r efengyl; bod vffern a thân tragwyddol yn gystadl a bod nef a didranc lawenydd: hwy a ddlyent gredu cystal fod yn bygwth damnedigaeth i'r pechadurus a'r drwgweithredwyr, ac yr ydys yn addo Iachydwriaeth i'r ffyddlon mewn gair a gweithred: hwy a ddlyent gredu fod Duw yn gywir cystal yn y naill ac yn y llall.

Ac fe ddlye y pechaduriaid y rhai sydd yn parhau

*Synnu.
*Aber.
*Drycced.
Ezech. 18, 27.

mewn drwg fywyd, feddwl na pherthyn addewidion trugaredd Duw a'r efengyl iddynt hwy, yr hyd y bônt yn y cyflwr hwnnw, ond yn unic y gyfraith a'r scrythyrau a gynhwysant ynddynt llid, digofaint a bygythfae Duw: y rhai a ddlye eu siccrhau hwy, megis y maent hwy yn rhy * eofn yn rhyfygu ar drugaredd Duw ac yn byw yn benrhydd ac yn anllywodraethus, felly fod Duw yn tynnu fwyfwy ei drugaredd oddiwrthynt, y cyffroir ef o'r diwedd i ddigofaint a'i fod ef yn arfer weithiau o ddinistr yn ddisymmwth y fath ryfygwyr.

* Hyf.

Am y cyfryw ddynion y dywaid S. Pawl fal hynn, Pan ddywedont mae heddwch, nid oes enbeidrwydd, yno yn ddisymmwth y daw distryw arnynt. Gwagelwn am hynny y fath * eofnder drwg i bechu. O herwydd er i Dduw addo ei drugaredd i'r rhai a wir edifarhant (a hynny ar y diwedd) etto nid addawodd ef na bywyd hir, na gwir edifeirwch yn y diwedd i bechaduriaid rhyfygus. Ond i'r defnydd hynny fe a wnaeth amser angau pob dŷn yn anhyspys, rhag i neb osod eu gobaith ar y diwedd, a byw hyd hynny i ddigio Duw mewn annuwioldeb.

1. Theff. 5. 3.

* Hyfder.

Can ynn wn gan hynny gyngor y gwr call, nac oedwn droi at yr Arglwydd: na * ohiriwn o ddydd i ddydd, o herwydd yn ddisymmwth y daw llid yr Arglwydd ac mewn amser llid fe a ddinistria y drygionus.

*Ddyhiriwn.

Trown gan hynny yn ebrwydd at yr Arglwydd, a phan drothom gweddiwn ar Dduw megis y gweddiodd Osee gan ddywedyd, maddeu ein pechodau, derbyn ni yn rasol. Ac os ni a drown atto â chalon ostyngedig edifeiriol, fe a'n derbyn ni

Oze. 4. 2.

i'w

i'w drugaredd a'i râd, er mwyn ei enw sanctaidd, er mwyn ei addewid, er mwyn ei wirionedd, a'i drugaredd a addawodd ef i bawb ac a gredent yn ffydolon yn Iesu Grist ei vnic naturiol fab ef. I'r hwn vnic Iachawdwr y byd gydâ 'r tâd a'r Yspryd glân y bô holl anrhydedd, gogoniant a nerth yn oes oesoedd. Amen.

## ¶ Annogaeth yn erbyn ofn angau.



NId yw ryfeddod fod ar ddynnion bydol ofn marw, o herwydd mae angau yn eu difuddio hwy o bob anrhydedd, cyfoeth a meddiannau bydol, wrth feddiannu y rhai y mae 'r bydol yn ei gyfrif ei hun yn ddedwydd, yr hyd y gallo fe eu mwynhau hwy yn ol ei ewyllys, ac os efe a ddifeddiannir o hanynt heb obaith eu cael ailwaith, yno ni ddichon feddwl amgen am dano ei hun na'i fod yn annedwydd, am iddo golli ei hoffder a'i lawenydd bydol,

Och, ôch, a feddwl y gwr cnawdol ymma, a ymadawafi dros fyth â'm holl anrhydedd, a'm holl drysor a'm gwlad a'm cenedl a'm meddiannau, a'm cyfoeth a'm holl hoff-ddigrifwch bydol, y rhai yw llawenydd a bodlonrwydd fynghalon? och ddyfod y dydd hwnnw fyth, pan orffo imi ganu yn iach i'r pethau hynn i gyd ar vnwaith, heb allel eu meddiannu mwy byth. Am hyn nid heb achos mawr y dywaid y gwr call, O angau mor chwerw ac mor sur yw 'r côf am danati i'r hwn a fytho'n byw yn esmwyth yn cael ei fyd yn ol ei ewyllys heb ddim trallod, ac sydd gwedy ei

lenwi a'i frashau trwy hynny. Mae eraill ar y rhai nid ydyw y byd yn chwerthin mor gwbl, onid yn eu blino ac yn eu gorthrymmu hwy â thlodi â chlefyd, neu ryw wrthwyneb arall: etto maent hwy yn ofni angau, mewn rhan am fod y cnawd yn cashau yn anianol ei drist ymddattodiad, yr hwn y mae angau yn bygwth ei hebrwng arnynt: mewn rhan o blegid afiechyd a phoenedig glefydau, y rhai ni all na byddont loesion tost ac anfeidrol ing yn y cnawd, y rhai ydynt arferedig fynychaf o ddyfod cyn angau i wyr cleifion, neu ar y lleiaf, o ddyfod ynghwmpni angau, pan ddelo.

Er bod y ddau achos ymma yn edrych yn fawrion ac yn bwysig yngolwg gwr bydol, trwy y rhai y cyffroir ef i ofni angau, etto mae achos arall y sydd fwy nâ'r un o'r a chosiō a soniasom ni am danynt, am yr hwn yn siccr y mae achos da i ofni angau: a'r achos hwnnw yw'r stât a'r cyflwr i'r hwn yn y diwedd y dwg angau bawb a osodant eu calonnau ar y byd hwn, heb edifaru na gwellau eu bywyd; yr hwn stat a chyflwr a elwir yr ail angau, yr hwn a ganlyn ar bawb o'r fath ddynion yn ol yr angau corphorol ymma.

Ac yn wir dymma 'r angau a ddylyid ei ofni ac echrydio ragddo yn ddirfawr, o herwydd hwn yw colled dros fyth yn ddiymwared o râd a ffafor Duw, o dragwyddol lawenydd, llwyddiant a dedwyddwch. Ac nid yw hwn yn unic yn golled o'r holl dragwyddol hoffderau ymma, ond mae fe hefyd yn ddamnedigaeth corph ac enaid (heb le i apelio at orbwch na gobaith ymwared) i dragwyddol boenau uffern. Ac i'r stat hwn y danfonodd angau y gwr goludog an-nrhugarog, yr

hwn

hwn y mae Luc yn son am dano yn ei efengyl, yr Luc. 16. 19. &c.
hwn gan fyw ymmhob cyfoeth a digrifwch yn y byd hwn, a chan ymddigrifo beunydd mewn dainteiddiol fwydau a dillad gwychion, a ddibrisodd Lazarus dlawd, a orweddai yn druan wrth ei borth ef, gwedy ei blago yn llin, ac yn llawn doluriau, ac yn dyddfu o newyn.

Fe arestiwyd y ddau hyn gan angau, yr hwn a ddanfonodd Lazarus, y gwr truan hwnnw gydag angylion yn y man i fonwes Abraham, lle o orphwysfa, o ddedwyddwch ac o ddiddanwch. Ond fe ddiscynnodd y goludog an-nhrugarog i uffern, a phan ydoedd mewn poenau, fe a waeddodd am ddiddanwch, gan gwyno'n druan rhag ei boen * anescorol, yr ydoedd ef yn ei oddef yn y fflam dân honno, ond yr ydoedd yn rhy hwyr.

* Anrheith ei oddef.

Felly i'r lle hwn y mae'r angau corphorol yn danfon pawb oll a osodant eu llawenydd, a'u dedwyddwch ar y byd hwn: a phawb oll ac ydynt yn y byd hwn anffyddlon i Dduw ac angharedig i'w cymydogion, gan feirw felly mewn anetifeirwch, ac heb obaith trugaredd Duw.

Am hyn nid yw ryfeddod fod y gwr bydol yn ofni angau, o herwydd mae iddo ef fwy o achos i wneuthur felly nag y mae fe ei hun yn ei yssyriaid.

Fal hyn y gwelwn fod tair achos i wyr bydol i ofni angau: un am eu bod hwy trwyddo yn colli eu holl anrhydedd bydol, eu holl gyfoeth, a'u meddiannau, a pha beth bynnag a chwennycho eu calonnau.

Yr ail, o herwydd y clefydau tostion, a'r poenau chwerwon, y rhai fynychaf y mae gwyr yn eu goddef, naill ai cyn, ai yntau yn amser angau.

ffyngedig a ymnoftyngant i'w ewyllys ef: ac a'i carant ef yn wastadol, yn ddiffuant o ddyfnder eu calonnau.

Ac ni a ddlyem gredu na ddichon marwolaeth yr hon a laddwyd gan Grist, attal neb a'r a ymddiredo yn ddiogl ynghrist, tan ei draglwyddol greulondeb a'i gaethiwed. Ond fe a gyfyd o farwolaeth i ogoniant ar y dydd diwethaf, a osodwyd gan yr holl-alluog Dduw, fal y cyfododd Christ ein pen ailwaith y trydydd dydd, wrth ordeiniad Duw. O herwydd, medd S. Awstin, lle'dd aeth Christ y pen mae'r aelodau yn gobeithio y cânt hwythau ganlyn a dyfod ar ol. Ac mae S. Pawl yn dywedyd, Os cyfod wyd Christ oddiwrth y meirw, y cyfodir ninnau hefyd. 1.Cor.15.12. 15.

Ac er rhagor ddiddanwch i bob Cristion yn hyn o beth, mae'r Scrythur lân yn galw y farwolaeth gnawdol hon yn gwsc, trwy'r hwn y tynnir mewn cyffelybiaeth, synhwyrau dyn dros amser oddiwrtho, ac etto pan ddihuno mae fe'n llonnach ac yn hoywach nâ phan aeth ef i'w wely. Felly er bod yn gwahanu ein eneidiau ni oddiwrth ein cyrph dros ennyd, etto ar yr ail-gyfodiad cyffredinol ni a fyddwn hoywach, harddach a pherffeiddiach nag ydym ni yn awr.

O herwydd yn awr yr ydym yn farwol, y pryd hwnnw ni a fyddwn yn anfarwol: yn awr wedi ein llygru gan lawer o wendid, yno y byddwn rhyddion oddiwrth bob gwendid marwol: yn awr yr ydym yn gaethion i bob chwantau cnawdol, yno y byddwn yn hollawl yn yspryddol, heb chwennychu dim ond gogoniant Duw a phethau tragwyddol.

Fal hyn nid yw marwolaeth gnawdol o-

nid drws a mynediad i fywyd: ac am hynny nid
ydyw mor ofnadwy (os ystyrir hi yn iawn) ac y
mae hi yn ddiddanus; nid dial ond ymwared yn
erbyn pob dialedd: nid gelyn onid cyfaill; nid
gorthrymmydd creulon, onid tywysog tirion i'n
harwain ni o farwolaeth i fywyd, o drisswch a
phoen i lawenydd a digrifwch, yr hwn a bery
byth yn dragwyddol, os derbynnir ef yn ddiolch-
gar megis cennad Duw, ac os goddefwn ef yn o-
ddefgar er cariad ar Grist, yr hwn a oddefodd ddo-
lurus angau er cariad arnom ni, ac er ein rhy-
ddhau ni o dragwyddol angau.

Yn gyttun â hyn y dywaid S. Pawl, y mae ein
Coloss. 3. 4. bywyd ni yn guddiedig gydâ Christ yn-nuw:
onid pan ymddangoso'n bywyd ni yno'r ymddan-
goswn ninnau hefyd mewn gogoniant gydag ef.

Pa ham gan hynny yr ofnwn farw, gan ystyri-
aid aml a diddanus addewidion yr efengyl, a'r
Scrythyrau sanctaidd? Rhoddodd Duw ini fy-
Ioan. 6. 40. wyd tragwyddol, medd Ioan Sant, a'r bywyd
hwn sydd yn ei Fâb ef. Yr hwn y mae y Mâb gan-
tho mae bywyd gantho, a'r hwn nid oes ganddo
1. Ioan. 5. 12. Fâb Duw nid oes gantho fywyd. Y pethau hyn,
medd S. Ioan, a scrifennais attoch y rhai ydych
yn credu yn enw Mâb Duw: fal y gwypoch fod
i chwi fywyd tragwyddol, a'ch bod yn credu yn e-
nw Mâb Duw. Ac fe ddywaid ein Iachawdwr
Ioan. 6. 4. Christ, yr hwn sydd yn credu ynof fi sydd iddo fywyd
tragwyddol, ac mi a'i hadgyfodaf ef y dydd dive-
1. Cor. 1. 30. thaf. Ac mae S. Pawl yn dywedyd ddarfod i
Dduw ordeinio a gwneuthur Christ yn ddoethi-
neb, yn gyfiawnder, yn sancteiddrwydd, ac yn ym-
wared ini, er mwyn bod i'r hwn a orfoleddo orfo-
leddu yn yr Arglwydd.

Ac yr oedd S. Pawl yn dibriso, yn dirmygu, ac yn cyfrif megis tom y pethau oedd fawr gantho am danynt o'r blaen, fal y galle o'r diwedd gael bywyd tragwyddol, gwir sancteiddrwydd, cyfiawnder, a thrugaredd ynghrist Iesu. Yn ddiwethaf, mae S. Pawl yn gwneuthur dadl oleu yn y modd ymma, Os ein Tad nefol nid arbedodd ei fab naturiol, onid ei roddi i farwolaeth drosom, pa fodd na rydd ef bob peth ini gydag ef? Coloss.3. Coloss.8.32.

Am hynny os yw Christ gennym, y mae gennym gydag ef a thrwyddo ef bob peth ac a allo ein calonau ei ddeisyf neu ei chwenychu: megis gorfuwchafiaeth yn erbyn angau, pechod ac uffern; mae gennym ffafor Duw, heddwch ag ef, sancteiddrwydd, doethineb, cyfiawnder, nerth, bywyd ac ymwared; mae ini trwyddo ef dragwyddol Iechyd, cyfoeth, llawenydd ac annherfynol fendith.

## Yr ail rhan o'r bregeth am ofn angau.



E ddangoswyd i'wch o'r blaen fod tri achos pa ham y mae dynnion yn ofni marw.

Y cyntaf yw trist ym-adel a'u golud a'u hoffderau bydol.

Yr ail yw ofn y gloesion a'r poenau a ddawant gydag angau.

Yr achos mwyaf a'r diwethaf yw *erchyll ofn trneni *echrysion a thragwyddol ddamnedigaeth yn yr amser a ddaw. Ac etto nid oes un o'r achosion ymma yn cyffroneb o'r gwyr daionus, am eu bod hwy yn eu cadarnhau eu hunaim trwy wir ffydd. Echrydys. Cas.

ffydd, cariad perffaith, a diogel obaith o'r llawenydd didrant a thragwyddol fendith.

Mae gan yr holl rai hyn am hynny achosion mawrion i fod yn llawn llawenydd, am eu bod hwy gwedy eu cyssylltu â Christ trwy wir ffydd, diogel obaith, a chariad perffaith, ac i fod heb ofni nac angau na thragwyddol ddaumedigaeth. O herwydd ni ddichon angau eu gwahanu hwy oddiwrth Grist, nac un pechod ddamno y rhai a ddiogelwyd ynddo ef, yr hwn yw eu hunig lawenydd, eu trysor a'u bywyd hwy.

Edifarhawn am ein pechodau, gwellhawn ein bywyd, ymddiredwn yn ei drugaredd ef a'i haeddiant, ac ni ddichon angau na'i dynnu ef oddiwrthym, na ninnau oddiwrtho yntef. O herwydd yno (medd S. Pawl) pa un bynnac a wnelom ai byw ai marw yr ydym ni yn eiddo 'r Arglwydd. Ac fe ddywaid ailwaith, Christ a fu farw ac a gyfododd drachefn, fal y byddai ef Arglwydd ar y byw a'r meirw. Wrth hynny os ydym ni eiddo 'r Arglwydd, pan fythom feirw, ni ddichon na chanlyno, nid yn unic nad ydyw y fath farwolaeth gnawdol yn abl i'n drygu, onid hefyd y bydd hi elw ac ennill i ni, ac y cydsyllta hi ni â Duw yn gyflawnach.

Ac o hyn y dichon pob Christionogaidd galon fod yn siccr ddiogel, trwy ddidwyll wirionedd yr Scrythyr lân. Canys Duw, fal y dywaid S. Pawl, a adeiladodd ini dŷ tragwyddol yn y nefoedd, ac a roddodd ini wystl o'i Yspryd. Am hynny byddwn bob amser ddiddanus, o herwydd ni a wyddom yr hyd y bythom yn y cnawd, ein bod ni oddigartref ymhell oddiwrth Dduw, ac megis mewn gwlâd ddieithr, mewn llawer o enbeidrwydd,

2.Cor.5.1.5.

ydd,

ydd, yn rhodio heb gyflawn olwg, na gwybodaeth am yr holl-alluog Dduw, ac yn ei weled ef yn unic trwy ffydd yr Scrythyrau sanctaidd: ond mae'n ewyllys ni a'n chwant ar fod gartref gyda Duw a'n Iachawdwr Christ ym-mhell oddiwrth y corph, lle y gallom weled Duw yn y modd y mae ef, wyneb yn wyneb, i'n diddanwch an-nherfynol.

Dymma fîm gairiau S. Pawl, trwy y rhai y gallwn ystyriaid fod yn cyffelybu ac yn tebygu ein bywyd ni yn y byd hwn i bererindod mewn gwlâd ddieithr, ym-mhell oddiwrth Dduw: a bod angau yn ein gwared ni o'n cyrph ac yn ein danfon ni yn iniawn adref i'n gwlad ein hunain, ac yn gwneuthur i ni aros yn bresennol gydâ Duw yn dragwyddol, mewn tragwyddol orphwysfa a llonyddwch, megis nad ydyw marw yn golled, ond yn fudd ac yn ennill i'r holl Gristionogion.

Pa beth a gollodd y lleidr a groshoelwyd gydâ Christ trwy angau co porol? Ie pa ennill a gafas ef oddiwrthi? oni ddywad ein Iachawdwr Christ wrtho, heddyw y byddi gydâ ni ym-mharadwys? Luc.23.43.

Ac oni lehaodd ac oni dderchafodd angau yn rhyfedd Lazarus ofidus hefyd, yr hwn a orweddodd yn hir gan ddolur, ac yn druan gan newyn, wrth borth y gwr goludog pan ddygpwyd ef trwy wenidogaeth angylion i fonwes Abraham, lle o orphwysfa, o lawenydd a diddanwch nefol. Luc.16.22.

Na thybygwn am hynny, Gristionogion da, na ddarfu i Grist ddarparu a pharatoi yn y blaen, yr un llawenydd a dedwydd wch i ninnau hefyd, ac a ddarparodd ef i Lazarus a'r lleidr. Glynwn gan hynny wrth ei Iechydwriaeth a'i hwyuedigaeth gra-

grasawl ef, credwn ei air ef, gwasanaethwn ef a'n holl galonnau, carwn ef ac ufyddhawn iddo: a pha beth bynnac a wnaethom ni o'r blaen yn erbyn ei sanctaidd ewyllys ef, edifarhawn yn awr mewn amser: mysyriwn o hyn allan wellau ein bywyd, a byddwn siccr y bydd ef mor drugarog wrthym ni, ac a fu ef wrth Lazarus neu'r lleidr: siamplau y rhai a scrifennwyd yn yr Scrythur sanctaidd er diddanwch i'r holl bechaduriaid, y rhai ydynt yn gorfod arnynt dreulio eu hoes mewn tristwch, mewn blinderau, a chystyngderau y hyd hwn: fel na byddo iddynt wanobaithio am drugaredd Duw, ond ymddired yn wastadol trwy ei drugaredd ef gael maddauant o'u pechodau, a thragwyddol fywyd, fal y cafodd Lazarus a'r lleidr.

Fal hyn yr ydwyf yn gobeithio fod pob Christion yn deall weithion trwy ddidwyll air Duw, na ddichon corphorol angau na gwaethu na drygu y rhai a wir gredant ynghrist Jesu. Ond o'r gwrthwyneb y lleshâ ac y derchafa ef yr holl eneidiau Cristionogawl y rhai yn wir edifeiriol am eu baiau ydynt yn myned oddi ymma mewn cariad perffaith a diogel obaith y bydd Duw trugarog iddynt, y maddau fe eu pechodau hwynt er haeddiant ei unig naturiol fab Jesu Christ.

Yr ail achos pa ham y mae rhai yn ofni marwolaeth yw clefydau costion, a phoenau trymmion, y rhai a ddawant naill ai yn-mlaen angau, ai yn-cau gydag angau pan ddelo. Yr ofn hwn yw ofn cnawd gwael, a gwendid naturiol, a berthyn at annian dyn marwol. Ond mae gwir ffydd yn addewidion Duw, a dysal feddwl am y poenau a'r ing a oddefodd Christ ar y groes drosom ni bechadu-

chaduriaid truain, ynghŷd ag ystyriaeth am y llawenydd a'r tragwyddol fywyd sydd ar ddyfod yn y nefoedd, yn esmwytho ac yn llonyddu y poenau, ac yn lleihau'r ofn ymma, fal na allo orchfygu y chwant a'r llawenydd calonnog, y sydd gan enaid Christion, i gael ei wahanu oddiwrth y corph llygradwy hwn, fal y gallo ddyfod i rasol bresenoldeb ein Iachawdwr Iesu Grist.

Os ni a gredwn yn gadarn air Duw, ni a gawn weled nad yw y fath glefydon corphorol, a'r doluriau a'r poenau tost yr ydym yn eu goddef naill ai cyn ai gydag angau, onid gwialen ein nefol a'n caredig dâd, trwy'r hon y mae fe yn drugarog yn ein ceryddu ni, naill ai er mwyn profi a chyhoeddi ffydd ei oddefgar blant, fal y caffer hwy yn ganmoladwy yn anrhydeddus ac yn ogoneddus yn ei olwg ef, pan ddangoser yn oleu fod Iesu Grist yn farnwr yr holl fyd: ai yntau i gospi ac i wella yndynt bob peth ac sydd yn anfodloni ei dadawl ddaioni ef, rhag eu colli hwy yn dragywydd. Ac mae y wialen gerydd hon yn gyffredinol i bawb ac ydynt yn wir eiddo ef.

Taflwn am hynny ymmaith faich pechod, sydd yn gorwedd yn rhy drwm ar ein * gyddygau, a *Gyddfau.
thrown at Dduw trwy wir edifeirwch a gwellhâd bywyd, rhedwn yn oddefgar yr yrfa a osodwyd i ni, gan oddef er ei fwyn ef a oddefodd er ein Iachawdwriaeth ni, bob poenau, a phob tristwch angau, ie ac angau ei hun, yn llawen pan danfono Duw ef attom, gan fod ein llygaid gwe- Phil. 3, 8.
dy eu gosod, a'u diogelhau ar ein pen, a thywysog ein ffydd Iesu Grist, yr hwn gan ystyriaid y llawenydd a addawai iddo, ni phrisodd nac ar gywilydd Heb. 12, 2.
nac ar boenau angau, ond efe a gydfurfiodd ac a

gydwe-

gydweddodd ei ewyllys ei hunan ag ewyllys ei dâd ac er ei fod yn ddifai ac yn ddieniwed, etto fe a oddefodd wradwyddusaf, a phoenedиccaf angau 'r groes. Yn awr am hynny mae fe gwedy ei gyfodi i'r nefoedd ac yn eistedd yn dragwyddol ar ddeheulaw gorseddfaingc Duw dâd.

Cofiwn am hynny y bywyd a'r llawenydd nefol sydd ynghadw i bawb ac a oddefant ymma yn oddefgar gyda Christ, ac ystyriwn i Grist ddioddef y cwbl o'i ddioddeifaint gan bechaduriaid, ac er mwyn pechaduriaid, ac yno y goddefwn yn haws ac yn esmwythach y gofidiau a'r poenau hynny pan ddelont.

* Ddiystyrwn. Na * fychanwn am hynny gerydd yr Arglwydd,
* Ymwhithnachwn. ac na * rwgnachwn yn ei erbyn ef, ac na chwympwn oddiwrtho, pan y'n cerydder gantho. O herwydd
Heb. 12.6,7,8. mae 'r Arglwydd yn ceryddu pob vn a garo, ac yn fflusco pob vn ac a gymmero yn blentyn iddo. Pa fab sydd, medd S. Pawl, nas cospo ei dad ef? eithr os heb gospedigaeth yr ydych, o'r hon y mae pawb o'i blant a'i garedigion ef yn gyfranogion, yno bastardiaid ydych ac nid meibion o briod. Am hynny gan fod ein tadau daiarol cnawdol yn ein cospi ni, a ninnau yn eu hofni ac yn derbyn eu cosp hwy yn barchus: oni ddlyem ni fod yn fwy ein gostyngeiddrwydd i Dduw Tâd yr ysprydoedd, trwy 'r hwn y mae ini fywyd tragwyddol? Ac mae 'n tadau cnawdol yn ein cospi ni weithiau fal y byddo bodlon ganthynt heb ddim achos: ond mae 'n Tâd hwn yn ein ceryddu ni yn gyfiawn naill ai am ein pechodau, o fwriad ar ein gwellhau, neu er budd a llesad ini, i'n gwneuthur trwy hynny yn gyfranogion o'i sancteiddrwydd.

Hefyd fe dybygid nad oes yn yr holl gosp y mae Duw yn ei ddanfon yn y byd presennol hwn, na llawenydd, na diddanwch, onid poen a thristwch: etto mae'n dwyn gydag ef flas o drugaredd a daioni Duw tuag at y rhai y mae fe yn eu cospi, a siccr obaith o dragwyddol ddiddanwch Duw yn y nefoedd.

Am hynny onid ydyw y gofidiau a'r afiechyd a'r clefydau ymma, ie ac angau ei hun, ddim onid gwialen ein tad nefol, trwy'r hon y mae fe yn ein nitho ac yn ein puro ni, trwy'r hwn y rhydd ef i ni sancteiddrwydd ac y siccrha ef ni ein bod yn blant iddo ef, ac yntef yn drugarog dâd i ninnau. Oni chusanwn ninnau yn llawen ac yn ewyllyscar â phob gostyngeiddrwydd megis rhydd blant carcdig, wialen ein Tad nefol, gan ddywedyd yn wastad yn ein calonnau gydâ ein Iachawdwr Iesu Grist, y Tad oni all yr ing a'r gofid yr ydwyf yn ei oddef a'r angau yr ydwyf yn ei weled yn nesau attaf, fyned heibio, ond bod dy ewyllys imi eu goddef hwy, bydded dy ewyllys di. Mat. 16, 39.

## ¶ Y trydydd ran o'r bregeth am ofn angau, neu farwolaeth.

FE ddangoswyd yn y bregeth hon yn erbyn ofn angau ddau achos y rhai sydd yn peri i wyr bydol ofni marw, etto nid ydyw y rhai hyn yn cyffroi dim o'r ffyddloniaid, na'r rhai sydd yn byw yn dda, pan ddelo angau, ond maent yn rhoddi iddynt hwy achosion i lawenhau yn fawr, gan ystyriaid y cânt eu rhyddhau ar fyrder oddiwrth ofn a thrueni y byd hwn, a'u dwyn i fawr lawenydd

nydd a dedwyddwch y byd a ddaw.

Yn awr y trydydd achos a'r hyspysaf, paham y mae angau yn wir ofnadwy, yw gofidus gyflwr ac stât y bydol a'r annuwiol yn ôl angau.

Ond nid ydyw hyn achos yn y byd i'r duwiol a'r ffyddloniaid i ofni angau, ond o'r gwrthwyneb fe ddlyai eu hymddygiad duwiol hwy yn y byd hwn, a'u cred hwy ynghrist, a'u gwastadol ymlyn wrth ei drugaredd ef, wneuthur iddynt hwy hiraethu yn fawr am y bywyd hwnnw, yr hwn yn ddiammau sydd yn eu haros hwy yn ol yr angau corphorol hwn.

Ac o blegid yr stât anfarwol ymma yn ol y bywyd trāgedig hwn, lle y cawn fyw byth yngwydd Duw mewn llawenydd a llonyddwch, yn ol goruchafiaeth pob clefyd, gofid, pechod ac angau, mae llawer o leoedd goleu yn yr Scrythyr lân i gadarnhau cydwybod wan yn erbyn ofn y fath ofidiau, clefydon, pechod, a chorphorol angau: i esmwytho y fath echryd ac annuwiol ofn, ac i'n cysuro ni â gobaith stât fedigaid yn ol y bywyd hwn.

Mae S. Pawl yn chwennych ar i Dduw Tâd y gogoniant roddi i'r Ephesiaid Yspryd doethineb a dat guddiad i'w adnabod ef, trwy oleuo golwg eu calonnau, fal y gwypent obaith ei alwedigaeth ef, a pha beth yw golud ei etifeddiaeth ef yn ei saint: a pha beth yw rhagorol nerth ei fawredd ef yn y rhai ydynt yn credu. Mae S. Pawl ei hun yn dangos deisyfiad ei galon, yr hyn oedd cael ei ollwng oddiwrth y corph a bôd gydâ Christ, yr hyn (eb efe) sydd orau dim imi, er bod yn angenrheidiol o'u rhan hwynt iddo aros yn y cnawd, yr hyn er eu mwyn hwy ni wrthododd ef ei wneuthur, megis y dywad saint Marthin, Oh

Ephes. 1.17, 18.

Phil. 1.23.

Arglw-

Arglwydd daionus os byddaf anghenrhaid i'th bobl di i wneuthur daioni iddynt, ni wrthodaf ddim poen: os amgen, o'm rhan fy hun mi atolygaf iti gymmeryd fy enaid attat.

Am y tadau oll o'r hên gyfraith a chynifer oll o wyr ffyddlawn cyfiawn, ac a ymadawsant ymmlaen *escynniad ein Iachawdwr Christ i'r nef, hwy aethant trwy angau a gofid i esmwythder, o ddwylaw eu gelynnion i ddwylaw Duw, o drîstwch a chlefydon i hyfrydwch ym-monwes Abraham, lle o gysur a diddanwch, fal y mae 'r Scrythur lân yn tystiolaethu yn oleu, trwy airiau eglur ddigon. *Derchafel.*

Mae llyfr y doethineb yn dywedyd fod eneidiau y rhai cyfiawn yn llaw Dduw, ac na chyffwrdd cystudd â hwy, y rhai angall oeddynt yn tybied hefyd eu bod hwy yn marw, a blin hefyd y cyfrifid eu diwedd hwy, a'u mynediad oddiwrthym ni yn ddinistr, ond maent hwy mewn heddwch. Ac fe ddywaid lle arall, fod y cyfiawn yn byw byth a'u gwobr hwy gydâ'r Arglwydd, a chan y goruchaf y mae gofal am danynt, am hynny y cânt deyrnas hardd a choron dêg. Ac mewn man arall y dywaid yr vn llyfr, Er rhagflaenu y cyfion trwy angau dyfyfyd etto fe fydd lle caffo gysur. Mae geiriau Christ mor eglur am *fonwes Abraham nad rhaid i vn Christion geisio eu cadarnhau hwy yn fwy. *Doeth. 3. 1, 2, 3.* *Doeth. 5. 16. &c.* *Doeth. 5.* *Afcre.*

Yn awr gan hynny os dymma gyflwr y tadau sanctaidd a'r gwyr cyfiawn cyn dyfodiad ein Iachawdwr, a chyn ei ogoneddu ef: mwy o lawer y dlye fod gennym ni ffydd safadwy a siccr obaith yn yr stât a'r cyflwr ymma yn ôl angau, gan ddarfod i'n Iachawdwr Christ gyflawni eisoes gyfan

waith ein prynedigaeth ni, a'i fod ef gwedy escyn
i'r nefoedd yn ogoneddus, i baratoi trigleoedd ini
gydag ef: ac iddo ddywedyd hefyd wrth ei Dâd,
Ioan 7.24. Y Tâd yr wyf yn ewyllysio fod fyngwasanaeth-
wyr gydâ mi lle bydd wyf finnau. Ac ni a wyddom
fod y Tâd yn ewyllysio beth bynnag a ewyllysio
y Mâb.

Am hynny yn o l ini ymadel â'r bywyd presen-
nol hwn, os ni a fyddwn ffyddlon weision iddo ef,
ni ddichon na bo ein eneidiau gydag ef. Pan la-
byddiwyd S. Stephan i farwolaeth, ynghenol ei
boen a'i gystudd, beth yr oedd ef yn ei feddwl fwy-
af? pan ydoedd ef medd yr Scrythur lân yn llawn
Act.7.55. o'r Yspryd glân fe a edrychodd yn ddyfal tu a'r ne-
foedd, ac a welodd ogoniant Duw, a'r Iesu yn
sefyll ar ddeheulaw Duw. Yr hwn wirionedd yn
Hyf. ôl iddo ei gyffessu yn * eofn, yngwydd gelynion
Christ, hwy a'i bwriasant ef allan o'r ddinas, ac
a'i llabyddiasant ef, ac ef yn galw ar Dduw gan
ddywedyd, Arglwydd Iesu derbyn fy Yspryd.
Vers.59. Ac onid ydyw Christ yn dywedyd yn eglur yn
Ioan.5.24. efengyl Ioan, Yn wir, yn wir meddaf i chwi, y
neb sydd yn gwrando fy-ngair ac yn credu i'r hwn
a'm anfonodd i, a gaiff fywyd tragwyddol, ac ni
ddaw i farn: eithr ef aeth trwyodd o farwolaeth
i fywyd? Ac oni chyfrifwn ni y farwolaeth honno
yn werthfawr trwy'r hon yr ydym yn myned i
fywyd? gwir gan hynny yw gairiau y Prophwyd
Psal.116.15. Dafydd, fod marwolaeth y rhai duwiol yn
werthfawr yngolwg yr Arglwydd. A phan dda-
Luc.2.28,29. roedd i Simeon sanctaidd gael cyflawni deisyfiad
ei galon, wrth weled ein Iachawdwr Christ, yr
hyn beth a ddeisyfai trwy ei oes, fe a'i cofleidiodd,
ac a'i braicheidiodd ef yn ei freichiau, gan ddywe-
dyd:

dyd, Yr awr hon Arglwydd y gollyngi dy was mewn tangneddyf yn ol dy air, cans fy llygaid a welsant dy Iachawdwriaeth, yr hon a baratoaist yngwydd yr holl bobl.

Inion am hynny yr ydys yn galw angau y cysion yn heddwch ac yn fendith yr Arglwydd, megis y dywaid yr eglwys yn enw y rhai cyfiawn a ymadawsont o'r byd hwn, Fy enaid tro i'th esmwythder, yr Arglwydd a fu dda wrthyd, ac a'th obrwyodd di.

Ac yr ydym ni yn gweled wrth yr Scrythyr lân a hên storiau y merthyri, nad oedd neb o'r sanctaidd, o'r ffyddloniaid, na'r rhai cyfiawn, er pan escynnodd Christ i'r nef, yn * ammau nad oeddynt yn yr yspryd yn myned at Ghrist, yr hwn yw ein bywyd, ein iechyd, ein cyfoeth ni a'n iechydwriaeth. Fe welodd Ioan yn ei weledigaeth bedair mil a saith ugain o wyrison sanctaidd, am y rhai y dywedai, mae y rhai hyn yn dilyn yr oen Iesu Grist i ba le bynnag yr êl efe. Ac yn y man a'r ol hynny y dywaid Ioan, Mi a glywais lais o'r nef yn dywedyd wrthyf, scrifenna, gwyn eu byd y meirw weithian y rhai ydynt yn meirw yn yr Arglwydd, felly y dywaid yr Yspryd, cans maent yn gorphwys oddiwrth eu poen, ac mae eu gweithredoedd yn eu canlyn hwy. Fal wrth hyn y cânt hwy fedi mewn cyssur a llawenydd, yr hyn a hauasont hwy mewn trafael ac mewn poen.

Dowtio.

Gwel.14.1.

V.13.

Y rhai a hauant yn yr Yspryd a fedant yn yr Yspryd fywyd tragwyddol. Na ddyffygiwn gan hynny yn gwneuthur daioni, o herwydd pan delo amser gwobr a medi, ni a fedwn yn ddiddyffygiol dragwyddol lawenydd. Am hynny yr hŷd y caffon amser gwnawn dda i bawb, (fal y dywaid S.

Gal.6.8.

Vers. 11.

 Pawl.)

Pawl.) Ac na chasclwn ini drysor ar y ddaear, lle
Math.6.19. mae gwyfon a rhwd yn llygru, a lladron yn torri
trwyodd ac yn lledratta, eithr casclwn ini drysorau yn y nef, lle nid oes na gwyfyn na rhwd yn
llygru, a lle nis cloddia lladron trwyodd ac nis lledrattânt. O herwydd rhŵd trysorau y byd hwn,
Iac.5.1. fal y dywaid S. Iaco, a dystiolaethant yn ein herbyn ni i'n barn ar ddydd mawr yr Arglwydd, ac
a ysant ein cnawd ni megis tân lloscedig.

Gwagelwn am hynny (os carwn ein llwyddiant ein hunain) na byddom ni yn rhifedi y blin a'r
annedwydd gybyddion hynny, y mae S. Iaco yn
Iac.5.1. erchi iddynt wylo ac vdo am y trueni a ddêl arnynt, am eu trachwantus gasclu ac annuwiol gadw eu golud bydol. Byddwn am hynny gall mewn pryd a dyscwn ganlyn synhwyrol siampl yr anghyfiawn orchwyliwr: trefnwn yn synhwyrol ein golud a'n meddiannau, y rhai a fenthycodd Duw ini ymma dros amser, fal y gallom wir wrando ac vfyddhau gorchymmyn ein Iachawdwr Christ.

Yr ydwyf (medd ef) yn dywedyd wrthych gwnewch gyfeillion i chwi o'r golud twyllodrus, fal pan fo eisiau arnoch y'ch derbyniant i'r tra-
Luc.16.9. gwyddol bebyll neu drigfae.

Yr ydys yn galw cyfoeth yn dwyllodrus, am fod y byd yn eu camarfer hwy i bob twyll a drygioni, y rhai o honynt eu hunain ydynt ddaionus roddion Duw a moddion trwy y rhai y mae gweision Duw yn ei wasanaethu ef wrth eu harfer hwy yn weddus. Nid ydyw ef yn gorchymmyn iddynt wneuthur y cyfoethogion yn gyfeillion, a mynnu iddynt eu hunain vchelfraint a derchafiaeth bydol, rhoddi rhoddion mawrion i wyr cyfoetho-

foethogion, nad oes eisiau arnynt, ond gwneuthur cyfeillion o'r tlodion a'r anghenus, i'r rhai pa beth bynnac a roddant mae Christ yn ei gymmeryd megys pe rhoddid hynny iddo ef ei hun.

Ac i'r cyfeillion hyn y mae Christ yn yr efengyl yn rhoddi y fath anrhydedd a gorwchafiaeth; hyd onid ydyw yn dywedyd y derbyniant hwy y rhai a wnelont ddaioni iddynt i dai tragwyddol. Nid am y bydd dynion yn obrwywyr ini am y daioni a wnelom, ond o herwydd y gobrwya Christ ni, ac y cymmer ef bob peth a wnelom i'r fath gyfeillion, megis pe gwnelsem hynny iddo ef ei hun.

Fal hyn wrth wneuthur y tlodion truain yn gyfeillion ini, yr ydym yn gwneuthur ein Jachawdwr Christ yn gyfaill, aelodau yr hwn ydynt hwy. Y rhai fal y mae fe yn cymmeryd eu gofidion yn ofid iddo ei hun, felly y mae fe yn cymmeryd eu cynnorthwyad, eu cysurhad, a'u diddanwch hwy, yn gynorthwyad, yn gysurhad, ac yn ddiddanwch iddo ei hunan, ac fe rydd ini gymmaint o wobr a diolch, am y daioni a ddangosom iddynt hwy, a phe byddai fe ei hun gwedy derbyn y fath roddion oddiar ein dwylaw, fal y tystiolaetha ef yn yr efengyl, gan ddywedyd, Pa beth bynnac a wnaethoch i vn o'r rhai lleiaf o'm brodyr hyn, i Math.25.40.
myfi y gwnaethoch.

Am hynny synnwn yn ddiwall na ddyffygio 'n ffydd ni a'n gobaith, y rhai a osodasom ni ar y goruchaf Dduw a'n Jachawdwr Christ: ac nad oero y cariad yr ydym yn cymmeryd arnom ein bod yn ei ddwyn tuag atto. Ond myfyrrwn beunydd yn ddiwall ar ddangos ein bod yn gwir anrhydeddu ac yn caru Duw, trwy gadw ei orchy-

mynion ef, a thrwy wneuthur daioni i bawb o'n cymydogion anghenus, gan gynnorthwyo ym-mhob modd ac y gallom eu cloði hwy â'n cyfoeth ac â'n halaethrwydd, eu hanwybodaeth hwy â'n doethineb ac â'n dysc: a chan gysuro eu gwendid hwy â'n nerth ac â'n hawdlindod: gan alw pawb yn ei hol oddiwrth eu drygioni trwy gyngor duwiol, a siampl dda: gan barhau yn wastad yn gweithur daioni yr hyd y bythom byw.

Ac felly ni bydd rhaid ini ofni angau am un o'r tri achos a soniasom ni o'r blaen amdanynt, nac etto am un achos arall ac a ellir ei feddyliaid. Ond o'r gwrthwyneb gan ystyriaid aml glefydon, trallod, a thristwch y bywyd personnol hwn, a pheriglau yr enbaid bererindod yma, a'r llwyr ddymuno y mae ein hyspryd yn ei gael trwy'r cnawd pechadurus, a'r corph egwan yr hwn sydd gaeth i angau: gan ystyriaid hefyd ofidiau ac enbaid dwyll y byd hwn o bob ystlys: anescorol falchedd, trachwant, a goddineb yn amser hawddfyd: a nioddefau a grwgnach y rhai bydol yn amser adfyd, y rhai ni orphwysant yn ein cymmell, ac yn ein tynnu ni oddiwrth Dduw, ac oddiwrth ein Iachawdwr Christ, oddiwrth ein bywyd, ein cyfoeth, ein tragwyddol lawenydd a'n Iachawdwriaeth: gan ystyriaid hefyd aneirif gyrchau diafol y gelyn ysprydol, a'u holl *biccellau tanllyd, uchelfrydiad, balchedd, godineb, gwag-ogoniant, cenfigen, malis, gogan ac enllib gyda thwyllau, rhwydau a maglau aneirif eraill, i ddala pawb dan ei arglwyddiaeth: yr hwn y sydd bob amser fal llew rhuadus, yn rhodio oddiamgylch gan geisio y neb a allo ei lyngcu.

Sacthau.

1.Pet.5.8. Y Christion ffyddlon sydd yn ystyriaid yr holl

flinderau, enbeidrwydd ac afles ymma, i'r rhai y mae fe yn gaeth yr hyd y bytho fyw ar y ddayar hon; ac yn ystyrio hefyd o'r ystlys arall fendigedig diddanus stat y bywyd nefol, sydd ar ddyfod, a melus gyflwr y rhai a ymadawsant yn yr Arglwydd: pa fodd y maent gwedy eu ryddhau oddiwrth wastadol rwystrau eu cyrph marwol pechadurus, oddiwrth holl falis, twyll a rhwystrau y byd hwn, oddiwrth holl gyrchau diafol eu gelyn ysprydol, i fyw mewn heddwch a gorphwissa a didrangc esmwythder, ynghyfeillach aneirif o angylion ac ynghynulleidfa gwyr cyfiawn perffaith, Patriarchau, Prophwydi, Merthyri a Chyffeswyr, ac yn ddiwethaf yngwydd yr holl-alluog Dduw a'n Iachawdwr Iesu Grist.

Yr hwn sydd yn ystyriaid yr holl bethau hyn, ac yn eu credu yn ddiammau (megis y dylid eu credu hwy) o ddyfnder ei galon, gwedy ei sicchau yn-Nuw yn y wir ffydd hon, a chantho gydwybod esmwyth ynghrist, a chadarn obaith a diogel ymddiried yn-hrugaredd Duw, trwy haeddiant Iesu Grist, ar gael o hono lonyddwch esmwythder a thragwyddol lawenydd: fe sydd nid yn unic heb ofn angau corphorol pan ddelo, onid he- Phil.1.23.
fyd yn ddeiau (megis y gwnaeth S. Pawl) felly yntef yn llawen (yn ol ewyllys Duw pan welo Duw yn dda ei alw ef o'r byd hwn) a chwenycha yn ei galon gael ymadel â'r holl achosion hyn o ddrygioni, a byw yn dragywydd gyda Christ Iesu ein Iachawdwr wrth fodd Duw mewn ufydddod perffaith i'w ewyllys ef. At yr hwn Iesu Grist, Duw o'i fawr râd a'i drugaredd a'n dycco ni, i deyrnasu gydag ef yn y bywyd tragwyddol.

 I'r

I'r hwn gyda'r Tâd nefol, a'r Yspryd glân y bytho gogoniant yn oes oesoedd. Amen.

# ¶ Annogaeth ynghylch trefn dda ac vfydd-dod i fwyddogion a Llywodraeth-wyr.



Fe greodd ac a osododd yr Hollalluog Dduw bob peth ac y sydd yn y nef, yn y ddayar ac yn y dwfr, mewn trefn berffaith odidog. Fe a osododd yn y nefoedd wahanol ac amryw drefnau a galwedigaethau o Angelion ac Archangelion. Ar y ddayar fe a ddododd ac a osododd frenhinoedd, tywysogion, a llywiawdwyr eraill danynt hwythau, ym-mhob trefn ddaionus angenrheidiol. Yr ydys yn cadw y dwfr oddi vchod, ac mae fe yn glawio i lawr mewn dyladwy a chyfaddas amser. Mae'r haul, y lleuad, y ser, yr *enfys, y *taranau, y *mellt, y cwmmylau a holl adar yr awyr yn cadw eu trefn. Mae'r ddayar, y coed, yr hadau, y planhigion, y llysiau, yr ŷd, y glaswellt a phob rhyw anifeiliaid yn eu cadw eu hunain mewn trefn. Mae pob rhan o'r flwyddyn, megis gauaf, haf, misoedd, nosweithiau a dyddiau yn arhos yn eu trefn. Mae holl byscod y môr, afonydd a dyfroedd, holl ffynhonnau a ffrydiau, ie y moroedd eu hunain hefyd yn cadw eu gweddaidd a'u harferedig gylch a'u trefn.

* Bwa'r drindod.
* Tryfau.
* Lluched.

Ac mae dŷn ei hunan hefyd ym-mhob rhan o hono, oddifewn ac oddiallan, megis enaid, calon, meddwl, côf, deall, rheswm, ymadrodd, a phob rhan ac aelod o'r corph hefyd, mewn trefn hardd, angen-

angenrheidiol, fuddiol. Fe a osodwyd i bob gradd o bobl yn eu swyddau a'u galwedigaethau, eu dylyed a'u trefn: rhai mewn graddau uchel, rhai mewn graddau isel, rhai yn frenhinoedd ac yn dywysogion, rhai yn iselwyr ac yn ddeiliaid, yn offeiriaid ac yn wyr llyg, yn feistri ac yn wasanaethwyr, yn dadau ac yn blant, yn wyr ac yn wragedd, yn gyfoethogion ac yn dlodion: a phob un yn rhaid iddo wrth ei gilydd: megis y mae daionus drefnid Duw i'w gladfori ym-mhob peth, heb yr hwn ni ddichon un ty, un ddinas na gwladwriaeth sefyll nac arhos na pharhau.

O herwydd lle nid oes iawn drefn yno y gwladycha camarfer, rhydd-did cnawdol, traha, pechod a Babyloniaidd gymmysc. Tynnwch ymmaith frenhinoedd, tywysogion, llywodraethwyr, rheolwyr, barn-wyr a'r cyfryw raddau o drefni o Duw, ni ddichon neb na cherdded na marchogaeth y ffordd fawr heb ei yspeilio: ni ddichon neb gyscu yn ei dy ei hun a'i wely heb ei ladd, ni ddichon un dyn gadw ei wraig a'i blant a'i feddiannau mewn llonyddwch. Fe fydd pob peth yn gyffredinol: ac o hyny y mae yn rhaid canlyn pob anffawd ac echrys, a llwyr a chwbl ddistryw ar eneidiau a chyrph, golud a gwladwriaeth.

Ond bendigedig fo Duw nad ydym ni yn yr Ynys hon o Brydain fawr yn gorfod i ni oddef yr * erchyll flinderau, cyfyngderau a'r trueni, y rhai yn ddiammau y maent hwy yn eu goddef y rhai sy a diffyg y drefn ddaionus hon arnynt. A moliant fyddo i Dduw ein bod ni yn adnabod godidawg rodd Duw a ddangosodd efe i ni yn y peth ymma. Fe a ddanfonodd Duw i ni rodd arbennig, ein daionus Arglwydd frenhin James, y

* Echrydus.

frenhines Ann, tywysog Henri, ac eppil frenhinol eraill o'u cyrph hwy ill dau, a chyngor duwiol, anrhydeddus doeth; ac ychelaid ac isseliaid eraill mewn trefn dduwiol hardd.

Gwnawn ni am hynny sy ddeiliaid ein rhwymedig ddlyed gan ddiolch i Dduw â'n holl galonnau, a gweddio arno ef ar gadw y dduwiol drefn hon. Ufyddhawn bawb o waelodion ein calonnau i'w holl dduwiol gynghorau, cyfreithiau, cyhoeddladau a gorchymmynion, a phob trefn dduwiol arall. Ystyriwn scrythyrau yr Yspryd glân, y rhai a'n hannog ac a'n gorchymmyn i fod yn ufydd-ostyngedig, yn gyntaf ac yn enwedig i oruchelder y brenhin, llywydd goruchaf pawb. Yn ail i'r cyngor anrhydeddus, ac eraill bendefigion, llywodraeth-wyr a swyddogion, y rhai trwy ddaioni Duw a osodwyd ac a drefnwyd arnom. O blegid yr Holl-alluog Dduw yw awdur a pharotowydd y dull a'r drefn ymma. Megis y dywaid Duw ei hun yn llyfr y diarhebiō, drwy-
Diar.8,15. ddofi y teyrnasa brenhinoedd, ac y barna y pennaethiaid gyfiawnder; drwyddofi y rheola tywysogion a phendefigion, a holl farnwyr y ddayar. Y neb a'm carant i, mi a'u caraf hwynt.

Ystyriwn yn dda a chofiwn uchel allu ac awdurdod brenhinoedd a'u cyfreithiau, a'u barnau, a'u swyddau, nad ydynt ordeiniaethau dŷn, ond ordeiniaethau Duw: ac am hynny yr ydys mor fynych yn adrodd y gair ymma Trwyddofi. Ymma hefyd y dylem gofio ac ystyried mai Duw o'i ddoethineb, o'i ddaioni ac o'i gariad a osododd y drefn ddaionus ymma i'r rhai a garant Dduw, ac am hynny y dywaid, y neb a'm carant i, mi a'u caraf hwynt.

Yn

frenhinoedd, i lywodraeth-wyr, a'r barnwyr danynt hwy, y rhai ydynt swyddogion Duw i
wneuthur cyfiawnder, ac ydynt wrth eglur dy-
stiolaeth yr Scrythyr a'u hawdurdod a'r cleddyf
wedi ei ganiattau iddynt gan Dduw, fel y dyscodd
Paul ni, anwyl a dewisol Apostol ein Iachawdwr
Christ, i'r hwn y dlyem vfyddhau mor ddiescaelus
ac yr vfyddhaem i'n Iachawdwr Christ pe bai ef
Rom.13.1. yn bresennol. Fal hyn yr scrifenna Paul at y Rhu-
feiniaid, Ymddarostynged pob perchen enaid i'r
awdurdodau goruchaf, am nad oes awdurdod o-
nid o Dduw, a'r awdurdodau ydynt, gan Dduw
y maent gwedi eu hordeinio. Am hynny pwy byn-
nag sydd yn ymosod yn erbyn awdurdod, sydd yn
gwrthwynebu ordinhâd Duw; a'r rhai a wrth-
wynebant a dderbyniant iddynt eu hunain far-
nedigaeth: canys tywysogion nid ydynt ofnus i
weithred-wyr da, ond i'r rhai drwg. A fynni di
fod heb ofn y gallu, gwna'r hyn sydd dda ti a gai
glod gantho; canys gwasanaethwr Duw yw efe
er lles i ti: Ond os gwnai yr hyn sydd ddrwg, of-
na, am nad yw efe yn dwyn y cleddyf yn ofer, ca-
nys gwasanaethwr Duw yw efe i ddial llid ar yr
hwn a wnelo ddrwg. O herwydd paham angen-
rhaid yw ymddarostwng, nid yn vnig o herwydd
llid, ond er mwyn cydwybod. Am hynny y telwch
deyrn-ged, oblegid gwasanaeth-wyr Duw ydynt,
yn gwasanaethu i'r peth ymma.

Dyscwn ymma gan S. Paul, dewisol lestr
Duw, fod ar bob perchen enaid (nid yw efe yn diei-
thro neb, nac Apostol nac offeiriad na phrophwyd
fel y dywaid S. Chrysostom,) o'u rhwymedig ddy-
led, ac er mwyn cydwybod vfydd-dod a gwasoga-
eth i'r awdurdodau goruchaf, y rhai ydynt gwedy

eu

eu danſon mewn awdurdod oddiwrth Dduw, yn gymmaint a'u bod hwy yn rhaglawiaid i Dduw, yn fugeiliaid i Dduw, yn ſwyddogion i Dduw, yn weinidogion i Dduw, yn farn-wyr i Dduw, wedi eu hordeinio gan Dduw ei hunan, oddiwrth yr hwn yn unig y mae iddynt eu holl allu, a'u holl awdurdod. Ac nid yw yr un S. Paul yn bygwth dim llai coſp nâ thragwyddol farnedigaeth i'r holl anufyddion a wrthwynebant y gyffredinol awdurdod ymma: am nad ydynt hwy yn gwrthwynebu dyn, onid Duw: nid dychymmyg ac amcanion dyn, ond doethineb, trefn, gallu ac awdurdod Duw.

## ¶ Yr ail rhan o'r bregeth am vſydd-dod.



Yn gymmaint a darfod i Dduw greu a goſod pob peth mewn trefn weddaidd, fe a ddangoſwyd yn y rhan gyntaf o'r bregeth am drefn ac vfydd-dod, y dylyem ni hefyd ym-mhob gwladwriaeth, gadw a chynnal trefn gyfaddas, a bod yn vfydd i bob galluau, a'u hordeiniaethau a'u cyfreithiau: a bod pob llywodraeth-wyr gwedy eu hordeinio gan Dduw, er mwyn cynnal trefn ddaionus yn y byd: a hefyd a dylyai y llywodraeth-wyr ddyſcu llywodraethu a rheoli yn ôl cyfreithiau Duw: a bod eu holl ddeiliaid yn rhwymedig i vfyddhau iddynt, megis gwaſanaeth-wyr Duw, *pe rhôn a'u bod yn ddrwg, nid yn unig rhag ofn, onid er mwyn cydwybod hefyd. *Bei rhan.

Ac ymma, bobl dda, yſtyriwn yn ddiwall nad

cyfraith-

cyfraithlon i iseliaid, a deiliaid, mewn vn achos wrthwynebu a gwrthsefyll y galluau goruchaf. O herwydd eglur ydyw geiriau Paul, fod pob vn a wrthwynebo yn ennill damnedigaeth iddo ei hûn. O herwydd pwy bynnag a wrthwynebo a wrthwyneba ordinhâd Duw. Fe gafodd ein Iachawdwr Christ ei hûn a'i Apostolion lawer o gammau oddiar ddwylaw gwŷr drwg anffyddlon oeddynt mewn awdurdod. Etto ni ddarllensom ni erioed iddynt hwy nac i vn o honynt wneuthur nac anghyfundeb na gwrthryfel yn erbyn y rhai oedd mewn awdurdod. Yr ydym yn darllen yn fynych iddynt oddef yn ddyoddefgar bob trallod, blinder, sclawndyrau, ing, poenau ac angau ei hun yn vfydd heb na therfyscu na gwrthwynebu. Hwy a roesant y cwbl arno ef sydd yn barnu yn gyfiawn, ac a weddiasant yn ddwys ac yn ddifrif dros eu gelynion. Hwy a wyddent mai ordinhâd Duw oedd awdurdod y galluoedd, ac am hynny yn eu geiriau a'u gweithredoedd hwy a ddyscent i bawb vfyddhau iddynt, ac erioed ni ddyscasant y gwrthwyneb. Fe ddywedodd yr anghyfiawn farnwr Pilat wrth ein Iachawdwr Christ, Oni wyddost ti fod gallu ynoff i'th groeshoelio di, a gallu i'th ollwng di yn rhydd: Iesu a attebodd, Ni bydde i ti awdurdod arnaf, oni bai ei roddi i ti oddi-uchod.

Trwy'r hyn y dangosodd Christ yn oleu fod gallu ac awdurdod y rheolwyr drwg oddiwrth Dduw, ac am hynny nad yw gyfreithlon i'w deiliaid sefyll yn eu herbyn hwynt, er eu bod hwynt yn camarfer eu gallu. Anghyfraithlonach gan hynny o lawer yw i ddeiliaid sefyll yn erbyn eu duwiol a'u Christianogol dywysogion, y rhai ni cham-

chamarferant eu hawdurdod, ond a'i harferant i ogoniant Duw, ac er budd a lles i bobl Dduw.

Ac y mae'r Apostol sanctaidd Petr yn gorchymmyn i wasanaeth-ddynion fod yn ostyngedig i'w meistred, nid yn vnig i'r rhai daionus a mwynion, ond i'r rhai drwg gwrthgas hefyd: gan ddywedyd, mai galwedigaeth pobl Dduw yw bod yn oddefus, ac o'r blaid orthrymmedig. Ac yno y mae efe yn datcan ammynedd a dioddefgarwch ein Iachawdwr Christ, er mwyn ein hannog ni i fod yn vfydd i'n llywodraeth-wyr, ie er eu bod hwy yn annuwiol ac yn ddrwg-weithred-wyr. 1.Pet.2.18. &21.

Yn awr gwrandawn S. Petr yn ei eiriau ei hun, o herwydd ei eiriau ef ei hun a sicrhâ'n cydwybod ni orau. Fel hyn y dywaid ef yn ei Epistol cyntaf, Y gweinidogion, ymostyngwch mewn pob ofn i'ch meistred, nid yn vnig os hwy fyddant dda a mwynion, ond os hwy a fyddant ddrwg ac anghyweithas hefyd. Canys hyn sydd rasol os dwg neb gystudd o herwydd cydwybod i Dduw, gan ddioddef yn ddiachos: o herwydd pa glod sydd er bod yn dda eich ammynedd, pan gernodier chwi am eich beiau: eithr pan wneloch dda, ac er hynny yn dda eich ammynedd yn goddef, hyn sydd rasol ger bron Duw: canys i hyn y'ch galwyd chwi. Oblegid Christ hefyd a ddioddefodd trosom ni gan adel i ni siampl, fal y gallech chwi ganlyn ei ôl ef. Geiriau S. Petr ydyw'r holl eiriau hyn.

Mae Dafydd hefyd yn dangos i ni wers dda yn hyn o beth, yr hwn a erlidiwyd lawer gwaith yn greulon ac yn gamweddus, ac a ddodwyd yn fynych iawn mewn enbeidrwydd a pherigl o'i fy-

wyd

wyd gan frenhin Saul a'r bobl, etto ni wrthwy-
nebodd ef erioed, ac nid arferodd na grym nac ar-
fau yn erbyn brenhin Saul, ei elyn hyd angau:
ond fe wnai yn wastad i'w Arglwydd a'i feistr
brenhin Saul wasanaeth cywir, diwall, ffyddlon:
yn gymmaint a phan ddaroedd i'r Arglwydd
1.Sam.18.19, 20,23,24,26. Dduw roddi brenhin Saul yn ei ogof ei hun, yn-
nwylaw Dafydd, ni wnai efe eniwed iddo, pan
allasai yn hawdd heb ddim enbeidrwydd corpho-
rol ei ladd ef: ie ni oddefai ef i vn o'i weision
ddodi ei ddwylaw ar frenhin Saul, ond fe a we-
ddiodd ar Dduw yn y geiriau hyn, Na atto'r
Arglwydd i mi wneuthur y peth hyn i'm meistr,
enneiniog yr Arglwydd, gan estyn fy llaw yn ei
erbyn ef, oblegid enneiniog yr Arglwydd yw efe.

Ac y gallasai Ddafydd ladd brenhin Saul ei
elyn, mae yn eglur ddigon yn llyfr cyntaf Sa-
1.Sam.24.5, 7,19. mwel, cystal wrth dorriad cwrr ei fantell ef, ac
wrth gyffes eglur Saul ei hunan. Ac mewn man
arall hefyd yn yr vn llyfr, pan ydoedd yr annhru-
garog a'r afrywiog frenhin Saul yn erlid Dafydd
ddiddrwg, fe a roddodd Duw frenhin Saul eil-
waith i ddwylaw Dafydd, gan daflu brenhin
Saul a'i holl lu i gwsc marwol, fel y daeth Da-
fydd ac vn Abisai gydag ef o hyd nôs i werfyllfa
Saul, lle yr ydoedd Saul yn cyscu, a'i wayw-
ffon wrth ei ben, gwedy ei gwân yn y ddayar.
Yna y dywedodd Abisai wrth Ddafydd, Duw a
roddes heddyw dy elyn yn dy law di: yn awr gâd
1.Sam.26.7, 8,9. i mi ei daro ef, adolwg, â gwaywffon hyd y dda-
yar vnwaith, ac nis ail tarawaf ef: gan feddwl y
lladdai efe ef ar vn ergyd, ac na byddei raid byth
ei bryder ef.

A Dafydd a ddywedodd wrth Abisai, Na ddifa
ef,

ef, canys pwy a estynnai ei law yn erbyn enneiniog yr Arglwydd, ac a fyddai dieniwed. A dywedodd Dafydd hefyd, fel y mae 'r Arglwydd yn fyw naill ai 'r Arglwydd a'i tery ef, neu ei ddydd ef a ddaw i farw, neu ef a ddescyn i'r rhyfel, ac a ddifethir. Yr Arglwydd, a'm cadwo i rhac estyn fy llaw yn erbyn enneiniog yr Arglwydd. Ond d cymmer yn awr attolwg y waywffon yr hon sydd wrth ei obennydd ef, a'r phioled ddwfr, ac awn ymmaith: ac ef a wnaeth felly. Ymma y gwelir yn eglur na ddlyem ni wrthwynebu, na drygu mewn modd yn y bŷd enneiniog frenhin, yr hwn yw rhaglaw a rhaglywydd Duw, a'i swyddog ef yn y wlâd y mae efe yn frenhin.

Ond fe a ddywaid rhyw vn ond odid, y gallasai Ddafydd er ei amddiffyn ei hûn, yn gyfraithlon ac â chyd wybod dda ladd brenhin Saul. Ond fe wyddai Ddafydd sanctaidd na allai fe mewn modd yn y byd wrthwynebu, eniweidio neu lâdd ei oruchaf Arglwydd frenhin. Fe wyddai nad ydoedd ef ond deiliad i Saul, ac er ei fod yn anwyl gan Dduw, a'i elyn ef brenhin Saul allan o ffafor Duw: ac am hynny er maint a annogid arno, etto fe a wrthodai yn hollawl eniweidio enneiniog yr Arglwydd. Ni feiddiai fe rhac gwneuthur yn erbyn Duw a'i gydwybod (er cael o honno le ac achos) ddodi ei ddwylo vnwaith ar y brenhin, vchel swyddog Duw: yr hwn a wyddai ef ei fod yn ddŷn a gedwid ac a dedid (er mwyn ei swydd) i'w gospi ac i'w farnu gan Dduw ei hun yn vnig. Am hynny y mae fe yn gweddio mor fynych ac mor ddifrif, na bai iddo ef ddodi ei ddwylaw ar enneiniog yr Arglwydd.

Trwy y ddwy siampl ymma, y mae Dafydd

(yr hwn a elwir yn yr Scrythyr, yn wr wrth fodd calon Duw ei hûn) yn rhoddi rheol a gwers i ddeiliaid yr holl fyd na safont hwy yn erbyn eu goruchel Arglwydd frenhin: ac na chymmeront gleddyf drwy eu priodol awdurdod eu hunain yn erbyn eu brenhin enneiniog Duw, yr hwn yn v-nig drwy awdurdod Duw sydd yn dwyn y cle-ddyf, er maentaenio daioni, a chosbi drygioni: yr hwn yn vnig trwy gyfraith Dduw sydd a'r cle-ddyf ar ei orchymmyn, ac i'r hwn hefyd y mae yn perthyn pob gallu, rheolaeth, llywodraeth, cerydd a chosp, megis goruchaf lywodraethwr ar ei holl deyrnasoedd, gwledydd ac arglwyddiaethau, a hynny trwy awdurdod ac ordeinhâd Duw.

Mae etto athrawiaeth ac histori wych yn ail llyfr Samwel, yr hon sydd i'r defnydd ymma.
2.Sam.1.9. Wedi darfod i Amaleciad wrth gytundeb a gor-chymmyn Saul ei hûn, lâdd brenhin Saul, fe a aeth at Ddafydd, gan dybiaid y cai ddiolch mawr gan Ddafydd am ei newyddiau, am ddarfod iddo lâdd gelyn câs Dafydd: ac am hynny fe a ddaeth yn ebrwydd i ddywedyd wrth Ddafydd yr hyn a ddigwyddasai, gan ddwyn gantho y goron oddi-ar ben brenhin Saul, a'r fraichled yr hon oedd ar ei fraich ef, er siccrhau fod y newyddiau yn wir.

Ond yr ydoedd Dafydd dduwiol mor bell oddi wrth lawenychu am y newyddiau ymma, hyd oni rwygodd ef yn y man ei ddillad, y galarodd ef ac yr wylodd, ac y dywedodd wrth y gennad, Pa fodd nad ofnaisti estyn dy law ar enneiniog yr Arglwydd i'w ddifetha ef? Ac yn y man fe wnaeth Dafydd i vn o'i weision ladd y gennad, gan ddy-wedyd, Bydded dy waed di ar dy ben dy hûn, canys tystiolaethodd dy enau dy hûn yn dy erbyn,

gan

gan ddywedyd, mysi a leddais enneiniog yr Arglwydd.

Am hynny, gan fod y siamplau hyn mor o'eu ac mor eglur, fe wyl pawb nad ydyw ond dygyn anwybod, gwall-gôf ac anwiredd, i ddeiliaid rwgnach, gwrthryfelu, gwrthwynebu, gwrthsefyll, ymgyffro fieu gyfodi yn erbyn eu hanwyl a'u hofnadwy vchel Arglwydd frenhin, a ofododd ac a ordeiniodd Duw o'i fawr ddaioni, er lleshâd a heddwch ac esmwythder iddynt hwy. Er hynny credwn yn ddiammau (bobl Gristionogawl ddaionus) na ddlyem ni vfyddhau brenhinoedd, llywodraeth-wŷr na neb arall, pe bai'n tadau cnawdol, os hwy a orchymmynnant i ni wneuthur dim yn erbyn gorchymmyn Duw. Yn y fath bethau ni a ddlyem ddywedyd gydâ'r Apostolion, Rhaid i ni vfyddhau Duw yn fwy nâ dŷn.

Ond er hynny ar y fath achosion ni ddylêm ni sefyll yn erbyn, na gwrthryfelu, na chyfodi, nac ymderfyscu, nac ymgyffroi yn erbyn ein llywodraeth-wŷr ac enneiniog yr Arglwydd, na neb o'i swyddogion, na thrwy rym arfau nac yn vn ffordd arall. Ond yn y fath achosion ni a ddylêm yn esmwyth oddef pob cam a drygfyd, gan adel i Dduw farnu'r cwbl. Ofnwn ofnus gosp y goruchaf Dduw yn erbyn brad-wyr gwrthryfelgar, a hynny wrth siampl Chore, Dathan ac Abiram, y rhai a gyfodasant ac a rwgnachasant yn erbyn llywodraeth-wŷr a swyddogion Duw: ac am hynny yr agorodd y ddayar eu genau, ac a'u llyngcodd hwynt yn fyw. Fe ddifethwyd eraill yn ddisymmwth â thân a ddanfonodd Duw am eu melldigedig a'u gwrthryfelgar rwgnach. Eraill a darawyd â gwahanglwyf brwnt am eu dirras

ymddygiad yn erbyn eu rheolwyr a'u llywodraeth-wyr, gweinidogion Duw. Eraill a *frathwyd i angau gan seirph tanllyd. Eraill a blagwyd yn dôst, megis y lladdwyd mewn vn diwrnod bedair mil ar ddeg a saith gant o rifedi, am wrthryfelu yn erbyn y rhai a osodasai Duw mewn awdurdod. Absolon hefyd a gospwyd am wrthryfela yn erbyn ei dâd, trwy angau dieithr rhyfeddol.

*Rwygwyd.

## ¶Y drydedd ran o'r bregeth am vſydd-dod.



CHwi a glywsoch o'r blaen yn y bregeth hon am drefn ac vfydd-dod, brofi yn amlwg wrth yr Scrythyr lân a siamplau, fod pob deiliaid yn rhwymedig i vfyddhau i'w llywodraeth-wyr, ac na ddylai neb wrthwynebu, wrthryfelu, na therfysgu yn eu herbyn hwynt, *pe rhon a'u bod yn wyr drwg. Ac na thybyged neb y diangc ef yn ddigosp, ar a wnel brâd, cydfradwriaeth, traeturiaeth, a gwrthryfel yn erbyn ei oruchel Arglwydd frenhin, er dirgeled y gwnelo ef hynny, pa vn bynnag ai mewn meddwl, ai mewn gair, ai mewn gweithred, er *cyfrinacholed fytho hynny yn ei stafell ddirgel wrtho ei hun, ai yn gyhoeddus wrth ymddiddan ac ynghynghori ag eraill.

*Bei rhan.

*Rhined.

O herwydd ni ellir celu traeturiaeth, na ddêl hi i oleuni yn y diwedd. Fe fyn Duw gyhoeddi a chospi y dygyn fai câs hwnnw, am ei fod mor-

tniawn:

hufydd-dod i'r llywodraeth-wyr, er mwyn ordinhâd Duw. Ac ymma nac anghofiawn vfydd-dod y sancteiddi forwyn fair: o herwydd er ei bod hi yn anwyl iawn gan Dduw, ac yn fam naturiol i Ghrist Iesu, ac yn feichiog fawr yr amser hynny, a chyn nessed i'w hamser ac y cafas hi escor yn ei thaith: etto hi a gymmerth y pryd hynny yn llawen y daith honno (er mwyn cydwybod) a hynny yn oerfel gauaf, heb nac escus na grwgnach: a hi mor dlawd ac y gorweddodd hi mewn stabl ac yr escorodd hi yno ar Ghrist. Rom.13.5. Luc.2.4,5. Math.2.21. Rom.13.6.

Ac yn yr vn modd y mae S. Petr yn scrifennu â geiriau eglur yn ei epistol cyntaf, Ymddarostyngwch i bob dynol ordinhâd er mwyn yr Arglwydd, ac i'r brenhin fel i'r goruchaf, ac i'r llywiawd-wyr fel i'r rhai trwyddo ef a ddanfonir, er dialedd i'r rhai drwg, ac er mawl i'r rhai da: canys felly y mae ewyllys Duw. Nid rhaid i mi agoryd yssyr y geiriau hyn, maent hwy o honynt eu hunain mor eglur ac mor oleu. Nid ydyw S. Petr yn dywedyd, ymostyngwch i mi megis pen goruchaf yr Eglwys, ac nid yw efe yn dywedyd, ymostyngwch i'm canlyn-wyr i yn Rhufain, ond y mae fe yn dywedyd, ymostyngwch i'ch brenhin megis i'ch pennadur vchaf, ac i'r rhai y mae efe yn eu gosod mewn awdurdod dano, o herwydd ewyllys Duw yw i chwi ddangos felly eich gostyngeiddrwydd, ewyllys Duw yw i chwi fod mewn gostyngeiddrwydd i'ch pennadur a'ch brenhin. 1.Tim.2.1,2. 1.Pet.2.13.

Ordeinhâd Duw, a gorchymmyn Duw, a sancteiddi ewyllys Duw yw hyn, fod holl gorph pob teyrnas, a phob dyn ac aelod o honi, yn ostyngedig i'w pennadur a'u brenhin, a hynny, fel y dywedwaid Petr, er mwyn yr Arglwydd, ac fel y dywed Pawl,

Rom.13.5. Pawl, nid rhac ofn yn unig, ond er mwyn cydwybod.

Fel hyn y dyscwn gan air Duw roddi i'n brenhin y peth sydd ddyledus i'r brenhin, hynny yw, anrhydedd, vfydd-dod, trethau, defodau, teyrnged, Math.22.21. cymmorthau, cariad ac ofn. Fel hyn y gwyddom mewn rhan, ein rhwymedig ddlyed i'r awdurdod Rom.13.6. cyffredinol, dyscwn weithion gyflawni hynny: a gweddiwn yn ddifrif ac yn wastadol ar Dduw vnig roddwr pob awdurdod, dros y rhai sydd mewn awdurdod megis y mae S. Pawl yn erchi, 1.Tim.2.1,2. gan scrifennu fal hyn at Timotheus yn ei epistol cyntaf, Cynghori yr ydwyf am hynny ym-mlaen pob peth fod ymbil, gweddiau, deisyfiadau, a diolch dros bob dŷn, dros frenhinoedd, a phawb a osodwyd mewn awdurdod, fel y gallom fyw yn llonydd ac yn hoddychol, trwy bob duwioldeb ac honestrwydd: canys hyn sydd dda a chymmeradwy gar bron Duw ein Ceidwad. Fel hyn y mae S. Paul yn ddifrif ac yn hyspysol yn cynghori ac yn annog pawb i roddi diolch ac i weddio dros frenhinoedd a llywodraeth-wŷr, gan ddywedyd, Vwch law pob peth, megis pe dywedai, Er dim, ac yn bennaf dim, gwnewch eich gweddi dros frenhinoedd.

Rhoddwn fawr ddiolch i Dduw am ei fawr a'i odidog rôdd, a'i ragddarbodaeth ynghylch stât brenhinoedd. Gweddiwn drostynt, ar fod ewyllys da Duw a'i ymddiffyn tu ag attynt. Gweddiwn ar iddynt bob amser osod Duw ger bron eu llygaid. Gweddiwn ar fod ganthynt ddoethineb, cyfiawnder, llarieidd-dra, a zêl tu ag at ogoniant Duw, gwirionedd Duw, eneidiau Christianogion, a'u gwlâd. Gweddiwn ar iddynt hwy arfer eu cleddyf a'u hawdurdod yn iniawn ac yn gymmwys

mwys er maenteinio ac ymddiffyn y ffydd Gatholig a gynhwysir yn yr Scrythur lân, a'u deiliaid honest, da: ac er ofn a chosp i'r bobl ddrwg afreolus. Gweddiwn ar iddynt yn ffyddlon ganlyn llwybrau y brenhinoedd a'r blaenoriaid y mae sôn am danynt yn y Beibl, Dafydd, Ezechias, Iosias a Moses, ac eraill o'r cyffelyb. A gweddiwn drosom ein hunain ar i ni fyw yn dduwiol mewn ymddygiad Christianogawl, sanctaidd.

Felly y cawn ni Dduw ar ein hystlys, ac yno nid rhaid i ni ofni dim a ddichon dyn ei wneuthur yn ein herbyn. Felly y byddwn byw mewn gwir ufydd-dod i'n trugarog frenhin nefol, ac i'n Christianogawl frenhin dayarol. Felly y rhyngwn fodd Duw, y cawn ddawn odidog, heddwch cydwybod, a llonyddwch ymma yn y byd hwn, ac yn ôl y byd hwn ni a gawn fwynhau bywyd a fo gwell mewn heddwch, a llonyddwch, a thragwyddol ddedwyddwch yn y nef. Yr hyn beth a ganiattao efe i ni igyd, yr hwn a fu ufydd hyd angau'r groes drosom ni i gyd, Iesu Christ: i'r hwn gyda'r tâd a'r Yspryd glân, y byddo holl anrhydedd a gogoniant yr awr hon ac yn dragywydd. Amen.

## ¶ Pregeth yn erbyn putteindra ac aflendid.



ER bod aml heidiau o bob drygioni (a ddlyent eu ceryddu) bobl Gristianogol ddaionus) mae gwir dduwiolдeb, a rhinweddol fywyd gwedi myned mor *ambell, etto uwch law pob drygioni arall, mae anllywodraethus fforedd godineb. Anim.ll

godineb neu dor-priodas, putteindra, anlladrwydd, ac aflendid, nid yn unig gwedi torri i mewn, ond hefyd gwedy lliteirio gannmwyaf dros yr holl fyd, er mawr ddianrhydedd Duw, ac anfeidrol gabledd enw Christ, er cyhoeddus ddistryw gwir grefydd, a llwyr ddinistr daionus gyffredinolrwydd, a hynny mor halaeth, megis trwy fynych arfer o hono, y mae y drygioni hwn gwedy tyfu i'r fath uwchder, megis haychen ym-mhlith llawer o bobl ni chyfrifir ef yn bechod: onid yn hytrach yn ddigrifwch, yn gellwair a mwyfiant ieuengtid, yr hwn ni cheryddir, ond a ddifrawir, yr hwn ni chospir, ond a chwerddir o'i blegid.

Am hyn anghenrhaid ydyw ar hyn o bryd draethu wrthych am bechod putteindra a godineb, a dangos i chwi faint y pechod ym-ma, ac mor gâs, mor ddigasog, ac mor ffiaidd ydyw ac y cyfrifwyd ef bob amser ger bron Duw a phob dŷn daionus, ac mor ddwys y cospwyd ef gynt, trwy gyfraith Duw a chyfraithiau llawer o dywysogion: ac hefyd i ddangos i'wch ryw gyfarwyddyd, fel y galloch (trwy râs Duw) wachelyd erchyll bechod putteindra a goddineb, a byw mewn glendid ac honestrwydd. Ac er mwyn bod i chwi ystyried fod putteindra a godineb yn bechodau ffiaidd yngolwg Duw, chwi a gofiwch orchymmyn Duw, Na wna odineb. Yr hwn air, Godineb, er bod yn ei ddeall ef yn briodol am ymgymmysc ac anghyfraithlô gyfylltiad gŵr priodol â rhyw wraig arall heb law ei wraig ei hun: neu wraig gydâ gŵr heb law ei gŵr ei hun: etto trwy'r gair hwn hefyd yr arwyddocceir pob arfer anghyfraithlon o'r aelodau a osodwyd i genhedlu. Ac mae'r un gorchymmyn hwn, yr hwn sydd yn gwahardd godineb,

neb, yn paentio yn gyfiawn, ac yn gosod ger bron ein llygaid ni faint pechod putteindra: ac yn dangos yn oleu mor ffiaidd y dylyai fod y pechod ymma gan bob dŷn honest ffyddlon.

A rhac i neb o honom feddwl fod gwedy ei ddieithro ef a'i ddosparth oddiwrth y gorchymmyn hwn: pa vn bynnag fythom ai hên ai ieuangc, ai priodol ai am-mhriodol, ai gŵr ai gwraig, gwrandawn pa beth a ddywaid Duw Dâd trwy ei odidawg brophwyd Moses, Na fydded puttain ymmhlith merched Israel, na phutteinwr ymmhlith meibion Israel. Deut.23.7. Ymma y gwaherddir pob putteindra, godineb ac aflendid, bob rhyw o bobl, i bob grâdd, i bob oedran yn ddiddieithrad.

A rhac i ni frith-dybied na pherthyn yr arch neu y gorchymmyn hwn attom ni yn wir, gwrandawn beth a ddywaid Christ (perffaith ddyscawdwr pob gwirionedd) yn y Testament newydd: Mat.5.27,28. Chwi a glywsoch (medd Christ) ddywedyd wrth y rhai gynt, Na wna odineb: ond yr ydwyf fi yn dywedyd i chwi, pwy bynnag a edrycho ar wraig gan ei chwennychu, a wnaeth odineb â hi eisioes yn ei galon. Ymma y mae ein Iachawdwr Christ, nid yn vnig yn cryfhau ac yn cadarnhau y gyfraith yr hon a roddase Duw dâd yn yr hên destament, trwy ei wasanaethwr Moses yn erbyn godineb, ac yn ei gwneuthur hi o gyfiawn rym i barhau dros fyth ym-mhlith proffeswyr ei enw ef yn y Testament newydd: ond mae fe hefyd (gan ddamnio anghyfladdas ddeongliadau y Phariseaid a'r scrifennyddion, y rhai a ddyscent fod y gorchymmyn hwn yn peri i ni yn vnig ymgadw rhag godineb oddi allan, ac nid rhag chwantau aflan a gwynian ammhur) yn dyscu i ni gyfan a chyfiawn berffei-

berffeithrwydd, purder a glendid buchedd, i gadw ein cyrph yn ddihalog a'n calonnau yn bur, ac yn rhydd oddiwrth bob chwantau drwg, cnawdol ddeisyfiadau a chyfundebau.

Pa fodd gan hynny y gallwn fod yn rhyddion oddiwrth y gorchymmyn hwn: lle mae cymmaint siars wedi ei osod arnom? a ddichon gwâs wneuthur y peth a fynno, a'i feistr yn gorchymmyn y gwrthwyneb iddo? Onid Christ yw ein meistr, a ninnau iddo ef yn weision? Pa fodd gan hynny yr esceulusiwn ni fodd ac ewyllys ein meistr, a châlyn ein ewyllys a'n ffansi ein hunain? Fynghyfei-
Ioan.15.14. llon i ydych chwi, medd Christ, os gwnewch y pethau yr wyf fi yn eu gorchymmyn i chwi. Yn awr fe a orchymmynnodd ein meistr Christ i ni ymwrthod â phob aflendid yngorph ac Yspryd. Hyn, wrth hynny, sy raid i ni ei wneuthur, os ceisiwn fodloni Duw.

Yr ydym ni yn darllein yn Efangel S. Mat-
Mat.15.2. thew, i'r Pharisæaid a'r Scrifennyddion ddigio wrth Christ yn anial, am nad oedd ei ddiscyblion ef yn cadw traddodiadau yr henafiaid; canys ni olchent eu dwylo cyn cyniawa neu swpperu. Ymmhlith pethau eraill fe a attebodd Christ ac a ddywedodd, Gwrandewch a deellwch, nid yr hyn sydd yn myned i mewn i'r genau sydd yn halogi dŷn, ond y pethau a ddauant allan o'r genau sydd yn dyfod o'r galon, a hwynt hwy a halogant ddŷn. Canys o'r galon y mae meddyliau drwg yn dyfod, llofruddiaeth, torr-priodas, godinebau, lledrad, camdystiolaeth, cabledd. Dymma y pethau sy yn halogi dŷn. Ymma y gallwn weled nad llofruddiaeth, lledrad, cam-dystiolaeth a chabledd yn vnig sydd yn halogi dŷn, ond hefyd meddyliau

meddyliau drwg, tor-priodas, godineb a phut-
teindra.
Pwy sydd yn awr mor wan ei synnwyr ac y ty-
bia fod putteindra a godineb yn bethau bychain
yscafn ger bron Duw. Mae Christ yr hwn yw'r Ioan.14.6.
gwirionedd ac ni ddichon ddywedyd celwydd, yn
dywedyd fod meddyliau drwg, tor-priodas, put-
teindra a godineb yn halogi dyn; hynny yw, yn
llygru corph ac enaid dyn, ac yn ei wneuthur ef
o deml yr Yspryd glân, yn domen front ac yn
dderbynfa holl yspyrydion aflân: o dy Dduw yn
drigle sathan.
Trachefn yn Efangel Joan pan ddygpwyd y Ioan.5.11.
wraig a ddaliasid mewn godineb, ger bron Christ,
fe a ddywad wrthi hi ddos, ac na phecha mwyach.
Onid ydyw ef ymma yn galw putteindra yn be-
chod? a pha beth yw gwobr pechod, ond tragwy-
ddol angau? Os yw putteindra yn bechod, nid Rom.6.23.
yw gyfreithlon i ni ei wneuthur, o herwydd fel
y dywaid Joan, Yr hwn a wna bechod oddiafol 1.Ioan.3.8.
y mae. Ac fe a ddywed ein Iachawdwr fod pob Ioan.8.34.
yn a wnel bechod yn gaeth was i bechod. Oni
bai fod putteindra yn bechod, diau na buasai Jo-
an fedyddiwr yn ceryddu Herod am gymmeryd
gwraig ei frawd: ond fe a ddywedodd wrtho yn
blen, Nid cyfraithlon yw i ti gymmeryd gwraig Mar.6.18.
dy frawd. Nid arbedodd ef butteindra Herod, er
ei fod ef yn frenhin cadarn, ond fe a'i ceryddodd
ef yn * eofn am ei fywyd melldigedig, drwg, er * Hyf.
iddo ef golli ei ben am hynny. Ond gwell oedd
gantho oddef angau na gweled dianrhydeddu
Duw, drwy dorri ei sanctaidd airch a'i orchym-
mynion ef, ie na goddef mewn brenhin puttein-
dra heb geryddu.

Pe

Pe na buasai putteindra ddim ond digrifwch a chellwair heb achos ei wneuthur cyfrif o hono (megis y tybia llawer am dano yn y dyddiau ymma) yn wir fe fuasai Ioan yn fwy na dwbl allan o'i bwyll, os ai ef tan anfodd brenhin, os goddefai ei daslu i garchar, a cholli ei ben am beth gwael dibris. Ond fe a wyddai Ioan yn dda ddigon mor frwnt, mor ddrewllyd, mor ffiaid yw pechod putteindra yngolwg Duw, ac am hynny ni oddefai ef mo hono heb gerydda; na wnai, mewn brenhin.

Onid ydyw putteindra gyfreithlon mewn brenhin, nid yw gyfreithlon mewn deiliad. Onid yw putteindra gyfraithlon mewn dyn cyhoedd, a fyddo a swydd gyhoedd gantho, yn wir nid yw gyfraithlon mewn un diswyddau. Onid yw gyfraithlon nac mewn brenhin nac mewn deiliad, nac mewn cyhoedd swyddog, nac mewn un diswyddau: yn wir nid yw gyfraithlon nac mewn gŵr nac mewn gwraig, o ba râdd neu oedran bynnac y bônt.

Hefyd yr ydym ni yn darllein yngweithredoedd yr Apostolion, pan gasclodd yr Apostolion yr henuriaid a'r holl gynnulleidfa ynghyd, i lonyddu calonnau y ffyddloniaid y rhai oedd yn arhos yn Antiochia (y rhai a aflonyddasid trwy gauathrawiaeth rhyw Iuddewaidd bregethwyr) hwy a ddanfonasant air i'r brodyr, weled yn dda gan yr
Act.15.28. Yspryd glân a hwyntau, na ddodent arnynt faich amgenach na'r pethau angenrheidiol hyn: ymmhlith pethau eraill hwy a orchymmynnasant iddynt ymgadw rhag delw-addoliad a godineb, oddiwrth y rhai (eb y hwynt) os chwi a ymgedwch, da y gwnewch.

Edry-

Edrychwch ymma fal nad ydyw y tadau sanctaidd bendigaid ymma o Eglwys Ghrist, yn gosod ar y gynnulleidfa ddim ond pethau anghenrheidiol. Ystyriwch hefyd fod yn cyfrif putteindra a godineb ym-mhlith y pethau a orchymmynnir i'r brodyr o Antiochia ymgadw oddiwrthynt. Anghenrhaid am hynny yw, wrth gyfundeb a therfyniad yr Yspryd glân a'r Apostolion a'r henuriaid a'r holl gynnulleidfa, fod i ni felly ymgadw oddiwrth odineb a phutteindra, megis oddiwrth ddelw-addoliad ac ofergoel. Mae yn anghenrhaid er Iachawdwriaeth, ymgadw rhag delw-addoliad, felly y mae ymgadw rhag putteindra. Oes ffordd sydd nes a dywys i ddamnedigaeth, ná delw-addoliad ? nag oes. Felly hefyd nid oes ffordd nes a dywys i ddistrw corph ac enaid, nâ godineb a phutteindra.

Pa le weithian y mae y bobl a wnânt mor fychan o dor-priodas, putteindra godineb ac aflendid ? Mae yn anghenrhaid, medd yr Yspryd glân, medd y bendigedig Apostolion, medd yr henuriaid a holl gynnulleidfa Ghrist; mae yn anghenrhaid, meddant, er Iachawdwriaeth ymgadw oddiwrth butteindra. Os yw anghenrhaid i Iechydwriaeth, gwae y rhai gan esceuluso eu hiechydwriaeth, a roddant eu meddyliau i bechod mor frwnt, ac mor ddrewllyd, i fai cynddrwg, ac i ffieidd-dra mor erchyll.

## ¶ Yr ail rhan o'r bregeth yn erbyn goddineb.



FE a ddangoswyd i chwi yn y rhan gyntaf o'r bregeth yn erbyn goddineb, fel y mae y bai hwnnw ar hyn o amser, yn teyrnasu uwch law pob bai arall: a pha beth ydyw yssyr y gair, Godineb: a pha fodd y mae'r Scrythur lân yn ein hannog ac yn ein cynghori ni i wachelyd y bai brwnt ymma: ac yn ddiwethaf, pa lygredigaeth sydd yn dyfod ar enaid dyn, oddiwrth y pechod ymma, godineb.

Awn rhagom ym-mhellach a gwrandawn pa beth a ddywaid y sanctaidd Apostol S. Paul am y peth ymma: yr hwn yn scrifennu at y Rhufeiniaid, sydd gantho y geiriau hyn, Bwriwn ymmaith weithredoedd y tywyllwch, a gwiscwn arfau y goleuni. Rhodiwn yn weddus megis wrth liw dydd, nid mewn cyfeddach a meddwdod, nid mewn cydorwedd ac anlladrwydd, nid mewn cynnen a chenfigen, eithr gwiscwch am danoch yr Arglwydd Iesu Ghrist: ac na fydded eich gofal dros y cnawd er mwyn porthi ei chwantau.

Rom. 13. 12.

Ymma y mae'r Apostol yn ein hannog i daflu ymmaith weithredoedd y tywyllwch, y rhai, ym-mhlith eraill, y mae fe yn galw cyfeddach, meddwdod, cydorwedd ac anlladrwydd, y rhai ydynt oll wasanaeth-wyr i'r bai ymma, a darpariaethau i dywys ac i arwain i'r brwnt bechod cnawdol ymma.

Mae fe yn eu galw hwy yn sweithredoedd y tywyllwch, nid yn unig am fod yn arfer o'u gwneuthur

thur mewn tywyllwch, yn amser nôs, (o herwydd Ioan.3.20.
pob vn ar y sydd yn gwneuthur drwg, sydd yn ca-
shau y goleuni, ac ni ddaw i'r goleuni, rhag argy-
oeddi ei weithredoedd) ond am eu bod yn ein ty-
wys ac yn ein harwain ar hyd yr vniawn ffordd
i'r tywyllwch eithaf, lle bydd wylofain a rhinci-
an dannedd.

Ac mae fe yn dywedyd mewn man arall yn yr
vn Epistol, na all y rhai ydynt yn y cnawd foddlo- Rom.8.8.12. &c.
ni Duw: am hynny yr ydym, medd ef, yn ddyled-
wyr, nid i'r cnawd, i fyw yn ôl y cnawd; canys
os byw a fyddwn yn ôl y cnawd, meirw fyddwn.
A thrachefn y dywaid, Gwachelwch odineb. Pob
pechod a wnelo dŷn, oddi allan ei gorph y mae; ond
yr hwn a wnel odineb sydd yn pechu yn erbyn ei 1.Cor.6.18.
gorph ei hunan. Oni wyddoch fod eich corph yn
deml i'r Yspryd glân sydd ynoch, yr hwn yr ydych
yn ei gael gan Dduw, ac nad ydych eiddoch chwi
eich hunain? canys er gwerth y'ch prynwyd chwi,
am hynny gogoneddwch Dduw yn eich corph &c.
Ac ychydig o'r blaen y dywaid, Oni wyddoch fod Vers.15.
eich cyrph yn aelodau i Grist. Am hynny a gym-
meraf fi aelodau Christ, a'u gwneuthur yn aelodau
puttein? Na atto Duw. Oni wyddoch fod yr
hwn sydd yn cydio â phuttain yn vn corph â hi?
Canys y ddau, eb efe, a fyddant vn cnawd: ond yr
hwn a gyssylltir â'r Arglwydd, vn yspryd yw.

Pa eiriau duwiol y mae S. Paul yn ei hadrodd
ymma, er mwyn ein hannog a'n cynghori oddi-
wrth butteindra a phob aflendid? Teml, medd ef,
yr Yspryd glân ydyw eich aelodau chwi, yr hon
pwy bynnag a'i halogo, fe a'i dinistria Duw ef,
medd S. Pawl. Os teml yr Yspryd glân ydym,
ond anghymmhesur yw i ni varu y sanctaidd Y-

pryd hwnn oddiwrthym trwy butteindra, a gosod yn ei lle ef ddrwg ysprydion godineb ac aflendid, ac ymgyssylltu â hwynt a'u gwasanaethu. Fe a'ch prynwyd chwi, medd ef, yn brid: am hynny gogoneddwch Dduw yn eich cyrph.

1.Pet.1.18. Fe brynodd Christ yr oen dienwed hwnnw ni, o gaethiwed diafol, nid â phethau llygredig, megis arian neu aur, ond â gwerthfawr waed ei galon. I ba ddefnydd y gwnaeth efe hynny? ai er mwyn bod i ni gwympo eilwaith i'n hên aflendid an ffraidd fywyd? Nag ê yn wir, onid er mwyn bod i ni ei wasanaethu ef mewn sancteiddrwydd a chyfiawnder

Luc.1.75. holl ddyddiau ein heinioes: er mwyn bod i ni ei ogoneddu ef yn ein cyrph, trwy burder a glendid buchedd. Mae fe yn dangos hefyd fod ein cyrph ni yn aelodau i Grist. Mor anweddaidd, wrth hynny, yw i ni beidio a bod yn gydcorph a'n gwneuthur yn un â Christ, a thrwy butteindra ymgyssylltu a'n gwneuthur yn un â phuttain? Pa ammarch, neu pa gam goleuach a allwn ni ei wneuthur i Grist, na chymmeryd aelodau ei gorph ef oddiwrtho, a'u cyssylltu hwynt â phuttainiaid, â diawliaid ac ag ysprydion drwg? A pha ddianrhydedd fwy a allwn ni ei wneuthur â ni ein hunain, na thrwy aflendid colli y fath oddidog fraint a rhydd-did, gan ein gwneuthur ein hunain yn gaethweision ac yn ddrwain garcharorion i ysprydion y tywyllwch?

Ystyriwn gan hynny yn gyntaf ogoniant Christ: yn ail ein lles, ein braint a'n rhydd-did ein hunain, yn yr hwn y gosododd Duw ni, gan roddi i ni ei sanctaidd Yspryd: ac ymddiffynnwn hwnnw yn gefnog yn erbyn Satan a'i holl fachellion twyllodrus: felly anrhydedder Christ, ac na chollom-

ninnau

nimmaw ein rhydd-did, ond arhos yn wastadol yn
un yspryd ag ef.

Hefyd yn ei epistol at yr Ephesiaid, mae 'r Apo-
stol sanctaidd yn gorchymmyn i ni fod mor bûr ac
mor rhydd oddiwrth odineb, anlladrwydd a phob Ephes.5.3.
aflendid, fal na enwer hwy yn ein plith, megis y
gwedde i sainct, na serthedd, na geiriau ffôl, na
choeg-ddigrifwch, y rhai nid ydynt weddus, eithr
yn hytrach diolchgarwch: canys yr ydych yn gwy-
bod hyn, am bob putteinwr, neu aflan, neu gybydd
yr hwn sydd ddelw-addolwr, nad oes iddynt etife-
ddiaeth yn-nheyrnas Christ a Duw. Ac er mwyn
cofio o honom fod yn sanctaidd, yn bur ac yn rhydd
oddiwrth bob aflendid, mae 'r Apostol sanctaidd
yn ein galw ni yn sainct, am ein bod gwedy ein 1.Cor.6.9.
sancteiddio a'n gwneuthur yn sanctaidd trwy
waed Christ, a thrwy r' Yspryd glan.

Gan hynny os ydym sainct, pa beth sydd i ni a
wnelom ag arferion y cenhedloedd. Megis (medd
S. Petr) y mae 'r hwn a'ch galwodd chwi yn sanc-
taidd, byddwch chwithau hefyd sanctaidd ym-
mhob ymarweddiad: o herwydd scrifennedig yw, 1.Pet.1.15. Le.11.44.
Am hynny byddwch sanctaidd, canys sanctaidd
ydwyf. Hyd hyn y clywsoch orthrymmed pechod
yw godineb a phutteindra, ac mor ffiaidd gan
Dduw ef trwy r' Scrythur. A pha fodd nad y pe-
chod ffieiddiaf ac a ddichon bod, yw yr hwn ni ellir
unwaith ei enwi ym-mhlith Christianogion: llai
o lawer y dlyid mewn modd yn y byd ei wneu-
thur ef.

Ac yn sicer os ni a bwyswn faint y pechod ym-
ma, ac a'i hystyriwn ef yn ei iawn rywogaeth, ni
a gawn weled mai pechod putteindra yw'r *llynn Ylling.
diffaithiaf, a'r pwll bryntaf, a'r sodd fa ddrewllyd,
i'r

i'r hwnn y lliseirtia ac y rhêd pob pechod, a phob drygioni arall, lle hefyd y mae iddynt drigfa a phreswylfod.

O blegid onid yw y godinebwr yn falch o'i butteindra? fel y dywaid y gwr call, Maent hwy yn llawen darffo iddynt wneuthur yr hyn sydd ddrwg, ac yn llawenychu mewn pethau drwg anianol. Onid ydyw y godinebwr yn ddiog, ac heb ymhoffi mewn un ymarfer dduwiol, ond yn unig yn ei hoffddigrifwch brwnt anifeiliaidd hynny? Onid ydyw ei feddwl ef wedy ei lusco a'i dynnu ymmaith oddiwrth bob amcanion rhinweddol, ac oddiwrth bob trafael ffrwythlon, a chwedy ymroi yn unig i ddychymmygion cnawdol? Onid yw y putteinwr yn rhoddi ei feddwl ar lothineb, er mwyn bod yn barottach i wasanaethu ei wyniau a'i hoffderau cnawdol? Onid ydyw y godinebwr yn rhoddi ei feddwl a'r gybydd-dod, ac i grafu ac i gasclu oddiar eraill, er mwyn bod yn aplach i faentaenio ei butteiniaid, a'i orddérchadon, ac i barhau yn ei serch brwnt anghyfraithlon? Onid ydyw ef yn chwyddo mewn cenfigen yn erbyn eraill, gan ofni hudo ei ysclyfaeth ef, a'i thynnu hi ymmaith oddiwrtho? Hefyd onid ydyw efe yn llidiog ac yn llawn o ddigofaint ac anfodlonrwydd, ie yn erbyn y rhai anwylaf gantho, os rhwystrir un amser ei ddamuniad cnawdol diawledig ef? Pa bechod, neu pa ryw o bechod ni chyssylltir â godineb a phutteindra?

Rhyw anghenfil yw efe a llawer o bennau iddo: mae fe yn derbyn pob rhyw feiau, ac yn gwrthod pob rhyw rinweddau. Os ydyw un pechod yn dwyn damnedigaeth, pa beth a dybygir am y pechod a gyssylltir ac a gyfeillechir a phob drygioni?

yr hwn y mae pob peth sydd gâs gan Dduw, damnedig i ddŷn, a hôff gan Sathã yn ei ganlyn. Mawr yw 'r ddamnedigaeth sydd ynghrog vwch-ben godinebwyr a phutteinwyr.

I ba beth y sonniaf am aflesau eraill a dyfant ac a lifant o * lacca drewllyd putteindra? Oni chollir trwy odineb a phutteindra enw da gŵr neu wraig, yr hwn yw'r trysor y mae pob dŷn honest yn gwneuthur mwyaf cyfrif o hono? Pa dreftadaeth neu fywyd? pa olud? pa dda? pa gyfoeth nas difa putteindra, ac nas dwg yn ddiddim mewn ychydig amser? Pa ddewrder a pha gryfder ni wanheir yn fynych ac ni ddistrywir trwy butteindra? Pa synwyr cyn barotted na ddotier ac na ddeleir trwy butteindra? Pa degwch (er mor odidog fo) nad anffurfir trwy butteindra?

Domi

Onid ydyw putteindra yn elyn i brydferth flodeuyn ieuengctid? Ac onid yw yn dwyn penllwydni a henaint cyn yr amser? Pa ddawn naturiol (er mor werthfawr fo) na lygrir trwy butteindra? Onid yw y frêch fawr a llawer o glefydō eraill yn dyfod o butteindra? O ba le y daw cymmaint o fastardiaid a phlant ordderch, i fawr anfodlonrwydd Duw, a thorriad priodas sanctaidd, onid o butteindra? Pa faint sydd yn difa eu da a'u golud, ac yn cwympo yn y diwedd i ddygyn dlodi, ac yn ôl hynny yn lledratta ac yn cael eu crogi, trwy butteindra? Pa ymrysson a lladdfau a ddaw o butteindra? Pa sawl merch a * anwyrysir? Pa sawl gwraig a lygrir? Pa sawl gweddw a wradwyddir trwy butteindra? Pa faint y tlodir ac y trallodir y cyfoeth-cyffredin trwy butteindra? Pa faint y dirmygir ac y ceblir gair Duw trwy butteindra a phutteinwyr?

Dreisir,

O'r pechod hwn y daw llawer o'r yscaroedd, y rhai a arferir yn y dyddiau hyn mor arferedig, trwy awdurdod gwŷr diswyddau, er mawr ddigofaint Duw, a thorriad sancteiddiaf gwlwm a rhwym priodas: o herwydd pan ddarffo i'r pechod ffiaidd ymma ymlusco unwaith i * ascre y godinebwr, fel y rhwydir ef mewn cariad aflan anghyfraithlon, fe a ddirystyra yn y man ei wir a'i gyfraithlon wraig, fe a gashâ ei phresennoldeb hi, mae ei chwmpeini ni yn drewi ac yn wrthwynebus gantho: pa beth bynnag a wnêl hi, a ogenir: nid oes llonyddwch yn y tŷ yr hyd y bytho hi mewn golwg: am hynny, i wneuthur chwedl byrr, rhaid iddi fyned ymmaith, o blegid ni ddichon ei gŵr ei haros hi ym-mhellach. Fel hyn trwy butteindra y troir ymmaith y wraig honest ddieniwed, ac y derbynir puttain yn ei lle hi.

* Fonwes.

Yn yr un modd y digwydda yn fynych o ran y wraig tuag at ei gŵr. Dymma ffiaidd-dra anferth. Pan ddaeth ein Iachawdwr Christ Duw a dŷn i adferu cyfraith ei nefol dâd i iawn ystyr, meddwl a deall y gyfraith honno, ym-mhlith pethau eraill fe a * ddiwygiodd gam-arfer y gyfraith hon. O herwydd lle daroedd i'r Iuddewon arfer hir oddefiaeth trwy ddefod ddodi o'r gwŷr eu gwragedd ymmaith wrth eu hewyllys am bob achos: fe a geryddodd Christ y drwg arfer hynny, ac a ddyscodd, pwy bynnag a wrthotto ei wraig, onid am odineb (yr hwn yr amser hynny wrth gyfraith oedd yn haeddu angau) ei fod yn torri priodas, ac yn gwneuthur i'w wraig hefyd yr yscarid ef â hi, odinebu, os hi a gyssylltid â gŵr arall, ac i'r gŵr hefyd a gyssylltid â hi, odinebu.

* Iniawnodd.

Ym-mha gyflwr gan hynny y mae y godineb-

wyr.

wyr ymma, y rhai o gariad ar buttain a wrthodant eu gwir a'u cyfraithlon wragedd, yn erbyn cyfraith, uniondeb, rheswn a chydwybod? Oh mor ddamnedig yw'r stât y maent yn aros ynddi. Distryw ebrwydd a gwymp arnynt os hwy ni edifarhânt ac ni wellhânt. O herwydd ni oddef Duw byth ddianrhydeddu, a chashâu, a diystyru sanctaidd briodas. Fe a gospa ryw bryd y bywyd cnawdol anllywodraethus ymma, ac a wnâ bod y sanctaidd ordinhâd ymma mewn parch ac anrhydedd. O herwydd, medd yr Apostol, Anrhydeddus yw priodas ym-mhawb, a'r gwely dihalogedig: eithr putteinwyr a'r godinebus a farna Duw: hynny yw, fe a'u cospa ac a'u damna hwynt. Heb.13.4.

Ond i ba beth y cymmerir y boen ymma yn datcan ac yn gosod allan faint pechod yw putteindra, a'r afles a dŷf ac a lifeiria o hono: lle y pallai anadl a thafod dŷn yn gynt nag y gallai gwbl gyhoeddi y pechod hwn yn ôl ei ddiffeithwch a'i anferthrwydd? Er hynny hyn a ddywedwyd er mwyn bod i bawb wachelyd putteindra a byw mewn ofn Duw. Duw a wnêl nas dywedpwyd yn ofer.

## ¶ Y drydedd ran o'r bregeth yn erbyn godineb.



Hwi a ddyscasoch yn yr ail rhan o'r bregeth am odineb, a ddarllenwyd i chwi ddiwethaf, mor ddifrif y mae'r Scrythur lân yn ein rhybyddio ni i wachelyd pechod godineb, ac i gofleidio glendid buchedd;

chedd: a'n bod ni yn cwympo trwy odineb i bob rhyw bechod, ac yn myned yn gaeth-weision i ddiafol: ac o'r ystlys arall y'n gwneir trwy lendid buchedd yn aelodau i Grist: ac yn ddiwethaf mor bell y dŵg godineb ddŷn oddiwrth bob duwioldeb, ac y denfyn ef yngwysc ei ben i bob beiau, drygioni ac aflwydd.

Mi a fynegaf i'wch yn awr mewn trefn â pha gospedigaethau trymion y plagodd Duw odineb yn yr amseroedd gynt, a pha fodd y cospodd llawer o dywysogion bydol y pechod ymma, fel y galloch weled fod putteindra a godineb yn bechodau mor echryslon yngolwg Duw a phob dŷn daionus, ac y dangosais eisoes.

Yn llyfr cyntaf Moses yr ydym yn darllen, pan ddechreuodd dynion amlhau ar y ddayar, i wŷr a gwragedd osod eu meddyliau mor gwbl ar chwantau cnawdol a choeg-ddigrifwch, hyd oni fuont fyw yn ddiofn Duw. Pan welodd Duw eu bywyd ffiaidd anifeiliaidd hwynt, a deall nad oeddynt yn gwellhâu, ond yn hytrach eu bod yn cynnyddu fwyfwy beunydd yn eu pechodau a'u harferon aflan; fe a edifarhaodd Duw iddo wneuthur dŷn: ac er dangos mor ffiaidd oedd gantho odineb, putteindra, anlladrwydd a phob aflendid, fe a wnaeth i holl ffynhonnau y dyfnderoedd dorri allan, ac a egorodd ffenestri'r nefoedd, fel y glawiodd hi ar y ddayar dros ddeugain diwrnod a deugain nôs: ac felly y distrywiodd ef yr holl fyd a holl ddynawl ryw, oddieithr wythnŷn o bobl yn unig: y rhai hynny oedd Noah pregethwr cyfiawnder (fel y geilw Petr ef) a'i wraig, a'i dri mab a'u gwragedd.

Oh pa anial blâ a dafiodd Duw ymma ar holl

grea-

greaduriaid bywiol y bŷd, am bechod puttein-
dra? Am yr hwn y dialodd Duw nid ar ddŷn yn Gen. 6.7.
vnig, onid hefyd ar yr holl anifeiliaid, ehediaid,
a'r holl greaduriaid byw. Fe a laddesid dynion ar
y ddayar o'r blaen, etto ni ddystrywiwyd y bŷd
am hynny: ond am butteindra fe a orchguddiwyd Gen. 4.8.
yr holl fŷd â dwfr, ac a ddifethwyd oddieithr ychy-
dig. Siampl wiw ei chofio er ein dyscu ni i ofni
Duw.

Yr ydym yn ddarllein eilwaith ddinystr So- Gen. 19.24.
doma a Gomorrhah a dinasoedd eraill cyfagos
iddynt, trwy dân a brwmstan o'r nef, am frwnt
bechod aflendid, fel na adawyd na gŵr na gw-
raig, na phlentyn nac anifail, na dim ar a dyfodd
ar y ddayar heb ddinistr. Calon pwy nid * echry- Chryna.
dia wrth glywed yr histori ymma? Pwy sy weddi
foddi mor ddwfn mewn putteindra ac aflendid,
na adawo weithian dros fyth heibio y fath gâs a
ffiaid fywyd, gan fod Duw yn cospi aflendid mor
dôst a glawio tân a brwmstâ o'r nef, i ddistrywio
dinasoedd cyfain, i ladd gwŷr a gwragedd a
phlant, a'r holl greaduriaid byw oedd yn aros
yno, ac i ddifa â thân bob peth a dyfai yno. Pa
arwyddion a ddichon bod eglurach, o ddigofaint
Duw a'i lid, yn erbyn aflendid ac am-mhurder
bywyd? Ystyriwch yr histori hon (ddaionus bobl)
ac ofnwch ddialedd Duw.

Onid ydych yn darllein hefyd i Dduw daro
Pharao a'i holl dŷ â phlagau mawrion, am iddo
yn annuwiol chwennychu Sarah gwraig Abra- Gen. 20.3.
ham? Felly yr ydym yn darllein am Abimelech
brenhin Gerar, er na chyhyrddasai â hi trwy gyd-
nabyddiaeth cnawdol. Dymma 'r plagau a'r
cospedigaethau a daflodd Duw ar ddynion bryn-
tion.

tion aflan, cyn rhoddi y gyfraith (pan oedd cyfra-
ith naturiaeth yn unig yn teyrnasu ynghalon-
nau dynion) er dangos faint y cariad oedd gan-
tho ef at briodas: ac eilwaith faint y casbae efe
odineb, putteindra a phob aflendid.

Ac wedy rhoddi y gyfraith, sydd yn gwahardd
putteindra, trwy Moses, i'r Iuddewon, oni or-
chymmynnodd Duw ddodi i farwolaeth y sawl
Le.20.10. a'i torrai hi? Dymma eiriau y gyfraith, Y gŵr
yr hwn a odinebo gydâ gwraig ei gymmydog, lla-
dder yn farw y godinebwr a'r odinebwraig, am
iddo dorri priodas gydâ gwraig ei gymmydog.
Num.25.4. Fe a orchymmynnir yn y gyfraith hefyd, Os de-
lir llangces a gŵr ynghŷd mewn putteindra, eu
llabyddio hwy ill dau hyd angau. Yr ydym ni yn
darllein mewn man arall i Dduw orchymmyn
i Moses gymmeryd y pennaethiaid, y rheolwyr
a thywysogion y bobl, a'u crogi ar grogbrennau
yn amlwg, am iddynt naill ai gwneuthur godi-
neb eu hunain, ai am nas cospasent ef mewn
eraill. Trachefn, oni ddanfonodd Duw y fâth
blâ ym-mhlith y bobl am odineb ac aflendid, hyd
oni laddodd o honynt mewn un diwrnod bedair
mil ar hugain.

Eissiau amser mi a adawaf heibio lawer o hi-
storiau eraill o'r Beibl sanctaidd, y rhai a ddan-
gosant i ni fawr ddialedd a thrwm lid Duw yn
erbyn putteinwyr a godinebwyr. Siccr yw fod
y greulon gosp a osododd Duw, yn dangos yn
eglur ddigon mor gâs gan Dduw butteindra.
Ac nac amheuwn fod Duw yn yr amser hwn yn
casbâu aflendid, cymmaint ac yr ydoedd ef yn yr
hên gyfraith: ac nas cospa ef y pechod ymma yn
ddiammau yn y bŷd hwn, ac yn y bŷd a ddaw:
o her-

o herwydd Duw yw efe na ddichon arhos drygioni.

Am hynny y dlye bawb wachelyd y drygioni hwn, ac fy yn gofalu am ogoniant Duw ac Jechydwriaeth eu heneidiau eu hunain. Psal 5.4.

Mae S. Paul yn dywedyd ddarfod scrifennu pob peth ar a scrifennwyd er siampl i ni, i ddyscu ini ofni Duw, ac vfyddhau i'w sanctaidd gyfraith ef. O herwydd os Duw nid arbedodd y canghennau naturiol, nid arbed ef nyni y rhai nid ydym ond impiau, os gwnawn y cyfryw drosseddau. Os distrywiodd Duw lawer mil o bobl, lawer o ddinasoedd, ie a'r holl fyd, am butteindra, na wenhieithiwn mo honom ein hunain, ac na thybygwn y diangwn ni yn rhyddion, ac yn ddigosp. O herwydd fe a addawodd yn ei gyfraith sanctaidd ddanfon plau tostion ar y trosedd-wyr, neu y rhai a dorrant ei sanctaidd orchymmynion ef. 1.Cor.10.11. Rom.11.

Fel hyn y clywsoch pa fodd y mae Duw yn cospi pechod godineb, gwrandawn weithian ryw gyfreithiau a osododd llywodraethwyr bydol, mewn amryw wledydd er ei gospi: fel y caffom wybod fod aflendid yn ffiaidd ym-mhob dinas a gwladwriaeth hydrefn, ac ymmhlith dynion honest.

Hyn oedd y gyfraith ym-mhlith y lepreaid, Hwy a rwyment yr hwn a ddelid mewn godineb, ac a'i dygent ef dros dri diwrnod trwy'r ddinas: yn ol hynny yr hyd y byddai byw, fe a ddirmygid, a thrwy gywilydd a gwradwydd, a gyfrifid yn ddyn heb ddim honestrwydd ynddo.

Ym-mhlith y Locriaid yr ydys yn tynnu dau lygad y godinebwr.

Y Rhufeiniaid gynt a gospent odineb, weithiau â thân,

â thân, weithiau â'r cleddyf. Os delid neb mewn godineb ym-mhlith yr Aiphtiaid, y gyfraith oedd iddo gael ei chwippio yngwydd y bobl, hyd fil o wialennodiau: a'r wraig a ddelid mewn godineb gydag ef, a dorrid ei thrwyn, fel y gellid gwybod byth o hynny allan ei bod hi yn buttain, ac y ffieiddid hi gan bawb.

Ym-mhlith yr Arabiaid y torrid pennau y rhai a ddelid mewn godineb, oddiar eu cyrph.

Yr Atheniaid a gospent butteindra ag angau, yn yr un modd. Felly y gwnai y Tartariaid diddysc, difedr.

Ac hyd heddyw ym-mhlith y Twrciaid y llabyddir i angau yn ddidrugaredd, y gwr a'r wraig a ddalier mewn godineb. Fel hyn y gwelwn pa gyfreithiau duwiol a wnaethpwyd gynt gan awdurdodau goruchel, er tynnu ymmaith butteindra, ac er maentaenio priodas sanctaidd, a phûr ymddygiad.

Ac etto nid oedd gwneuthurwyr y cyfreithiau ymma yn Gristianogion, onid cenheloedd; etto hwy a garent honestrwydd a phurdeb buchedd cymmaint, fel y gwnaent gyfreithiau daionus, duwiol, er maentaenio y pethau hynny, heb oddef o fewn eu teyrnasoedd, odineb a phutteindra i deyrnasu yn ddigosp.

Fe a ddywedodd Christ wrth yr Iuddewon anffyddlō, y cyfode y Ninifiaid ddydd y farn yn erbyn
Math.12.41. y genhedlaeth honno, i'w chondemno, am iddynt hwy edifarhau ar bregethiad Ionas, ac wele (medd efe) un mwy nâ Ionas ymma, (gan fedd wl am dano ei hûn) ac etto nid edifarhasant.

Oni chyfyd (dybygwch chwi) yn gyffelyb y Locriaid, Arabiaid, Atheniaid ac eraill o'r fath hynny,

ny, i'r farn yn ein herbyn ni i'n condemnio; yn gymmaint ac iddynt hwy ymgadw rhag putteindra ar orchymmyn dŷn, ac mae gennym ni gyfraith ac eglur orchymmyn Duw, ac er hynny nid ydym yn ymadel â'n haflan ymddygiad. Yn wir, yn wir fe fydd esmwythach yn-nydd y farn i'r cenhedloedd hynny nag i ni, onid edifarhawn ni a gwellhau. O herwydd, er bod angau corphorol, yn ein golwg ni, yn gosp drom, dost, yn y bŷd hwn am butteindra: etto nid yw y gosp honno ddim wrth y blinedig boenau a orfydd ar odinebwyr, putteinwyr a dynion aflan, eu goddef yn ôl y bywyd hwn.

O herwydd fe a geuir yr holl rai hynny o deyrnas nefoedd, fel y dywed S. Paul; Na thwyller 1.Cor.6.9.
chwi, ni chaiff na godinebwyr, nac addolwyr de- Gal.5.21.
lwau, na thorwyr priodas, na drythyllwyr, na'r Ephes.5.5.
rhai Sodomiaidd, na chybyddion, na meddwon, na difenwyr, na chribddeilwyr etifeddu teyrnas
Dduw. Ac y mae Joan yn dywedyd yn ei weledi- Gwel.21.8.
gaeth, y caiff y putteinwyr eu rhân gyd â lladdwyr, cyfareddwyr, a'r delw-addolwyr, a'r rhai celwyddog, yn y pwll sydd yn llosci â thân a brwmstan, yr hwn yw'r ail angau.

Er bod cosp y corph yn angau, etto mae iddo ddiwedd, ond mae cosp yr enaid, yr hwn y mae Joan yn sôn am dano, yn dragywydd. Yno y bydd tân a
brwmstan, yno y bydd wylofain ac scyrnygu dan- Luc.3.9.
nedd, yno y prŷf a gno gydwybod y rhai a ddam- Matth.13.30.
nier, ni bydd marw byth. Oh, calon pwy ni ddifera ddafnau gwaed wrth wrando ac ystyried y pethau hyn.

Os yscrydiwn ac os *crynwn wrth glywed enwi Echrydiwn.
y pethau hyn, pa beth a wnawn wrth eu clywed hwy au goddef, ie a'u goddef byth ac yn dragywydd.

wydd. Duw a drugarhao wrthym.
Suddo. Pwy sydd bellach wedi *soddi mewn pechod cyn
ddyfned, a chwedy ymadel â phôb duwioldeb cyn
llwyred; ac y gwnel yn fwy o'i hoffder a'i ddigrif-
wch drewllyd brwnt (yr hwn a aiff yn ebrwydd
heibio) nag o golli gogoniant tragwyddol? Pwy
ailwaith a'i rhydd ei hunan i chwantau cnawdol
Rhag poenau. cyn belled, ac nad ofno ef *am boenau tân uffernol?
Ond gwrandawn bellach pa fodd y gwachelwn
butteindra a godineb, fel y rhodiom mewn ofn
Duw, ac y byddom ryddion oddiwrth yr holl ar-
taithiau a'r poenau anescorol trymmiō y rhai sydd
ar fedr pob dŷn aflan.

Er gwachelyd godineb, putteindra, a phob a-
flendid, cadwn ein calonnau yn bur ac yn lân o-
ddiwrth bob meddwl drwg a chwantau cnaw-
dol: o herwydd os y galon a lygrir ni a gwym-
pwn lwyr ein pennau i bob rhyw annuwioldeb.
Hyn a wnawn ni yn esmwyth, os ni pan gly-
won ein hên elyn Sathan yn ein temptio, ni chy-
tunwn mewn ffordd yn y byd â'i dwyllodrus
ddichellion ef, gan ei wrthwynebu ef yn ddewri-
on, trwy ffydd gadarn yngair Duw, a chan osod
yn ei erbyn ef yn wastadol yn ein calonnau, y
gorchymmyn hwn, a roddodd Duw i ni, Na
wna odineb, scrifennedig yw, Na wnâ butteindra.

Da fydd i ni hefyd fyw yn wastadol mewn ofn
Duw, a gosod gar bron ein llygaid dôst fygythiau
Duw, yn erbyn annuwiol bechaduriaid: ac ysty-
ried yn ein calonnau mor frwnt, mor anifeiliaidd
ac mor fyrr yw'r digrifwch a'r hoffder, i'r hwn y
mae Sathan yn ein hudo ac yn ein llithio ni yn
wastad: ac eilwaith fod y gosp a osodwyd am y
pechod hwnnw yn anescorol ac yn dragwyddol.

Hefyd

Hefyd arferwn sobrwydd, a chymmedrolder a chymmer dda wrth fwytta ac yfed, a gwachelwn bob chwedleu aflan; ac ymgadwn oddiwrth bob cwmpniaeth ddrwg, Gwachelwn seguryd, ymhyfrydwn o ddarllen yr Scrythur lân; gweddiwn mewn gweddiau duwiol, a myfyriadau rhinweddol; a phob amser ymarferwn o ryw boen a thrafel duwiol; a'r pethau hyn a'n cynnorthwyant ni yn fawr i ymgadw rhag putteindra.

Ac ymma y rhybyddir pob grâdd o ddynion, priodol ac am-mhriodol, i garu purdeb a glendid buchedd. O herwydd mae 'r priodol yn rhwym wrth gyfraith Dduw, i garu ei gilydd yn bur ac yn glau, heb i vn o honynt geisio cariad dieithr.

Mae yn rhaid i'r gŵr lynu wrth ei wraig yn vnig, ag i'r wraig lynu wrth ei gŵr yn vnig. Mae yn rhaid iddynt ill dau ymhoffi ynghymdeithas ei gilydd: na chwennycho yr vn o honynt neb arall. Ac fel y maent hwy yn rhwymedig i fyw ynghŷd mewn duwioldeb a phob honestrwydd, felly eu swydd hwy hefyd a'u dlêd yw dwyn eu plant i fynu yn rhinweddol, a darbod na bo iddynt gwympo i * lindagan Sathan, nac i vn aflendid, ond bod o honynt yn bur ac yn honest mewn priodas sancteiddi, pan ddelo'r amser. Faglau.

Felly hefyd y dylai feistred a cheolwyr ddarbod nad arferer na phutteindra nac aflendid ymmhlith eu gwasanaeth ddynion.

A thrachefn os y rhai sydd heb briodi a ymglywaint ynddynt eu hunain, na allant fyw heb gwmpeini gwraig, priodant, a byddant fyw ynghyd yn dduwiol, o herwydd gwell yw priodi na llosci. I ochel godineb (medd yr Apostol) cymmered pob gŵr ei wraig ei hûn, a phob gwraig ei gŵr ei hun. 1.Cor.7.2.

Yn

Yn ddiwethaf, y rhai sydd yn clywed ynddynt eu hunain, y gallant (trwy weithrediad Yspryd Duw) fyw yn unig, ac yn * ymattalus, clodforant Dduw am eu rhoddiad, a cheisiant bob ffordd ac a allont i gadw ac i gynnal y cyfryw roddiad: megis trwy ddarllein yr Scrythur lân, trwy fyfyrdodau duwiol, a gweddiau dyfal, a'r fâth rinweddol arferon eraill.

Ddiweir.

Os ceisiwn oll yn y modd ymma ymgadw rhag godineb, putteindra a phob aflendid, a dwyn ein bywyd mewn duwioldeb ac honestrwydd, gan wasanaethu Duw â chalonnau glân pûr, a'i ogoneddu ef yn ein cyrph, drwy ddwyn ein bywyd yn ddiddrwg ac yn ddieniwed, siccr y gallwn fod o rifedi y rhai y mae ein Iachawdwr Christ yn yr Efengyl yn dywedyd fel hyn am danynt, Gwyn eu bŷd y rhai glân o galon, canys hwy â welant Dduw: I'r hwn yn unig y bô pob gogoniant anrhydedd, rheolaeth a gallu yn oes oesoedd. Amen.

Matth.5.8.

# ¶ Pregeth yn erbyn ymryson ac ymdaeru.



Heddyw y cyhoeddir i 'wch (bobl ddaionus Gristianogawl) afles a chywilyddus anhonestrwydd ymryson, cynhennau, ac anghytundebau, er mwyn gwedi i chwi weled megis wedi ei baentio ym-mlaen eich llygaid, anharddwch ac anweddeidd-dra y bai atcas ymma, y troer eich calonnau i gyfodi yn ei erbyn, ac i gashau, ac i ffiaiddio y pechod hwnnw, yr hwn sydd

sydd mor gâs, ac mor ofidus, ac mor ddrygionus gan bawb.

Ond ym-mhlith pob ymryson, nid oes vn mor ddrygionus ac yw ymryson mewn Christianogawl greddyf. Gâd heibio (medd S. Paul) chwedlau ac achau anorphen, y rhai a barant gwestionau, yn fwy nag adailadaeth dduwiol. Ni ddaw ar wasanaethwr Duw ymladd ac ymryson, ond bod yn dirion tuag at bob dŷn. 1.Tim.1.4.

Y cynhennau a'r ymrysonau ymma oedd yn amser S. Paul ym-mhlith y Corinthiaid, ac y sydd yr amser ymma yn ein plith ninnau y Brutaniaid: o herwydd gormodd sydd o ddynion, y rhai ar eu meingciau cwrw, a'r fath leoedd eraill, a ewyllysiant ymbyngcio, ac ymgwestiwnu, nid er adailadaeth, ond er gwag-ogoniant, ac er ymffrostio o'u cyfarwyddyd; a hynny gan ymresymmu a chan ymddadleu mor ansyber; fel pan nad ymroddo y naill i'r llall, y maent hwy yn tyfu weithiau o eiriau twymon i chwaneg o anweddeidd-dra.

Ni allai Paul ym-mhlith y Corinthiaid oddef gwarando y geiriau hyn o anghytundeb ac ymryson, Eiddo Paul wyfi, Eiddo Apollos wyfi, minnau eiddo Cephas. Pa beth a ddywede ef, with hynny, pe clywai y geiriau hyn o ymryson, y rhai sydd ganmwyaf yngenau pob vn o honom, Pharisai yw hwn accw, Efangylwr yw hwn; mae hwn o'r ffordd newydd, hwn o'r hen ffordd: hwn accw yn frawd newydd, hwn yn dâd Catholicda: hwn yn Bapist, hwn yn heretic? 1.Cor.3.4.

Oh, pa fodd y rhannwyd yr Eglwys? oh pa fodd y torrir ac y rhwygir, y carpiwyd ac y drylliwyd ein dinasoedd! oh pa fodd y mysciwyd ac y chwalwyd Darnodwyd.

llwyd pais Christ, oedd ryw amser yn ddi-wniad?
oh ddirgeledig corph ein Iachawdwr Christ? pa le
y mae'r undeb llwyddiannus sanctaidd, allan o'r
hwn pwy bynnag y sydd, nid oes mo hono yn-
ghrist? Os tynnir un aelod oddiwrth y llall, pa le
y bydd y corph? Os tynnir y corph oddiwrth y
pen, pa le y bydd bywyd y corph? Ni ellir ein cys-
sylltu ni â Christ ein penn oddieithr ein gludio ni
ynghŷd â chyfundeb a charedigrwydd bob un tu
ag at ei gilydd. O herwydd y neb nid yw o'r undeb
ymma nid yw o Eglwys Ghrist, yr hon yw cyn-
nulleidfa a chŷd-undeb, ac nid dosparthiad ac
anghyttundeb.

Mae S. Paul yn dywedyd yr hŷd y byddo i'n
1.Cor.3.4. plith ni genfigen, ymryson, a chynhennau, ein bod
ni yn gnawdol, ac yn rhodio yn ddynol. Ac mae S.
Iac.3.4. Iaco yn dywedyd os bydd gennym ni genfigen
chwerw, ac ymryson yn ein calonnau, nad ym-
lawenhaom ynddo. O herwydd lle mae ymryson
mae anwadalwch a phob gorchwylion drŵg.

A pha ham na wrandawn ar S. Paul, yr hwn
sydd yn deisyf arnom lle gallai orchymmyn i ni,
gan ddywedyd, Yr ydwyf yn deisyf arnoch yn enw
1.Cor.1.10. 'r Arglwydd Iesu Ghrist, ddywedyd o bawb o ho-
noch yr un peth, ac na byddo anghyfundeb yn eich
plith, ond bod o honoch yn un farn. Os ydyw ei
ddeisyfiad ef yn rhesymmol ac yn honest, pa ham
nad ydym yn ei ganniatau? Os ydyw ei ddamu-
niad ef i'n budd ni, pa ham yr ydym yn ei wrthod?
Oni chwennychwn wrando ei arch a'i ddeisyfiad
ef, gwrandawn er hynny ei annogaeth ef, lle y
mae fe yn dywedyd, Yr ydwyf yn attolwg arnoch
Ephe.4. rodio o honoch yn deilwng o'r galwedigaeth y'ch
galwyd iddi, ym mhob lledneisrwydd ac addfw-

ymdra, ynghŷd ag ymaros gan oddef ei gilydd mewn cariad, gan ymroi i gadw vndeb yr Yspryd ynghwlwm tangnheddyf: o herwydd vn corph sydd ac vn ysprŷd, vn ffydd, vn bedydd.

Nid oes (medd ef) ond vn corph, o'r hwn ni ddichon ef fod yn aelod byw, yr hwn sydd mewn anghyttundeb â'r aelodau eraill. Nid oes ond vn ysprŷd, yr hwn sydd yn cyssylltu ac yn clymmu y cwbl yn vn. A pha fodd y teyrnasa yr vn ysprŷd hwn ynom, pan fythom gwedi ymrannu yn ein plith ein hunain? Nid oes ond vn ffŷdd. Pa fodd y gallwn ninnau ddywedyd, Mae fe o'r hên ffŷdd, ac yntef o'r newydd? Nid oes ond vn bedydd, ac oni fyddant hwy oll a fedyddiwyd, yn vn?

Mae anghyttundeb yn gwneuthur dosparth, am hynny ni ddylc hi fod ym-mhlith Christianogion, y rhai y mae vn ffydd ac vn bedydd yn eu cyssylltu ynghŷd mewn vndeb. Ond os diystyrwn ddamuniad ac annogaeth S. Paul, etto ar y lleiaf meddyliwn am ei ymbil taer ef, yn yr hwn y mae fe yn gorchymmyn i ni yn ddifrif iawn, ac (fel y gallwn ddywedyd) yn ein tynghedu ni yn y dull a'r modd ymma, Os oes gan hynny ddim diddanwch yn Ghrist, os oes cyssur cariad, os oes dim cymdeithas â'r Yspryd, os oes dim tosturi a thrugaredd, cyflawnwch fy llawenydd ar i chwi fod yn vn fryd, a chennych yr vn rhyw galon, ac yn meddwl yr vn peth, fel na wneler dim trwy gynnen neu wâg-ogoniant. Phil. 2. 1.

Pwy sydd ac yntho ddim ymyscaroedd tosturi, na chyffroir â'r geiriau hyn (y rhai ydynt llymmach nag vn cleddyf dau-finiog) i beidio ag ymryson ac ymgynhennu?

Am hynny ymegniwn i gyflawni llawenydd

S. Paul yn y man ymma, yr hwn yn y diwedd a sydd llawenydd mawr i ninnau mewn man arall. Darllenwn felly'r Scrythur, fel y'n gwneler yn well ein bywyd, ac nid yn ddadleuwyr ymrysongar.

Os bydd anghenrhaid mewn dim ddyscu, neu ymresymmu neu ymddadleu, gwnawn hynny yn fwyn, yn dirion ac yn lledneis. Os digwydd i neb ddywedyd dim yn anweddaidd, cyd-ddyged y naill â gwendid y llall. Yr hwn a fyddo ar y bai, gwellhaed, ac nac ymddiffynned yr hyn a ddywedodd dros y ffordd: rhag iddo wrth ymddadleu Amryfyscdd. gwympo o *gamsynnaid lledffrom i wrthgas heresi gyndyn: canys gwell yw ymroi yn lledneis, na gorchfygu trwy dorri cariad perffaith, yr hyn a ddigwydd yn fynych, pan fô pob un yn wrthnyfig yn ymddiffyn ei opinion ei hûn.

Os ydym ni Gristianogion, pa ham na chan- Matt 11.29. lynwn ni Grist, yr hwn a ddywaid, Dyscwch gennifi, am fy môd yn llaryaidd ac yn ostyngedig o galon. Rhaid i'r discybl ddyscu ei wers gan ei athro, ac i'r gwâs ufyddhau gorchymmyn ei feistr.

Iac.3.13. Yr hwn (medd S. Iaco) sy ddoeth a dyscedig, dangosed ei ddoethineb wrth ymddygiad da ei weithredoedd mewn mwyneidd-dra. O herwydd lle bytho cenfigen ac ymryson, nid yw y doethineb hynny yn dyfod oddiwrth Dduw, eithr daiarol, anifeiliaidd a chythreulig yw hi: o herwydd mae'r doethineb sydd yn dyfod oddiuchod, yn bûr, yn heddychol, yn foneddigaidd, yn hawdd ei thrin, heb chwennych ymryson, yn ufydd yn dyscu, yn ddirwgnach, yn rhoi lle i'r rhai a ddyscont yn well er eu huniawni hwy. O herwydd byth ni bydd diben ar ymryson, os ymrysson wn ni pwy wrth ymryson

dŷn arall, yr ydym yn dyblu ac yn chwanegu ein ffolineb ein hunain.

Ond y mae gan y rhai gwrthgas lawer o *escusodion i escusodi eu hanoddefgarwch. Nid yw fyngelyn i (meddant hwy) deilwng i dderbyn geiriau neu weithredoedd tirion, ac yntef mor llawn o genfigen ac atcasrwydd. Po an-nheilyngafyddo efe, bodlonaf fydd Duw i tithau, a mwy fydd y glôd a rydd Christ i ti, er mwyn yr hwn y dylit ti dalu da am ddrwg, am iddo orchymmyn i ti, a haeddu hefyd arnat ti wneuthur felly.

*Escuson i esculo.

Fe ddigiodd dy gymmydog dydi ond odid ar air; cofia dithau fynyched a thrymmed mewn geiriau a gweithredoedd y digiaist di dy Arglwydd Dduw. Pa beth oedd dŷn pan fu farw Christ drosto ef? Ond ei elyn ef ydoedd, ac an-nheilwng o'i ewyllys da ef a'i drugaredd? Felly â pha dirionder a dioddefgarwch y mae efe yn goddef ac yn dwyn gydâ thydi, er dy fod ti beunydd yn ei ddigio ef? Maddeu dithau i'th gymmydog gamwedd bychan, fel y maddeuo Christ i titheu filoedd o gamweddau, gan dy fod di yn pechu beunydd. O herwydd os dydi a faddeu i'th frawd y camweddau a wnaeth â thi, fe fydd hynny arwydd ac argoel diogel y maddau Duw i tithau, yr hwn y mae pawb yn ddyledwyr iddo, ac y mae pawb yn pechu yn ei erbyn.

Pa fodd y mynnit ti fod Duw yn drugarog wrthit ti, os tydi a fyddi greulon wrth dy frawd? Oni chlywi di ar dy galon wneuthur i'th gydymmaith yr hyn a wnaeth Duw i ti, yr hwn nid wyt ond gwâs iddo? Oni ddyle y naill bechadur faddeu i'r llall, a Christ yr hwn nid oedd bechadur yn gweddio ar ei dâd dros y rhai yn ddidrugaredd,

ac

ac yn drahaus a'i dodasant ef i angau? Yr hwn
pan ddirmygwyd ni ddirmygodd ellwaith, pan
1.Pet.2.23. ddioddefodd yn gamweddus ni fygythiodd eithr
rhoddodd y dial ar y neb sy yn barnu yn gyfiawn:
a pha beth a wnai di yn ymfrostio o'th ben, onid
ymegnïi ar fod yn y corph. Ni elli di fod yn aelod
i Ghrist, oni chanlyni di ôl troed Christ: yr hwn
Es.53.7. (fel y dywed y Prophwyd) a arweiniwyd fel oen
i'r lladdfa, fel dafad o flaen y rhai a'i cneifiai y tawe,
ac nid agorai ei enau i gablu, ond i weddio tros
y rhai a'i croeshoelient ef, gan ddywedyd, y Tâd,
maddeu iddynt o herwydd ni wyddant pa beth y
maent yn ei wneuthur.

Luc.23. Y siampl yma, yn y man ar ôl Christ, a ganly-
Act.7.60. nodd Stephan, ac yn ei ôl yntef Paul, Pan y'n
1.Cor.4. difenwer, medd ef, yr ydym yn bendithio, pan y'n
12,13. herlidier yr ydym yn goddef, pan y'n cebler yr y-
dym yn gweddio. Fel hyn yr addyscodd Paul yr
Rom.12.14. hyn a arferodd, ac yr arferodd yr hyn a addyscodd.
Bendithiwch (medd ef) y rhai sy yn eich ymlid,
bendithiwch, meddaf, ac na felldithiwch.

Ai peth mawr i ei ddywedyd yn dêg wrth dy
wrthwynebwr, a Christ yn gorchymmyn i ti w-
2.Sam.16.12. neuthur daioni iddo. Ni chablodd Dafydd pan
ddifenwodd Simei ef, ond dywedyd yn oddefgar,
Gedwch iddo, a melldithied, ond odid yr Ar-
glwydd a ddyry i mi ddaioni am ei felldithef.

Mae'r historiau yn llawn o siamplau am rai
o'r cenhedloedd anghredadwy, y rhai a gymmc-
rasant yn esmwyth eiriau dirstyr, trahaus, a
gweithredoedd traws, camweddus.

Ac a gaiff y cenhedloedd anghredadwy hynny
ein blaenori ni mewn goddefgarwch, y rhai ydym
yn proffessu Christ, dyscawdwr a siampl pob di-
oddefga-

oddefgarwch? Lysander pan ddisenwai vn ef a'i gablu, ni chyffroe ronyn, ond dywedyd, Cerdda, cerdda, dos a dywed yn fy erbyn gymmaint ac a fynnych, a chyn fynyched ac y mynnych, ac na ad ddim heb ddywedyd, os gelli di felly *arllwys y pethau drwg hynny allan o honot, o'r rhai y mae yn debyg dy fod ti yn llawn: llawer a ddywedant yn ddrwg am bawb, eisiau medru dywedyd yn dda am neb. Dyna'r modd yr yngadwodd y gwr doeth hwnnw rhag y geiriau trahaus a ddywedpwyd wrtho, gan wneuthur cyfrif eu bod hwy yn dyfod oddiwrth glefyd naturiol ei wrthwynebwyr.

* Arloesi.

Pericles pan y difenwodd rhyw gablwr ac ymsennwr ef, nid attebodd ef vn gair, ond myned i ryw *rodfa ddirgel: a thu a'r nôs wrth fyned adref, yr ymsennwr hwnnw a'i canlynodd ef ac a'i difenwodd fwyfwy, wrth weled fod y llall yn ei ddiystyru: ac wedi ei ddyfod ef hyd at ei borth ef, a hi yn nos tywyll, Pericles a archodd i vn o'i weision oleu canwyll, a hebrwng yr ymsennwr adref i'w dŷ ei hun. Ni oddefodd ef yn vnig yr ymddaerwr ymma yn esmwyth, ond hefyd talu da am ddrwg, a hynny i'w elyn.

* Dreiglfa.

Ond yw gywilydd i ni sy 'n proffessu Christ, fod yn waeth na'r cenhedloedd anghredadwy, a hynny mewn peth a berthyn at ffydd a chrefydd Grist? A ammog philosophyddiaeth fwy arnynt hwy, nag a ammog gair Duw arnom ni? A weithia rheswm naturiol fwy ynddynt hwy, nag a wna gwir greddyf ynom ni? A dywysa doethineb dŷn hwynt hwy i'r peth nis gall yr athrawiaeth nefol ein tywys ni? Pa ddallineb, pa gyndynrwydd, a pha ymfydrwydd yw hyn?

Pericles

Pericles pan annogwyd ef i ddigofaint â llawer o eiriau chwerwon atcas, nid attebodd ef vn gair. Ond os cyffroir ni â'r gair lleiaf, pa fyd a wnawn ni? Pa fodd y ffrommwn ni, y gwyllтiwn ni, y ffustwn ni ein traed wrth y llawr, ac y rhythwn lygaid fel dynion ynfyd? Fe a wna llawer dŷn ddefnydd mawr o beth gwael dibris, ac o wreichionen y gair lleiaf y cynner tân mawr, pan gymmerer pob peth yn y rhan waethaf.

Ond pa faint gwell, a thebyccach i siampl ac athrawiaeth Christ, fyddai wneuthur o fai mawr yn ein cymmydog, fai bychan, gan ymresymmu ynom ein hunain fel hyn, Fe a ddywedodd y geiriau hyn am danaf, ond yn ei lid a'i frydaniaeth y dywad ef hwynt, neu y ddiod a'u dywad hwynt ac nid efe, neu efe a'u dywad hwy wrth archiad vn arall, neu fe a'u dywad hwy eisieu gwybod y gwirionedd, neu fe a'u dywad hwy nid yn fy erbyn i, ond yn erbyn y cyfryw vn ac y tybiodd ef fy mod i.

Ond am ddywedyd drwg, pwy bynnag sydd yn barod i ddywedyd drwg am eraill, holed ef ei hunan yn gyntaf, beth yw ef ai bod yn ddifai ac yn lân oddiwrth y bai y mae efe yn ei weled mewn dŷn arall, ai nad yw. O herwydd mae'n gywilydd i ddŷn feio ar arall, a bod yn euog o'r vn bai ei hun, neu o fai a fytho mwy. Mae'n gywilydd i ddŷn dall alw dŷn arall yn ddall, a mwy cywilydd i vn a fô cwbl ddall alw y coegddall yn llygatgam: Canys hyn yw gweled brycheuyn yn llygad arall, ac heb weled y trawst yn ei lygad ei hun.

Ystyried hefyd am y neb a arfero ddywedyd drwg, y dywedir fynychaf ddrwg am dano yntef.

Y neb

Y neb a ddywetto yr hyn a fynno, er ei foddloni ei hunan, a gaiff glywed yr hyn ni fynnai, er ei anfoddloni.

Cofied hefyd yr ymadrodd ymma, Y gorfydd arnom roddi cyfrif am bob gair ofer. Pa fodd ganhynny na orfydd arnom roddi cyfrif o'n geiriau llymmion, chwerwon, cynnhennus, y rhai a gyffroant ein brawd i ddigllonedd a thor-cariad? Ac am attebion atcas, er maint y'n cyffroer ni trwy ddrwg eiriau rhai eraill, etto ni ddylem ni ganlyn eu hafrywiogrwydd hwynt drwy ddrwg attebion, os nyni a ystyriwn mai mâth ar ynfydrwydd a gwallgof yw digllonedd, a bod yr hwn sy ddig, tros hynny o amser allan o'i bwyll. Am hynny gwacheled rhag iddo ddywedyd yn ei ymfydrwydd, y peth a orfydd arno ar ôl hynny edifaru am dano. Mat.12.36.

A'r neb a ymddiffynno nad yw digllonedd yn ynfydrwydd, ond bod gantho reswm pan fytho diccaf, ymresymmed ag ef ei hun pan fytho dig: yr ydwyfi yn awr wedi fy-nghyffroi a'm digio, mi a fyddaf yn y man o feddwl arall: pa ham gan hynny y dywedaf yn awr yn fy-nigllonedd y peth ar ôl hyn, er i mi ewyllysio, ni allaf ei newid? Paham y gwnaf finnau ddim yn awr, a minnau allan o'm côf, am yr hyn pan ddelwyf eilwaith attaf fy hûn, y byddaf trwm a thrist? Pa ham na ddichon rheswm, paham na ddichon duwioldeb, pa ham na ddichon Christ ei hunan gael hynny yn awr ar fy llaw i, yr hyn o'r diwedd a gaiff amser gennif?

Os gelwir vn yn odinebwr, yn occrwr, yn feddwyn, neu ar enw cywilyddus arall, ystyried yn ddifrif pa vn yw hynny ai gwir ai celwydd: os

gwir

gwir, gwellhaed ei feiau, fel na allo ei wrthwyneb-wr gael achosion ar ôl hynny i *ddannod iddo y fath feiau: os ar gam y dywedir hynny arno, ystyried pa un a wnaeth ef ai rhoddi achosion i dybied y fath bethau am dano, ai nas rhoddes: ac felly y gall dorri ymmaith y *dybygaeth honno, o'r hon y mae'r *enllib ymma yn tyfu, a byw yn *wagelocca h mewn pethau eraill.

* Edliw.

* dyb.

* Sclawndr.

* diesceulusach.

Ac wrth ein harfer ein hunain yn y modd hyn, ni allwn ni gael eni wed yn y byd, ond yn hytrach lles mawr oddiwrth geryddau ac *enllibiau ein gelyn. O herwydd fe ddichon trahausdra gelyn fod yn llymmach yspardun i'n cymmell ni i wellhau ein bywyd, na rhybyddiau tyner ein caredigion.

* Sclawndyrau.

Philip brenhin Macedonia, pan geblid ef gan bennaduriaid dinas Athen, a ddiolchodd iddynt yn fawr, am ddarfod ei wellhau ef oddiwrthynt yn ei eiriau a'i weithredoedd: o herwydd yr ydwyf yn mystyrio, eb efe, yn fy-ngeiriau a'm gweithredoedd, ar ei gwneuthur hwy yn gelwyddog.

## ¶ Y drydedd ran o'r bregeth yn erbyn ymryson.



CHwi a glywsoch yn y rhan ddiwethaf o'r bregeth yn erbyn cynnen ac ac ymryson, pa fodd y gallwn atteb i'r rhai sy yn ymddiffyn eu geiriau afrywiog mewn ymryson, ac a ddialant â geiriau y drwg a wnelo eraill iddynt: ac yn ddiwethaf, pa fodd y mae i ni yn ôl ewyllys Duw ein trefnu ein hunain a pha beth sy raid i ni ei ystyried

tuag

tuag attynt hwythau, pan y'n cyffroer â geiriau tanbaid i gynnen ac ymryson.

Yn awr, i fyned ym-mlaen yn yr un peth, chwi a gewch wybod y ffordd i orfod ac i orchfygu eich gwrthwynebwr a'ch gelyn. Dymma'r ffordd orau i ddyn i orfod ei wrthwynebwr, byw felly, fel y tystiolaetho pawb ac sydd yn adnabod ei honestrwydd ef, fod yn ei * enllibio ef yn ddiachos. Os bydd y bai a haerir arno, o'r fath ac y bô rhaid iddo atteb, er mwyn ymddiffyn ei honestrwydd, attebed yn esmwyth ac yn * arafaidd, yn y modd ymma, fod yn haeru y beiau hynny arno ef yn gamweddus.

* Sclawndyre.

* Araf.

O herwydd gwir yw yr hyn a ddywaid y gwr doeth, Atteb araf a ddettry llid, ond gair garw a gyffry ddigofaint. Atteb afrywiog Nabal a gyffrôdd Ddafydd i ddial creulon, ond geiriau tyner Abigail a ddiffoddodd y tân eilwaith, oedd o'r blaen yn fflammychu yn anial.

Dihar. 15. 1.

1. Sam. 25. 13.

Ac nid oes * cyferbyn well yn erbyn tafodau drwg, nâ'n harfogi ein hunain a goddefgarwch, llarpaidd-dra a distawrwydd, rhag wrth amlhau geiriau â'n gelyn, ein gwneuthur ni mor ddrwg ac yntef.

* Rhwymedi.

Ond fe alle y gosode y rhai ni allant oddef un gair drwg, yn lle escus drostynt eu hunain, yr hyn sydd scrifennedig, Yr hwn a esceuluso ei enw da sydd greulon. Ac eilwaith, Atteb yr ynfyd fel yr haeddo ei ynfydrwydd. Ac er i'n Iachawdwr Christ am ryw bethau a ddywedid am dano, dewi a sôn: etto fe a attebodd rai yn ddifrif. Fe a glywodd rai yn ei alw yn Samaritan, yn fab y saer, yn gyfeddachwr gwin, ac nid attebodd ddim: ond pan glywodd ef hwynt yn dywedyd,

Diarh. 26. 5.

mae

Ioan.7.20. mae cythraul gennitti, fe a attebodd yn ddifrif.
Gwir yw fod amser i atteb yr ynfyd yn ôl ei yn-
fydrwydd, rhag iddo fod yn ddoeth yn ei olwg ei
hun: ac weithiau nid yw iawn atteb yr ynfyd yn
ôl ei ynfydrwydd, rhac myned o'r doeth yn gyffe-
lyb i'r ynfyd.

Pan fo'r cywilydd a'r syrhâd a wnaer â ni yn
gyssylltedig â pherigl i lawer o ddynion, yna
anghenrhaid yw bod yn ebrwydd ac yn barod i
atteb. O herwydd yr ydym yn darllen i lawer o
wŷr duwiol mewn zêl dda, wrtheb ac atteb tyran-
niaid creulō a gwŷr drwg, yn danbaid ac yn chwe-
rw. Etto nid oedd y geiriau llymion hyn yn dy-
fod o ddigofaint, llid, cenfigen a chwant ymddial,
ond o wir chwant i'w dwyn hwy i adnabod gwi-
rionedd Duw, ac i'w tynnu oddiwrth eu hannu-
wiol fywyd, trwy geryddfa ac argyoeddfa ddifri
lemdost.

Mat.3.7. Yn y zêl hon y galwodd Ioan fedyddiwr y Pha-
risæaid yn genhedlaeth gwiberod, ac y galwodd
Gal.3.1. S. Paul y Galathiaid yn angall, a'r Cretiaid yn
gelwyddog, drwg fwystfilod, boliau gorddiog: ac
Tit.1.12. y galwodd ef y gau-apostolion yn gŵn, ac yn
Phil.3.2. ddrwgweithredwyr.

Ac y mae ei zêl ef yn dduwiol, yn ddiargyoedd,
ac wedi ei phrofi yn eglur wrth siampl Christ, yr
hwn er ei fod ef yn ffrwd ac yn ffynnon pob llary-
eidd-dra, tynerwch ac arafwch, etto fe a alwodd y
Matt.23.11. Pharisæaid a'r Scrifennyddion gwythnyssig yn
V.24.v.27. dywysogion deillion, yn feddau gwedy eu gwyn-
galchu, yn hypocritiaid, yn seirph, yn hiliogaeth
Matt.16.23. gwiberod, yn genhedlaeth felldigedig ddrwg. He-
fyd fe a geryddodd Petr yn dost, gan ddywedyd,
Dôs yn fy ôl Sathan.

Y mae

Y mae S. Paul hefyd yn ceryddu Elymas y swynwr, gan ddywedyd, Oh yn llawn o bob dichell, a phob drygwaith, mab diafol, a gelyn pob cyfiawnder, yr hwn ni pheidi â gŵyro iniawn ffyrdd yr Arglwydd, yn awr wele mae llaw'r Arglwydd arnat, a thi a fyddi ddall heb weled yr haul dros amser. Act.13.10.

Ac mae S. Petr yn argyoeddi Ananias yn galed iawn, gan ddywedyd, Ananias, paham y llanwodd Sathan dy galon, i beri i ti ddywedyd celwydd wrth yr Yspryd glân. Act.5.3.

Ffe fu y zêl hon mor wresog mewn llawer o wyrda, hyd oni chyffrôdd hi hwynt nid yn unig i ddywedyd geiriau llymdost, chwerwon; ond i wneuthur llawer o bethau hefyd, a dybyge rai eu bod yn greulon, ond mewn gwirionedd ydynt yn gyfiawn, yn gariadus ac yn dduwiol: am na wnaethpwyd hwynt o lid, o genfigen neu chwant ymryson, ond o feddwl gwresog i ogoneddu Duw a chospi pechod, gan y rhai a alwyd i'r swydd honno.

O herwydd y zêl hon yr ymlidiodd ein Iachawdwr Christ â fflangell neu chwip, y prynwyr a'r gwerthwyr allan o'r deml. Ioan.2.14. O herwydd y zêl hon y torrodd Moses y ddwy lêch a dderbyniasai ef gan yr Arglwydd, pan welodd ef blant yr Israel yn dawnsio ger bron y llo, fe a'i torrodd ef yn ddrylliau ac a barodd ladd o'i bobl ef hŷ dair mil o wyr. Exo 32.19. Verſ. 28. Yn y zêl hon y gwanodd Phinees mab Eleazar, â gwaywffon trwyddynt Zimri a Chosbi, pan ddaliodd hwynt mewn godineb. Num.25.8.

Nid ydyw y siamplau ymmal bawb i'w canlyn, ond i'r rhai a osodwyd mewn swydd ac awdurdod.

I ddychwelyd gan hynny at eiriau ymrysongar, yn enwedig ynghylch ffydd a chrefydd, a gair Duw (yr hwn a ddylid ei arfer mewn llednéisrwydd, sobrwydd a diweirdeb) fe a ddylid fynnu yn

dda ar eiriau S. Iaco, a'u cofio, lle mae fe yn dy-
Iac.3.16. wedyd mai o ymryson y tyf pob drygioni. A'r bren-
Diarh.20.3. hin doeth Salomon a ddywaid hefyd, Anrhydedd yw i wr beidio ag ymryson, ond pob ffol a fyn ymmyrraeth.

Ac o herwydd bod y bai hwn yn ddrwg ar les pob cyfeillach a chyffredinwolrwydd, yr ydys ymmhob dinas hydrefn yn cospi cyffredin ymsennwyr ac ymdaeriaid â rhyw gospedigaeth gyhoedd, megis trwy eu gosod ar ystôl-drochi, ar y pilwri neu'r cyfryw.

Ac ni haeddant hwy fyw mewn gwlâd, y rhai, hyd y gallant, sydd trwy ymsennu ac ymryson, yn aflonyddu heddwch a thangnheddyf y wlâd. Ac o ba le y daw y cynhennau, yr ymrysonau, a'r anghyfundebau ymma, ond o falchedd a gwâg-o-
1.Pet.5.6. goniant. Ymostyngwn gan hynny, tan alluog law Dduw, yr hwn a addawodd edrych ar ostyn-
Luc.1.48. geiddrwydd y rhai o yspryd isel. Os ydym ni Gristianogion llonydd, da, ymddangosed hynny yn ein geiriau a'n tafodau.

Os ymwrthodasom ni â diafol, nac arferwn mwy dafodau dieflig. Yr hwn a fu ymsennwr ac ymdaerwr, bydded bellach gynghorwr araf. Yr hwn a fu enllibiwr cenfigennus, bydded bellach ddiddanudd cariadus. Yr hwn a fu wâg-ymsennwr, bydded bellach athro ysprydol. Yr hwn a gamarferodd ei dafod yn melldithio, bellach iawnarfered ef yn bendithio. Yr hwn a gamarferodd ei dafod yn dywedyd drwg, bellach iawnarfered ef yn dywedyd daioni.

Bwriwch ymmaith oddiwrthych bob llid, ymryson a chabledd. Os gellwch ac os bydd possibl, na ddigiwch mewn modd yn y byd. Ond os chwi

ni

ni ellwch fod yn ddiangol oddiwrth y gwyniau hyn, etto tymmherwch a ffrwynwch hwy fel na allont eich cyffroi i ymryson ac ymsennu. Os cyffroir chwi â drwg eiriau, ymarfogwch â dioddefgarwch, tiriondeb a distawrwydd, naill ai trwy fod heb ddywedyd dim, ai trwy fod yn arafaidd, yn llaryaidd, ac yn fwynaidd wrth atteb.

Gorchfyga dy wrthwynebwr â chymmwynasau ac â thiriondeb. Ac vwch law pob peth cedwch vndeb a thangnheddyf: ac na fyddwch dorwyr heddwch ond gwneuthurwyr heddwch. Ac yno yn ddiammau fe a ganiattâ awdur pob diddanwch a heddwch, i ni heddwch cydwybod, a'r fath gydgordiad a chyttundeb, megis ag vn genau ac vn meddwl y gogoneddom Dduw Tâd ein harglwydd Iesu Ghrist, i'r hwn y byddo pob gogoniant yr awr hon ac yn dragywydd.

Amen.







# ¶ Yr ail rhan o Lyfr yr Homiliau neu'r *Pregethau*.

## ¶ Pregeth am iawn arfer eglwys neu deml Dduw a'r parch sydd ddyledus iddi.



Ae'n ymddangos llawer iawn o bobl yn yr amser hyn escaelusrwydd a gwall mawr am fyned i'r eglwys i wasanaethu Duw eu tad nefol yno, yn ol eu rhwymedigaeth ddyledus: ac hefyd ymddygiad anweddaidd anostyngedig llawer o ddynion yn yr amser y byddont gwedy ymgynull: ac am y dichon yn gyfiawn gyffroi ofn digofaint Duw a'r * echrydus blaau sydd uwch ein pennau am ein beiau trymmion yn hyn o beth, ymhlith llawer a mawr bechodau, y rhai yr ydym yn eu gwneuthur bob dydd a phob awr ger bron yr Arglwydd.

Esa. 66. 1.
Act. 7. 48.

Act. 17. 24.

1. Bren. 8. 27.
2. Cro. 2. 6.

* Arswydus erchyll.

addangoses yn yr Epistol cyntaf at y Corinthiaid.
Oni wyddoch, medd yr Apostol, mai teml Dduw 1.Cor.3.16,17
ydych, a bod Yspryd Duw yn aros ynoch? Os
llygra neb deml Dduw Duw a lygra hwnnw,
canys sanctaidd yw teml Dduw, yr hon ydych
chwi. Ac adwaith yn yr un Epistol, Oni wyddoch 1.Cor.6.19.
chwi fod eich cyrph yn deml i'r Yspryd glan y-
noch, yr hwn yr ydych yn ei gael gan Dduw, ac
nad ydych yn eiddochwi eich hunain, canys er
gwerth y prynwyd chwi, gan hynny gogonedd-
wch Dduw yn eich corph ac yn eich yspryd y
rhai ydynt eiddo Duw.

Ac am hynny fal y dywaid ein Iachawdwr
Christ yn Efengyl S. Ioan, Maent hwy yn a-
ddoli Duw Dad yn inion, y rhai a'i addolant ef
mewn Yspryd a gwirionedd pa le bynnac y bo-
nelont hynny. O herwydd y fath addolwyr y mae
Duw Dad yn edrych amdanynt. Duw sydd Y- Ioan.4.24.
spryd a'r sawl a'i haddolant ef rhaid yw iddynt ei
addoli ef mewn Yspryd a gwirionedd, medd ein
Iachawdwr Christ.

Etto er hyn mae'r eglwys neu'r deml ddefny-
ddiol yn lle gwedy ei osod a'i appwyntio wrth ar-
fer a siamplau gwastadol yr hen Destament a'r
newydd, i bobl Dduw i ymgynull iddo, i wran-
do sanctaidd air Duw, i alw ar ei sanctaidd enw
ef, i roi diolch iddo am ei aneirif a'i an-nhrae-
thawl ddoniau y rhai a roddodd ef ini, ac yn ddy-
ledus ac yn gywir i wasanaethu ei sanctaidd Sa-
cramentau ef, wrth wneuthur a chyflawni y-
hyn bethau ysydd gwir ac iniawn addoliad Duw,
a soniasom o'r blaen amdano. A'r eglwys neu'r
deml hono a elwir yn scrythyrau yr hen Destament
a'r Testament newydd, yn dy neu deml yr Ar-

 glwydd

glwydd; o herwydd yr enwedig [illegible]
a wna ei bobl a'u [illegible] efyno, a'i [illegible]
bresenoldeb ei nefol ras ef, a'r hwn trwy ei sanc-
taidd air y cynysgaedda ef ei bobl a fyddont gwedy
ymgynull yno.

Ac i'r tŷ a'r deml Dduw hynny y mae pawb
o'r gwir Dduwiolion yn rhwymedig i ddyfod bob
amser yn ddyfal, trwy gyffredinol drefn, oni rwy-
strir hwy trwy glefyd neu ryw achos anghenrhei-
diol arall. Ac fe ddylei bawb ac a arferant o ddy-
fod yno, ymddwyn yn llonydd ac yn ostyngedig,
gan wneuthur eu rhwymedig ddyled a'u gwasa-
naeth i'r holl-alluog Dduw ynghynnulleidfa
ei saint.

Yr holl bethau hyn a ellir eu profi yn eglur
trwy sanctaidd air Duw, fal yr agorir yn oleu ar
ol hyn. Ac mi a ddangosaf wrth yr scrythurau fod
yn ei alw ef (fal y mae fe yn wir) yn dŷ Dduw,
Ioan.18.20. ac yn deml yr Arglwydd. Pwy bynnag a dyngo
i'r deml sydd yn tyngu iddi ac i'r hwn sydd yn pres-
Math.23.21. wylio ynddi, hynny yw Duw Dad: yr hyn y mae
Ioan.2.16. fe yn ei ddangos yn eglur yn Efengyl S. Joan,
gan ddywedyd, na wnewch dŷ fy-nhad yn dŷ mar-
chnad. Ac mae'r Prophwyd Dafydd yn dywedyd
Psal.5.7. yn llyfr y Psalmau, Minnau a ddeuaf i'th dŷ di
yn amlder dy drugaredd ac a addolaf tu a'th deml
sanctaidd yn dy ofn di. Ac fe a elwir mewn anei-
rif fannau o'r Scrythur lân yn dŷ Dduw neu dŷ
yr Arglwydd, yn enwedig yn y Prophwydi a llyfr
Psal.132.7. y Psalmau. Weithiau y gelwir yn babell yr Ar-
Exod.7. glwydd, weithiau yn gyssegrfa, hynny yw tŷ neu
Leu.19.30. fangre sanctaidd yr Arglwydd. Ac hi a elwir he-
1.Bren.8.63. fyd yn dŷ gweddi, megis y geilw Salomon hi, yr
hwn a adailadodd deml Dduw yn Jerusalem, yn

dy yr Arglwydd yn yr hwn y gelwid ar enw'r Ar-
glwydd. Ac Esaias yn yr 56. bennod, fy-nhŷ fi a el- Esai.56.7.
wir yn dy gweddi i'r holl bobloedd. Yr hwn dest
ymae'n Iachawdwr Christ yn son am dano yn y Math.21.13.
Testament newydd fal y mae'n eglur yn-nhri o'r Marc.11.17.
Efangylwyr, ac yn-nammeg y Pharisei a'r Pub- Luc.19.46.
lican a aethant i weddio, yn yr hon ddammeg mae
'n Iachawdwr Christ yn dywedyd eu myned hwy Luc.18.10.
i'r deml i weddio. Ac fe wasanaethai Anna y we-
ddw a'r Brophwydes sancteidd honno yr Ar- Luc.2.37.
glwydd yn y deml, mewn ymprydiau a gweddi nos
a dydd. Ac yr ydys yn stori yr Actau yn son fyned
Petr ac Ioan i fynu i'r deml ar yr awr weddi. Ac Act.3.1.
fel yr ydoedd S. Paul yn y deml yn Ierusalem yn
gweddio fe gymmerwyd i fynu yn yr yspryd ac Act.22.18.
fe a welodd Iesu yn dywedyd wrtho.

Ac megis ym-mhob lle addas y gall y duwiol
arfer gweddi ddirgel neillduol: felly diammau
yw mai'r Eglwys yw'r lle dyledus gosodedig
i weddi gyhoedd gyffredinol. Ac bellach mai hwn
yw'r lle i roddi diolch i'r Arglwydd am ei aneirif
a'i an-nhraethawl ddoniau a rodd ef i ni, mae'n Luc.24.53.
eglur ddigon yn-niwedd Efengyl S. Luc, ac yn- Act.2.46.
nechrau stori'r Actau, lle mae'n scrifennedig,
Yn ol escynniad yr Arglwydd, barhau o'r Apostol-
ion a'r Discyblon yn gytun beunydd yn y deml,
gan glodfori a bendithio Duw yn wastad.

Ac fe fanegir hefyd yn yr Epistol cyntaf at y Co-
rinthiaid mai'r eglwys yw'r lle gosodedig i arfer 1.Cor.11.
y Sacramentau. Mae bellach yn rhaid i ni ddan- 18,22.
gos mai'r Eglwys, neu'r deml yw'r lle y dylid
darllen a dyscu bywiol air Duw, ac nid dychym-
ygion dynion, a bod y bobl yn rhwymedig i ddy-
fod yno yn ddiesceulus, ac yno ei brofi wrth yr

Scry-

Scrythyrau fal y dangosir ar ol hyn. Yr ydym
yn darllen yn historı Actau'r Apostolion i Pawl
a Barnabas bregethu gair Duw yn-nhemlau'r
Iddewon yn Salamis. A phan ddaethant i An-
tiochia hwy a aethant i mewn i'r Synagog neu
Act.13.14. 'r Eglwys ar y dydd Sabaoth, ac a eisteddasant: ac
yn ol llith o'r ddeddf a'r prophwydi, rheolwyr y
Synagog a anfonasont attynt gan ddywedyd,
Hawyr frodyr, os oes gennych air o gyngor i'r
bobl, traethwch. Yna Pawl a gyfododd i fynu a
chan amneidio â'i law am osteg a ddywedodd, O
wyr o Israel a'r sawl sydd yn ofni Duw, gwr-
andewch. Ac felly fe a bregethodd bregeth o'r
Scrythyrau iddynt, megis y dangosir yn helaeth
yno.

Ac yn y ddwyfed bennod ar bymtheg o'r un hi-
stori y tystiolaethir pa fodd y pregethodd Pawl
Act.17.22. Christ allan o'r Scrythur yn Thessalonica. Ac yn
Act.15.21. y 15 bennod y dywaid Iaco'r Apostol yn y Cyngor
a'r gynnulleidfa sanctaidd o'i gyd-apostolion, mae
i Moeses yn-mhob dinas er yr hên amseroedd rai
a'i pregethant ef yn y Synagogau a'r eglwysydd,
lle darllenir ef bob Sabaoth.

Fal hyn y gwelwch wrth y lleoedd hyn, arfer
darllein'r hên destament ymmhlith yr Iddewon
yn eu synagogau bob dydd Sabaoth, ac y gwnaid
pregethau yn arferedig ar y dydd hwnnw.

Pa faint gymhesurach gan hynny yw darllen
ac agoryd Scrythyrau Duw ac yn enwedig efen-
gylein Iachawdwr Christ i ni sydd Gristionogion,
yn ein eglwysydd, yn hytrach am fod ein Iachaw-
dwr Christ a'i Apostolion yn foddlon i'r arfer
dduwiolaf angenrheitiaf honno, ac yn ei cha-
darnhau hi trwy eu samplau eu hunain?

Mae

Act.13.46. 18, a'r 15. 35 a'r 17.3.

i'r deml, ac ni phaidiasant a dyscu a chyhoeddi Iesu
Grist. Ac mi wn llawer o leoedd eraill o histori'r
Actau y cewch yr un fath ddiwydrwydd yn yr Apo-
stolion i ddyscu ac yn y bobl i ddyfod i'r deml i
wrando gair Duw. Ac fe a destiolaethir yn y ben-
nod gyntaf o Luc pan ydoedd Zachari y sanctaidd
offeiriad a thâd Ioan fedyddiwr yn aberthu o
fewn y deml, fod yr holl bobl yn sefyll oddiallan yn
gweddio dros hir amser. Cyfryw ydoedd eu gwrês
hwy a'u zêl yr amser hynny. Ac yn yr ail o Luc y
dangosir pa daithiau a siwrneiau a gymmerai
gwyr, gwragedd a phlant i ddyfod i'r deml i wasa-
naethu'r Arglwydd yno ar yr wyl: ond yn enwe-
dig siampl Ioseph a'r fendigaid forwyn fair mam
ein Iachawdwr Iesu Grist, a siampl ein Iachaw-
dwr Christ ei hunan ac efe etto'n blentyn, siamplau
y rhai sydd wiw ini eu canlyn: Megis, pe cyffely-
bem ni ein escaelusrwydd i ddyfod i dŷ yr Arglw-
ydd i'w wasanaethu ef yno, a diescaelusrwydd yr
Iddewon y rhai a ddoent beunydd yn forau iawn
i'r deml, weithiau trwy deithiau hirion, a phan na
weddai y lliaws yn y deml, fe ddangosir y zêl wres-
sog oedd ynddynt wrth eu gwaith yn hir aros allan
i weddio. Ni a allwn yn gyfiawn yn y gyffelybia-
eth hon ddamnio'n diogi a'n escaelusder, ie a'n di-
ystyrwch goleu yn dyfod i dŷ yr Arglwydd mor
anfynych, ac yntef cyn nesed attom, ie a phrin dy-
fod iddo hir amser.
Mor bell yw llawer o honom ni oddiwrth ddy-
fod yn forau ddydd, neu hir aros oddiallan, ac y
diystyrwn ddyfod oddifewn i'r deml. Ac etto cas
gennym glywed enw'r Iddewon megis pobl
ddrwg annuwiol. Ond yr wyfi yn ofni ym hyn o
beth ein bod ni yn waeth o lawer nâ'r Iddewon,

Luc.1.10.

Luc.2.42.

Math.18.20. Pa le bynnag, medd ein Iachawdwr, y bytho dau neu dri gwedy ymgynull ynghyd yn fy enw i, yno i a fyddaf yn ei mysc hwy. Pa beth a ddichō bod mor fendigaid a chael ein Iachawdwr Christ i'n mysc? a pha beth a ddichon bod mor annedwydd ac mor eniweidiol a gyrru ein Iachawdwr Christ o'n mysc, a chymmwys ffo i'n hên angheuol elyn ni ar ynnill, yr hên ddraig, y sarph Sathan diawl yn ein plith.

Luc.20.46. Mae yn scrifennedig yn yr ail o Luc gwedi i fair fam Christ ac i Ioseph ei ymofyn efo yn hir, a phan na fedrent ei gael ef yn un lle, hyd oni thybient ei golli ef, y modd yn y diwedd y cawsant ef yn y deml yn eistedd ym-mysc y doctoriaid.

Felly os bydd arnom eisiau Christ Iesu yr hwn yw Iachawdwr ein heneidiau a'n cyrph, ny chyfarfyddwn ddim ag ef yn y farchnad, neu yn y dadleudy, llai o lawer yn y dafarn ym-mhlith chympniwyr neu gyfeillion da (fal y gelwir hwy) mor

Fuan. *ebrwydd ac y cyhyrddwn ag ef yn y deml yn nhŷ yr Arglwydd, ym-mysg dyscawdwyr a phregethwyr ei air, lle mae ef i'w gael yn ddiau.

Ac am ddoniau bydol mae gennym addewid ein Iawchawdwr Christ, Ceisiwch, medd ef, yn

Math.6.33. gyntaf deyrnas Dduw a'i gyfiawnder a'r holl bethau hyn a roddir i chwi yn ychwaneg.

Fal hyn y dangosasom trwy air Duw yn y rhan gyntaf o'r traethawd ymma mai tŷ yr Arglwydd y dyw'r deml neu'r Eglwys, am fod yn arfer yno o wasanaethu Duw, sef gwrando a dyscu ei santaidd air ef, galw ar ei santaidd enw ef, a rhoddi diolch iddo am ei fawr a'i anefrif drugaredd, a ministro ei Sacramentau ef yn ddyledus.

Fe a ddangoswyd hefyd trwy yr Scrythyrau y

dylai yr holl dduwiol gristionogion yn wyr ac yn wragedd ar amseroedd gosodedig ddyfod yn ddiwyd i dy'r Arglwydd i'w wasanaethu a'i folianu ef yno, megis y mae ef teilyngaf a ninnau rhwymedicaf: i'r hwn y bytho holl anrhydedd a gogoniant yn oes oesoedd. Amen.

## ¶ Yr ail rhan o'r bregeth am iawn arfer yr Eglwys.



FE a ddangoswyd yn y rhan gyntaf o'r bregeth hon trwy air Duw mai ty yr Arglwydd yw'r deml neu'r Eglwys, am fod yn arfer o wasanaethu'r Arglwydd yno, hynny yw dyscu a gwrando ei sanctaidd air ef, galw ar ei sanctaidd enw ef, rhoddi diolch iddo am ei fawr a'i aneirif ddoniau, a dyledus finistrio ei Sacramentau.

Ac fe a ddangoswyd eissoes trwy'r scrythyrau y dylyem ni yr holl dduwiol Gristionogion ar amserau gosodedig yn ddiwyd ymarfer o ddyfod i dy'r Arglwydd i'w wasanaethu ac i'w ogoneddu ef yno, megis y mae ef teilyngaf a ninnau rhwymedicaf.

Mae yn aros bellach yn yr ail rhan o'r bregeth am iawn arfer teml Dduw, bod dangos hefyd trwy air Duw â pha lonyddwch a distawrwydd a pharch a gostyngeiddrwydd y dyle y rhai a ddelo i dy Dduw ymddwyn ac ymarwedd. Digon o addysc ini i wybod *cystal y gweddai i ni Gristionogion arfer yn barchedig yr Eglwys a thy sanctaidd ein gweddiau, pe ystyriem ym-mha fawr barch

* Ddaied.

barch ac anrhydedd yr oedd eu teml gan yr I-
ddewon yn yr hên gyfraith, fel y gwelir drwy
lawer o leoedd o'r rhai y detholais i chwi am-
bell un.

Yr ydys yn rhoi yn erbyn ein Iachawdwr Christ
garbron barnwr bydol yn Efengyl Mathew
Matt.26.61. trwy ddau gau dyst fegis peth yn haeddu angau,
iddo ddywedyd y gallei ef ddistrywio teml Dduw
a'i hadeiladu mewn tri diwrnod, heb ddim am-
mau os hwy a ellent beri i'r bobl gredu iddo ddy-
wedyd dim yn erbyn anrhydedd a mawrhydi yr
deml, y byddai ef yngolwg pawb yn haeddu an-
gau.

Act.21.28. Ac yn yr 21. o'r Actau pan gafodd yr Iddewon
S. Paul yn y deml, hwy a roesant ddwylo ar-
naw gan lefain, hawyr o Israel cynorthwywch,
dymma yr dyn sydd yn dysgu pawb ym-mhob man yn er-
byn y bobl a'r gyfreith a'r lle ymma: hefyd mae
fe wedi dwyn Groegiaid i mewn i'r deml i halogi
y lle hwn.

Gwelwch fel y tybygent mai yr un fath fai oedd
ddywedyd yn erbyn teml Dduw a dywedyd yn
erbyn cyfraith Dduw, a pha fodd y barnent yn
gyfaddas na chaffai neb ddyfod i deml Dduw ond
rhai duwiol a gwir addolwyr Duw.

Act.24.6. Yr un peth y mae Tertullus yr areithiwr * hy-
Ffraeth. awdl hwnnw a'r Iddewon yn ei ddodi yn erbyn
Paul ger bron barnwr bydol megis peth yn ha-
eddu angau, iddo geisio halogi teml Dduw. A
Math.27.6. phan dderbyniodd yr arch-offeiriaid eilwaith y
dryllian arian o law Judas hwy a ddywedasant,
nid cyfreithlon ini eu bwrw hwynt i'r Corban,
yr hwn oedd drysordy'r deml, o herwydd mai
gwerth gwaed ydynt.

Megis na ellent aros nid yn unig ddyfod un dyn aflan ond hefyd ddyfod un peth marw, yr hwn a fernid yn aflan, i mewn i'r deml nac i un lle a berthynai atti.

Ac fe 'r deall hyn y dylid cymmeryd yr hyn a ddywad S. Paul, pa gyfundeb sydd rhwng cyfiawnder ac anghyfiawnder? a pha gyfeillach sydd rhwng goleuni a thywyllwch? a pha gyfundeb sydd rhwng Christ a Belial? neu pa ran sydd i'r credadwy ac i'r anghredadwy? a pha gydfod sydd rhwng teml Duw ac eulynnod? 2.Cor.6.14.

Yr hyn eiriau er bod yn eu deall yn bennaf am deml calon y duwiol, etto o herwydd bod yn cymmeryd y gyffelybiaeth a * sydd y rheswm oddiwrth y deml ddefnyddiol, mae yn canlyn na ddylid goddef dim annuwioldeb, yn enwedig o ddelwau neu elynnod, o fewn Teml Dduw, yr hon yw'r lle i addoli Duw, ac am hynny nid gwell y gellir eu goddef hwy i aros yno nag y dichon goleuni gytuno â thywyllwch neu Grist a Belial: o herwydd bod gwir addoliad Duw ac addoliad delwau mor wrthwynebus i'w gilydd ac a all fod. * Sum.

Ac mae eu gosod hwy i fynydd yn y lle y byddir yn addoli yn achos mawr o'u haddoli hwyntau.

Ond i ddychwelyd at y parch a roe'r Iddewon i'w teml, chwi a ddywedwch eu bod hwy yn ei hanrhydeddu hi yn ormod ac yn goelfucheddol, gan lefain, Teml yr Arglwydd, Teml yr Arglwydd, a'u bywyd hwy er hynny yn ddrwg dros ben, ac am hynny yr argyhoeddir hwy yn gyfiawn gan Ieremi Prophwyd yr Arglwydd. Iere.7.4.

Gwir yw eu bod hwy yn ymroi yn goelfucheddol i anrhydeddu eu teml, ond mi a fynnwn na byddem ni yn rhyfyr yn rhoi dyledus barch idd-

yr Arglwydd gymmaint ac yr elent hwythau yn rhybell.

Ac os ceryddodd y Prophwyd hwy yn gyfion, gwrandewch pa beth y mae'r Arglwydd yn ei ofyn ar ein dwylo ninnau, fel y gallom wybod pa un a wnawn ai bod yn feius ai nad ydym. Mae yn scrifennedig yn y 4 pennod o Lyfr y Pregethwr gwilia ar dy droed pan fythech yn myned i dy Dduw a bydd barottach i wrando nag i roi aberth ffyliaid, canys ni wyddont hwy eu bod yn gwneuthur drygioni. Na fydd ry ebrwydd o'th enau, ac na fydded dy galon ry fyrwiog i draethu dim ger bron Duw. Canys Duw sydd yn y nefoedd a thithau sydd ar y ddayar, ac am hynny bydded dy eiriau yn anaml.

Eccles.4.17.

Preg.5.1.

Ystyriwch fy-nghareddigion pa lonydd wch mewn ymddygiad ac ymarweddiad, pa ddistawrwydd geiriau ac ymadroddion sy ddyledus yn-nhŷ Dduw, o herwydd felly y mae fe yn galw yr Eglwys. Edrychwch ydynt hwy yn gwilied ar eu traed fal y rhybyddir hwy ymma, y rhai ni pheidiant â'u hanweddaidd dreiglo a rhodio i fynu ac i waered ar hŷd ac ar draws yr Eglwys, gan ddangos arwydd eglur sychaned gantynt am Dduw ac am yr holl wŷr da sydd bresenol yno.

A pha wilied y maent hwy ar eu tafodau a'u hymadroddion, y rhai nid yn unig a ddywedant eiriau yn fyrwiog ac yn ebrwydd ger bron yr Arglwydd, yr hyn yr ydys ymma yn ei wahardd iddynt, ond hefyd weithiau dywedyd yn frwnt, yn gybyddus ac yn annuwiol, gan chwedleua am bethau ni bônt ond braidd onest na gweddaidd i'w dywedyd mewn tafarn, yn-nhŷ yr Arglwydd, heb ystyried ond rhyfychan eu bod hwy ger bron

yn gwradwyddo y rhai nid oes ganthynt? pa beth a ddywedaf wrthych? a ganmolaf chwi yn hyn? na chanmolaf.

Ac nid ydyw Duw yn gofyn yn unig y parch hwnnw oddiallan mewn ymddygiad a distawrwydd yn ei dŷ, ond pob gostyngeiddrwydd oddifewn mewn glanhad meddyliau ein calonnau, gan fygwth drwy y Prophwyd Osee. (Osea.9.30.) Am ddrygioni eu gweithredoedd y bwriaf hwynt allan o'i dŷ ef. Trwy yr hyn yr arwyddocceir eu tragwyddol ddeoliad hwy allan o'r tŷ a'r deyrnas nefoedd, yr hyn sydd erchyll aruthrol.

Ac am hynny y dywaid Duw yn Leuiticus, (Leu.19.30.) Perchwch fyngysegrfa, canys yr Arglwydd ydwyf. Ac am hynny y dywaid y Prophwyd Dafydd, Mi a ddeuaf i'th dŷ di yn amlder dy drugaredd, ac a addolaf yn dy deml santaidd yn dy ofn. Digon yw hyn i ddangos pa barch a gostyngeiddrwydd a ddylae fod ym meddyliau dynion duwiol yn nhŷ yr Arglwydd.

Ac i ddangos peth i chwi, oblegid y peth hyn allan o'r Testament newydd, ym-mha barch y mynn Duw gadw ei dŷ a'i demla hynny drwy siampl ein Iachawdwr Christ, yr hon trwy resswm da a ddylae fod yn hwysig ac yn gyfrifawl ei ganlyn gyda phob Cristion da. Mae yn scrifennedig ym-mhob un o'r pedwar Efangylwyr megis (Mat.21.12. Mar.11.15. Luc.19.45. Ioan.2.15.) peth godidawg yn henddu tystiolaeth llawer o dystion santaidd; am ein Iachawdwr Iesu Grist yr Arglwydd trugarog tirion hwnnw yr hwn o blegid ei ostyngeiddrwydd a gyffelybir i ddafad yr hon a oddef yn ddistaw gneifio ei chnu oddi-arni, ac i'r oen yr hwn yn ddiwrthwyneb a arweinid i'r lladdfa, (Esai.53.7. Act.8.32.) er iddo roddi ei gorph i'r curwyr a'i

gernau

Ac yn ol siampl ein Iachawdwr Christ, yn y brif Eglwys gynt yr hon oedd sancteiddiolaf a duwiolaf oll, ac yn yr hon yr arferid dyledus lywodraeth a thost into wnaeb yn erbyn pob rhai drygionus, ni ddioddefid pechaduriaid cyhoedd i ddyfod i dŷ'r Arglwydd, ac ni dderbynnid hwy i weddiau cyffredinawl nac i arfer y sanctaidd sacramentau gyda gwir Gristianogion eraill nes iddynt wneuthur penyd cyhoedd ger bron yr holl Eglwys.

Ac nid ar ddim yn gwneuthur hynny yn unig i'r rhai iselradd, ond hefyd i'r cyfoethogion, i'r pendefigion a'r galluogion, ie i Theodosius yr ymerodr mawr galluog hwnnw, yr hwn am iddo wneuthur lladdfa greulon fe a geryddodd Ambros Escob Mediolanum ef yn dost, ac a escymynodd hefyd yr ymerodr hwnnw, ac a'i dug ef i benyd cyhoedd.

A phwy bynnag oedd wedi eu troi heibio ac megis endeol o dŷ yr Arglwydd, hwy a gyfrifid oll (megis yn wir y maent hwy) yn ddynion gwedy eu gwahanu a'u dosparthu oddiwrth Eglwys Ghrist, ac mewn cyflwr tra enbaid, ac fel y dywaid
1.Cor.5.5. Pawl, gwedi eu rhoddi i Satan y diafol dros amser: ac fe a ochelid eu cymdeithas hwy gan yr holl wŷr a gwragedd duwiol, hyd oni ddarfai eu cymmodi hwy trwy edifeirwch a chyhoedd benyd. Cyfryw oedd anrhydedd tŷ'r Arglwydd ynghalonnau dynion, a'i barch oddi allan hefyd yn yr amseroedd hynny, ac mor ofnadwy oedd gan ddŷn allan o'r Eglwys a thŷ'r Arglwydd yn y dyddiau hynny pan oedd grefydd yn bur ac yn anllygredig a heb fod mor llygredig ac yn hwyr o amser.

Ac etto yr ydym ni wrth ein hewyllus 'n hunain allan o dŷ'r Arglwydd, o'n gwirfodd yn ein escymuno:

mwno i'n hunain, neu yn ein anghyfeillachu yn hunain o'r Eglwys ac o gyfeillach saint Duw: neu gwedy dyfod yno yr ydym ni trwy ein anweddaidd a'n amharchus ymddygiad, trwy ynfyd ac am-ymhwyllus, ie ac aflan a drygionus feddyliau a geiriau ger bron yr Arglwydd Dduw, yn dianrhydeddu Duw ac yn am-mherchi yn aruthr ei sanctaidd dŷ ef, Eglwys Duw, a'i sanctaidd enw a'i fawrhydi ef, i fawr *enbeidrwydd ein eneidiau, ie a'n siccr ddamnedigaeth hefyd os ni nid edifarhawn yn chwerwdd ac yn ddifrif am y drygioni hynny.

* Berigl.

Fal hyn y clywsoch, fyngharedigion, allan o air Duw pa barch sydd ddyledus i sanctaidd dŷ'r Arglwydd, fal y dylei yr holl [illegible] yn ddiescaelus, ac yr amser gosodedig ymarfer dyfod yno: fal y dylent ymddwyn yno mewn gostyngeiddrwydd a pharch ger bron yr Arglwydd: pa blagau a chospedigaethau bydol, a rhagwyddol y mae'r Arglwydd yn ei sanctaidd air yn eu bygwth ar y rhai a fythont yn escaeluso dyfod i'w sanctaidd dŷ ef, a'r rhai gwedy eu dyfod yno, ydynt yn ymddwyn yn anostyngedig, naill ai mewn gweithred ai mewn geiriau.

Am hynny os chwennychwn gael tywydd *tym-mherus, ac felly mwynhau ffrwythau y ddaiar: os ni a ddymunwn ddiangc oddiwrth sychder ac anffrwythlonrwydd, syched a newyn, a'r plagau eraill a fygythir ar bawb ac a redant i'w tai eu hunain, neu i'r tafarnau, ac a adawant dŷ yr Arglwydd yn wâg ac yn anghyfannedd: os câs gennym ein ffrangellu a'n chwippio, nid â ffrangellau neu chwippiau a wnair o reffynnau, allan o'r deml ddefnyddiol yn unig, megis y gwnaeth

* Ardymherus.

naeth ein Iachawdwr Christ i'ha ladwyr ty Dduw yn Ierusalem, ond ein lluchio hefyd a'n gyrru allan o dragwyddol deml a thŷ'r Arglwydd, yr hon yw ei deyrnas nefol ef, â gwialen haiarn tragwyddol ddamnedigaeth, a'n taflu i'r tywyllwch eithaf, lle bydd wylofain ac yscyrnygu danedd: os bydd arnom ofn ac os cas gennym hyn, megis y mae ini achos mawr, gwelhawn ninnau ein escaelusrwydd a'n diystyrwch am ddyfod i dŷ yr Arglwydd, ein ham-mharchus ymddygiad yn nhŷ yr Arglwydd, a chan ddyfod yno ynghyd yn ddiescaelus, gwrandawn yno yn barchus sanctaidd air yr Arglwydd, gan alw ar sanctaidd enw'r Arglwydd, gan roddi i'r Arglwydd ddiolch â'n holl galonnau, am ei aml anrhaethawl ddoniau, y rhai y mae fe bob dydd a phob awr yn eu rhoddi ini, a chan gyfrannu a derbyn ei sanctaidd Sacramentau yn barchus, a gwasanaethu'r Arglwydd yn ei dŷ sanctaidd, fel y gweddai i weision yr Arglwydd, mewn sancteiddrwydd ac uniondeb ger ei fron ef holl ddyddiau'n heinioes.

Ac yno y byddwn siccr yn ol y bywyd hwn, o orphywys yn ei sanctaidd fynydd ef a thrigo yn ei babell, yno i foliannu ac i fawrhau ei sanctaidd enw ef ynghynulleidfa ei saint ef, yn sanctaidd dŷ ei dragwyddol deyrnas nefol ef, yr hon a brynodd ef ini trwy angau a thywalltiad gwerthfawr waed ei fab ein Iachawdwr Iesu Grist, i'r hwn gydâ'r Tâd a'r Yspryd glân, un tragwyddol fawrhydi Duw, y bytho holl anrhydedd, gogoniant, moliant a diolch yn oes oesoedd. Amen.

Ephe.3.18.

¶Pregeth

# ¶ Pregeth yn erbyn enbeidrwydd addoliad eulynod, neu ddelw-addoliad, a rhy ofer drwſio Eglwyſydd.

## Y rhan gyntaf.



Fe a ddangoſwyd i chwi yn-nhabyngciau y mae gwir harddwch ac addurn Eglwys neu deml Dduw yn ſefyll yn y ddwy honiſt ddiwethaf, y rhai a ddangoſant iawn arfer teml neu dŷ Dduw, a'r dyledus barch y mae'r holl Griſtionogawl bobl yn rhwymedig i'w roddi iddo: ſyrth a chynhwyſiad y rhai, yw, bod Eglwys neu dŷ Dduw gwedi i'r ſanctaidd Scrythyrau ei oſod yn lle, yr hwn y dylid darllen, dyſcu a gwrando gair Duw ynddo, a galw ar enw Duw trwy weddiau cyffredinol, rhoddi diolch i'w fawrhydi ef am ei aneirif a'i an-nhraethawl ddoniau y rhai a roddodd ef i ni, a miniſtro ei ſanctaidd Sacramentau ef yn ddyledus, ac yn barchus: ac am hynny y dylei bawb o'r gwir dduwiolion, yn ddiwyd, ar yr amſeroedd goſodedig, ddyfod ynghyd i'r Eglwys, ac ymarwedd ac ymddwyn yno 'n barchus ger bron yr Arglwydd: a bod yn galw yr Eglwys hon (yr hon a arfer duwiol weiſion yr Arglwydd yngwir waſanaeth yr Arglwydd am ffrwythlon breſenoldrwydd rhad Duw, a'r hwn, y mae fe trwy ei ſanctaidd air a'i addewidion yn cynnyſcaeddu ei bobl a fyddant yno yn breſennol gwedy ymgynull, er mwynhau doniau bydol anghen-

angenrheidiol iw, a holl roddion nefol a thrag-wyddol fywyd) yngair Duw (megis yn wir y mae hi) yn deml yr Arglwydd ac yn dŷ Dduw, ac am hynny fod yn cynnhyrfu ei wir barch ef ynghalonnau'r duwiol wrth ystyriaid y gwir harddwch ymma ar dŷ Dduw, ac nid wrth un ceremoni o-ddi-allan neu drwsiad gwerthfawr gwŷch ar dŷ neu deml yr Arglwydd.

Yn erbyn yr athrawaeth eglur hon o'r Scrythyrau, ac yn erbyn arfer y brif-eglwys gynt, yr hon oedd bur a dillwgr ac yn erbyn meddwl a barn hên ddoctoriaid dyscedig duwiol yr Eglwys, fal y dangosir ar ol hyn, fe ddug llygredigaeth y dyddiau diwethaf ymma i mewn i'r Eglwys anneirif liaws o ddelwau, ac a drwsient y rhai hynny a rhannau eraill o'r deml hefyd, ag aur ac arian, ac a'u peintiasont a lliwiau, a'u gosodasont allan a main ac a pherlau, a'u dilladasont â sidan ac a dillad gwerthfawr, gan feddwl a dychymmig yn anghywir, mai hynny oedd yr oddidawgaf drwsiad neu harddwch ac addurn ar deml neu dŷ Dduw, ac y cyffroid yr holl bobl yn gynt i'w ddyledus berchi ef, os byddai bob cornel o hono yn wych ac yn discleirio ag aur, a main gwerth-fawr. Er na allasant hwy yn wir trwy'r fath ddelwau, a'r fath wych drwsio a'r y deml, wneuthur lles yn y byd i'r synhwyrol deallus: ond hwy a ddrygasont yn fawr wrth hyn y diddrwg angall, gan roddi iddynt achos i wneuthur * echrydys ddelwaddoliad: a'r cybyddion wrth yr un achos megis yn addoli, ac oddiefwn yn gwir addoli nid yn unig y delwau, ond eu defnydd hwy hefyd, yr aur a'r arian, fal y gelwir y bai hynny yn yr Scrythyr lân yn hytrach nag un bai arall, yn eulyn-addoliad

Erchyll.

Ephe.5. Colofs.2.

neu

neu ddelw-addoliad. Yn erbyn y camarferon diffaith a'r mawr anferthwch hwnnw mi a ddangosaf i chwi yn gyntaf awdurdod sanctaidd air Duw, cyffadl o'r hên destament a'r newydd. Acyn ail destiolaeth y sanctaidd a'r hên dadau dyscedig, a'r doctoriaid allā o'u scrifennadau hwy eu hunain a hên storiau eglwysig fal y galloch ar unwaith wybod eu meddwl hwy, ac hefyd ddeall pa fath harddwch oedd yn y temlau yn y brif-eglwys gynt yn yr amseroedd puraf a dilygraf. Yn drydydd yr argyhoeddir ac yr attebir y rhesymmau a'r dadleuau a wnair i amddiffyn delwau ac eilynod ac anrhesymmol drwsio temlau ac eglwysydd, ag aur ac arian a thlyssau ac â main gwerthfawr ac felly cau ar y cwbl.

Ond rhag i neb trwy airiau neu enwau gymmeryd achos i ammau, fe dybygwyd fod yn raid ddangos yn gyntaf ddim, er ein bod ni yn arfer yn ein ymadroddion arferedig o alw di lwgad neu lun dynnion neu bethau eraill yn ddelwau, ac nid yn eilynnod: etto fod yr Scrythyr lân yn arfer y ddau air hyn, delwau ac eilynod, am yr un peth bob amser yn ddiwahaniaeth. Maent hwy yn airiau o ieithiau a lleisiau amryw, ond yn un mewn ystyr a deall yn yr scrythyrau. Y naill a dynnir o'r gair Groeg *Eidolon* eilyn, ar llall o'r gair lladin Imago delw, ac felly pob un o'r ddau a arferir ynghymraeg wrth gyfiaithu'r scrythyrau yn ddiwahaniaeth, megis yr arfere y deg-a-thriugain yn eu cyfiaithiad Groeg *Eidola*, a S. Jerom yn yr un lleoedd Simulachra, ynghymraeg delwau.

A'r peth y mae Joan yn ei alw yn y Testament newydd *Eidolon*, mae S. Jerom yn ei gyfiaithu Simulachrum megis yn-mhob lle arall o'r Scrythyr Ioan.5.21.

thyr

thyr y mae fe'n arfer o wneuthur. A hefyd Ter-
tulian hên Ddoctor dyscedig iawn yn y ddwy
iaith, Groeg a Lladin, wrth gyfiaithu y lle hwnn
o S. Ioan, Gwagelwch euhynod, hynny yw medd
Tertulian, y delwau eu hunain: ar geiriau lla-
din y mae ef yn eu harfer ydynt effigies ac Imago,
hynny yw delw.

Lib. de Coro. mil.

Ac am hynny yn y traethawd hwn nid gwaeth
pa vn o'r ddau air a arferom ni, neu os arferwn
hwy ill dau gan eu bod hwy ill dau (er nad ydynt
yn y iaith gymraeg, etto) yn yr scrythyrau yn ar-
wyddocau yr vn peth.

Ac er bod cyn hyn i ryw lygaid deillion, yn ddi-
chellgar geisio eu gwneuthur hwy yn airiau o
ystyr gwahanol, ac arwyddocad dosparthedig
mewn materion ffydd a chrefydd, ac am hynny
iddynt arfer enwi y lluniau a'r diwgadau a'r cyff-
clybiaethau a osodid i fynu gan y cenhedloedd yn
eu temlau neu mewn lleoedd eraill i'w haddoli,
yn Eulyn neu Idol; ond y llun a osodir i fynydd
yn yr Eglwys yr hwn yw'r lle i addoli a alwant
hwy yn ddelw; megis pe byddai yn yr Scrythyr
lân wahaniaeth mewn ystyr a deall rhwng y ddau
air ymma, eulyn, a delw. y rhai fal y dywedpwyd
o'r blaen a wahanir yn vnic mewn llais ac iaith,
ac ydynt yn sicer mewn ystyr a gwirionedd yr vn
peth, yn enwedig yn yr Scrythyrau a materion
ffydd a chrefyd.

Ac fe arferwyd o addoli ein delwau ni ac yr y-
dys etto yn ei haddoli, ac os goddefir hwy yn gy-
hoeddus yn yr eglwysydd a'r temlau hwy a addo-
lir byth, ac felly fe wnair delwaddoliad iddynt,
megis y dangosir ac y profir yn halaeth yn y rhan
ddiwethaf o'r bregeth hon.

Am

Am hynny nid ydyw ein delwau ni, sydd yn y
temlau a'r eglwysydd, ddim amgen nag eulynod,
neu Idolau, i'r rhai y gwnaethpwyd eulyn-addo-
liad ac y gwnair fyth. Deut.4.

Ac yn gyntaf mae scrythyrau'r hên Destament
gan ddamnio a ffieiddio pob eulyn-addoliad, neu
addoliad delwau, a'r eulynod a'r delwau eu hu-
nain hefyd, yn enwedig mewn temlau; mor aml
ac mor halaeth ac y byddai waith anniben, ni
ellid ei gynwys mewn llyfr o faint bychan gyfrif
yr holl leoedd a berthynant at hyn o beth. O her-
wydd wedy darfod i Dduw ddewis un bobl neill-
tuol yn unic iddo ei hun, o blith yr holl genhedlo-
edd eraill, y rhai nid adwaenent Dduw, ond a addo-
lent ddelwau a gauddduwiau, fe a rodd iddynt or-
deiniaethau a chyfraithiau i'w cadw ac i'w cyn-
nal: ond ni roddodd ef i'w bobl hynny gyfraithiau Verse.
diffrifach nac eglurach am ddim arall nag a ro- Vers.12.
ddodd ef am ei wir addoliad ei hun, ac am ymwa-
chelyd ac ymgadw rhag eulynod, delwau a delw-
addoliad, am fod y delwaddoliad hynny yn Vers.15.
wrthwynebussaf peth ac a ddichon bod i'w iawn
addoliad ef a'i wir ogoniant, yn hytrach nag un Vers.16.
dygiant arall: ac am ei fod ef yn gwybod hybly-
gedd a pharodrwydd llygredig naws dyn i'r hai-
cas ffiaidd hwnnw.

O'r cyfraithiau a'r ordeiniaethau hynny a ro-
ddodd Duw i'w bobl ynghylch y peth hyn, mi a
adroddaf i chwi rai o'r rhai enwoddiccaf i'r def-
nydd hyn, fal y galloch wrth y rhai hynny farnu
am y lleill. Mae y bedwaredd bennod o lyfr Deu-
teronomium yn hynod, ac hi a haeddai ei hystyried
yn ddiescaelus, ac mae'n dechreu fal hyn, Bellach
gan hynny o Israel gwrando ar y deddfau a'r
barne-

barnedigaethau y rhai yr ydwyf yn eu dyscu i
chwi i'w gwneuthur, fal y byddoch byw ac yr e-
loch ac y gorescynnoch y wlad yr hon y mae'r Ar-
Deut.4.1. glwydd Dduw eich tadau yn ei rhoddi i chwi, na
chwanegwch at y gair hwn yr ydwyf yn ei roddi
i chwi, ac na lafhewch ddim o hanaw ef, gan ga-
dw gorchymmynion yr Arglwydd eich Duw y
rhai yr ydwyf yn eu rhoddi i chwi.

Ac yn y mann ar ol hynny mae fe yn adrodd
yr vn gairiau dair gwaith neu bedair, cyn ei ddy-
fod ef at y peth y mae ef yn enwedig yn eu rhybu-
ddio hwy am dano, megis mewn rhag-ddywediad
i wneuthur iddynt ystyried yn wagelusach, Go-
chel arnad (medd ef) a chadw dy enaid yn ddyfal
rhag anghofio o honot ti y pethau y rhai a welodd
dy lygaid, a chilio o honynt allan o'th galon di holl
Vers.9. ddyddiau dy einioes: ond ysppysa hwynt i'th blant
Vers.12. ac i blant dy blant. Ac yn y man ar ol hynny, A'r
Arglwydd a lefarodd wrthych o genol y tân, a
chwithau nid oeddych yn gweled llun dim heb
Vers.15. law llais. Ac etto yn y man, Gwiliwch gan hynny
yn ddyfal ar eich eneidiau, o blegid ni welsoch
Vers. 16. ddim llun yn y dydd y llafarodd yr Arglwydd wr-
thych yn Horeb o ganol y tân, rhag ymlygru o ho-
noch a gwneuthur i'wch ddelw gerfiedig, cyffely-
brwydd vn ddelw, llun gwryw neu fenyw, llun
yn anifail yr hwn sydd a'r y ddayar llun aderyn
ascellog yr hwn a eheda yn yr awyr, llun vn ym-
lusciad ar y ddayar, llun pyscodyn ar y sydd yn
y dyfroedd tan y ddayar: hefyd rhag derchafu o
honot dy lygaid tua'r nefoedd, a gweled yr haul
a'r lleuad a'r ser, sef holl lu'r nefoedd, ac iti trwy
gamsynniaeth ymgrymmu iddynt a'u haddoli
hwynt, y rhai a rannodd yr Arglwydd dy Dduw

i'r holl bobloedd dan y nefoedd.

Ac ail waith, Gochelwch ac ymgedwch arnoch
rhag i'wch angofio cyfammod yr Arglwydd eich
duw yr hwn a ammododd ef á chwi, a gwneuthur
o honoch i chwi ddelw gerfiedig, llun dim oll ac a
waharddodd yr Arglwydd dy Dduw i ti, o her-
wydd yr Arglwydd dy Dduw sydd dán yssol, a
Duw eiddigus: pan genhedloch feibion ac wyri-
on a heneiddio o honoch yn y wlad ac ymlygru o
honoch a gwneuthur o honoch ddelw gerfiedig,
llun dim, fal y gwneloch ddrygioni yngo-
lwg yr Arglwydd dy Dduw i'w ddigio ef: galw
'r ydwyf yn dystion yn eich erbyn chwi nefoedd a
dayar, gan ddarfod y derfydd am danoch yn fuan
oddiar y tir yr hwn yr ydych yn myned dros yr
Iorddonen i'w orescyn: nid ystynnwch ddyddiau
ynddo, Canys gan eich difa y'ch difeir, a'r Ar-
glwydd ach gwascara chwi ym-mhlith y boblo-
edd, a chwi a denir yn ddynion anaml ymhlith y
cenhedloedd, y rhai y dwg yr Arglwyd chwi at-
tynt, ac yno y gwasanaethwch dduwiau o waith
dwylo dyn, sef pren a maen y rhai ni welant ac ni
chlywant, ni fwytant ac nid aroglant, &c.

Pennod odidawg ydyw honn ac nid ydyw yn
son haechen am ddim ond y peth hyn. Ond o her-
wydd bod yn rhy hir scrifenu'r cwbl, mysi a ddewi-
sais i'wch rywbrif-byngciau o honi.

Yn gyntaf mor ddifrif ac mor synych y mae ef
yn galw ar nynt i wilied dan bôen ei heneidiau ar
y peth y mae yn ei orchymmyn iddynt.

Yn ail pa fodd y mae ef yn ei gwahardd drwy
hir a chyhoeddus gyfrif o'r holl bethau yn y nef,
yn y ddaiar, yn y dwfr, na bo gwneuthyr delw neu
llun dim yn y byd.

Yn

Yn drydedd pa gospedigeth erchyll a pha ddi-
nystr, gan alw nef a daiar yn dystion, y mae ef yn
ei gyhoeddi ac yn bygwth ei ddwyn arnynt hwy
ar eu plant a'u heppil, os hwy yn erbyn y gorchy-
myn hwn a wnaent neu a addolent un ddelw neu
lun, yr hyn a waharddodd ef mor galed iddynt. A
phan gwympasant hwy i wneuthur ac i addoli
delwau, er y gorchymyn caled hwn, mewn rhan
o achos pa [illegible] llygredig anian dyn, a mewn
rhan am fod y cenhedloedd a'r paganiaid oedd yn
trigo o'u hamgylch ac oedd yn addoli delwau, yn
rhoddi achlysur iddynt, fe a ddug Duw arnynt yn
ol ei air yr holl blâu a'r rai y bygythiase hwynt,
megis y mae yn eglur yn helaeth yn llyfrau y
brenhinoedd a'r croniglau, a llawer o leoedd hy-
nod eraill o'r hên destament y sydd yn gytun â hyn.

Deut. 27.15. Dewt. 27. melldigedig yw'r gwr yr hwn a wnelo
ddelw gerfiedig, neu ddelw doddedig sef ffieidd-dra
i'r Arglwydd gwaith dwylo'r saer ac a'i gosodo
mewn lle dirgel a'r holl bobl a'i hattebant ac a
ddywedant, Amen.

Doeth. 13. & 14. Darllenwch y drydedd ar bedwaredd bennod ar
ddeg o lyfr y ddoethineb ynghylch eulynnod a del-
wau pa fodd yr ydys yn eu gwneuthur hwy, yn eu
gosod hwy i fynydd, yn galw arnynt ac yn offrwm
iddynt, a pha fodd y mae fe yn canmol y pren â'r
hwn y gwnaid y crogpren megis dedwydd wrth y
pren yr hwn y gwneir y ddelw ag ef, yn y geiriau
hyn, Bendigedig medd ef yw'r pren trwy o'r hwn
y daw cyfiawnder, hwnnw yw y crogbren, ond
melldigedig yw y ddelw a llaw'r hwn a'i gwnelo,
o herwydd yr hyn a wnaed ynghyd â'r hwn a'i
gwnaeth a gystuddir, &c.

Ac yn y man mae ef yn dangos fod y pethau

oedd

oedd ddaionus greaduriaid Duw o'r blaen (me-
gis coed neu gerrig) pan newidier hwy a'u llunio
yn ddelwae i'w haddoli yn myned yn ffiaidd ger
bron Duw ac yn dramgwydd i eneidiau dynion ac
yn fagl i draed y rhai angall. A phaham? Canys
dechreuad godineb oedd ddychymmygu delwau,
a'u caffaeliad hwynt oedd lygredigaeth buchedd,
o herwydd nid oeddynt o'r dechreuad, ac ni by-
ddant yn dragywydd. Cyflawnder a segurydd dyn
a'u dychymygodd hwy yn y byd, ac am hynny y
bydd eu diwedd yn fyr, ac felly hyd ddiwedd y ben-
nod, yn cynnwys y pyngciau ymma, pa fodd y dy-
chymmygwyd delwau yn y cyntaf, ac yr offrym-
mwyd iddynt, pa fodd y sicrhawyd drwy ddefodau
anrasson, a pha fodd y cym-mhellodd tyranniaid
creulon rai i'w haddoli hwynt, pa fodd y twyllir y
gwirion a'r gyffredin bobl trwy gyfarwyddyd a
chywreinrwydd y crefftwr a thegwch y ddelw i'w
hanrhydeddu hi, ac felly i gyfeiliorni oddiwrth
adnabyddiaeth Dduw, a llawer o afradau eraill,
ac a ddaw oddiwrth ddelwau.

Ac yn lle crynhodeb ar y cwbl mae fe yn dywe-
dyd mai achos a dechreuad a diwedd pob drygioni
yw anrhydeddu ffiaidd ddelwau, a bod y rhai a'u
haddolant hwy naill ai allan o'u pwyll ai yn wae-
thaf dynion ac all fod. Gwyl ac edrych yn ddyfal
ar yr holl bennod trosti, o herwydd hi a dal ei hy-
styried, yn enwedig yr hyn a scrifennir am dwy-
llo y gwirion a'r bobl gyffredinol angall drwy
eulynnod a delwau, yr hyn a adroddir ddwy-
waith neu dair rhag ei hangofio.

Ac yn y bennod nessaf y ceiwch y geiriau hyn,
Golwg llun gwedi ei beintio ag amryw liwiau sy'n Doeth.15.5.
peri chwant ar rai angall i ddymuno dieneidiol
llun

lun delw farwol i'w hoffi, ac i goelio'r fath bethau. Eithr am y rhai a'u gwnant, a'u coeliant, a'u dymunant, a'u gwasanaethant, y maent oll yn hoffi pethau drygionus.

Mae y prophwyd yn llawer lle yn llyfr y Psalmeu yn melldithio anrhydedd wyr delwau. Gw-
Psal.97.7. radwydder pawb ar a wasanaethant ddelw ger-
Psal.115.8. fiedig a'r rhai a orfoleddant mewn eulynnod, y
Psal.135.18. rhai a'u gwnânt y sydd fel hwyntau a phob un a
ymddiriedo ynddynt. Ac ym-mhrophwydoliaeth
Es.42.8. Esai y dywaid yr Arglwydd, Myfi ydwyf yr Arglwydd, dyma fy enw, a'm gogoniant ni roddaf i arall, na'm mawl i ddelw gerfiedig. Ac yn y man, Troer yn eu hol a llwyr-wradwydder y rhai a ymddiriedant mewn delw gerfiedig, y rhai a ddywedant wrth y ddelw dawdd, chwi ydych ein duwiau ni. Ac yn y 40. bennod gwedi iddo osod allan anymgyffred fawrhydi Duw, mae fe yn gofyn, I bwy gan hyny y cyffelybwch Dduw? a pha ddelw a osodwch i fynu iddo? a lunia y saer gerfiedig ddelw, ac a ddeura yr eurych hi ag aur, ac a dawdd ef gadwyni o arian, ac a ddewis hwn sydd arno eisieu offrwm bren heb bydru?
Es.40.18. a gais ef saer cywraint i baratoi cerfddelw hefyd?
Ac yn ol hyn y mae fe'n gweiddi, Oni wyddoch, oni chlywsoch, oni fynegwyd ichwi o'r dechreuad: ac felly mae yn dangos drwy wneuthurdeb y byd, a thrwy faint y gwaith, y gallant ddeall fod mawrhydi Duw, creawdwr a gwneuthurwr y cwbl oll, yn fwy, nac y gellid na'i bortreio, na'i osod allā drwy un ddelw neu gyffelybiaeth gorphorol. Ac heblaw y pregethiad hynn, yr ydys ynghyfraith Dduw ei hun, yr hon fel y dywaid yr Scrythyr a scrifenodd Duw â'i fys ei hun, a hynny yn

y llech gyntaf yn y dechreuad, nid yn unig yn a-
brodd yn syr yr athrawieth hon yn erbyn delwau,
ond yn ei gosod hi allan ac yn ei phregethu yn he-
laeth, a hynny, gyda chyhoeddiad dibryw i'r sawl Exod.20.4,5.
a ddiystyrant, ac a dorrant y gyfraith hon, a'u hep-
pil ar ei hol hwy.

A rhag na ystyrier arno ac na choffier, yr ydys
yn ei scrifenu nid mewn un man ond mewn llaw-
er o leoedd yngair Duw, megis trwy ei ddarllen
a'i glywed yn fynych y gallem yn y diwedd ei ddys- Leu.19.4.
cu a'i gofio, fal yr ydych hefyd yn clywed darllen Deut.5.8,9.
beunydd yn yr Eglwys, Duw a lefarodd y geiriau
hynn ac a ddywad, myfi yw yr Arglwydd dy
Dduw, na fydded itti dduwiau eraill onid myfi.
Na wna i ti dy hun ddelw gerfiedig na llun dim ac
y sydd yn y nefoedd uchod neu yn y ddaiar issod nac
yn y dwfr dan y ddaiar, na ostwng iddynt ac na a-
ddola hwynt, o herwydd myfi yr Arglwydd dy
Dduw, wyf Dduw eiddigus, yn ymweled a phe-
chodau y tadau ar y plant hyd y drydedd a'r bed-
waredd genhedlaeth o'r rhai a'm casant, ac yn
gwneuthur trugaredd i filoedd o'r rhai a'm ca-
rant ac a gadwant fyng-orchymynion.

Er hynny i gyd ni allodd na godidawgrwydd y
lle hwn, ac yntef yn nechreuad cyfraith yr Ar-
glwydd cariadus, wneuthur i ni ei ystyried, na'r
mynegiad golau wrth gyfrif pob rhyw luniau,
beri i ni ei ddeall; na'r son am dano mor fynych
mewn cymmaint o leoedd, na'i ddarllen a'i glywed
ef mor fynych, wneuthur i ni ei gofio ef; nac ofn
yr erchyll gospedigaeth arnom ni, a'n plant, a'n
heppil ar ein hol, ein hofn-ni rhag ei droseddu ef,
na maint y gwobr i ni a'n plant ar ein hol, ein cy-
ffroi i ufyddhau ac i gadw y fawr gyfraith hon

eiddo yr Arglywdd: ond megis pe buasai gwedi ei scrifenu mewn rhyw gornel, ac heb ei chyhoeddi yn helaeth ond gwedi ei thwtsio yn fyr ag yn dywyll: megis pe buasid heb gyssylltu ag hi un gospedigaeth i'r troseddwyr, nac un gwobr i'r ufyddion. Megis gwyr deillion heb gydnabyddieth ac heb ddeall, megis anifeiliaid anrhesymmol heb ofn cosp na gobaith am wobr, ni a leihasom ac a ddianrhydeddassom uchel fawrhydi y bywiol Dduw, trwy waeledd a * salwedd amryw a bagad o ddelwau o goed, cerrig a mettelau meirwon.

Salwineb.

Ac megis na ellir traethu ac adrodd mawrhydi Duw yr hwn a wrthodasom ac a ddianrhydeddasom ni, na'n pechod a'n troseddau ninau am hynny yn erbyn i fawrhydi ef: felly y traethwyd yn helaeth yn yr yscrythur lan waeledd a gwendid a ffolineb dychymygiaeth delwau, trwy'r rhai y dianrhydeddasō ni ef, yn enwedig yn y Psalmau, llyfr y doethineb, y Prophwyd Esaias, Ezechiel a Barwc, ond yn enwedigol yn y lleoedd, a'r pennodau ymma, Psal. 115.4.5. &c. 135.15. Esai 40.18. 44.9. Ezechiel 6.4. 6. Doeth. 13.14.15. Barwc o'r 3. hyd y diwedd. Yr hyn leoedd fel yr ydwyf yn eich annog i'w darllen yn fynych ac yn ddyfal, felly y maent yn rhy hir ar hyn o amser i'w hadrodd mewn homili. Er hynny mi a dynnaf i'wch ryw brif-nodau byrrion er dangos beth y maent yn ei ddywedyd am ddelwau ac eulynod.

Yn gyntaf yr ydys yn eu gwneuthur hwy a dyfeisiau bach o goed a cherrig neu fettel ac er mwyn hynny ni allant fod yn gyffelybieth i anfeidrol fawrhydi Duw, gorseddfaingc yr hwn yw yr nef a'r ddaiar yn faingc i'w draed.

Yn ail maent hwy yn feirw, a llygaid iddynt ac heb

heb weled, a [illegible] iddynt ac heb deimlaw, trach [illegible] allant fod yn gyfo- [illegible] Duw.

Yn drydedd, nid oes ynddynt allu i wneuthur llês nac afles i neb o'r byd er bod gan rai honynt fwyall, gan rai gleddyf a chan rai waywffon yn eu dwylaw, etto mae y lladron yn dyfod i'w temlau ac yn eu hyspeilio hwy, ac ni allant un waith yscog i'w hymddiffyn eu hunain rhag y lladron: ie a phe llosgai eu temlau neu eu heglwysydd yn [illegible] i'w hoffeiriaid allu ddiangc a'u ca- dw eu hunain, etto ni allant hwy yscog ond aros megis cyffion meirw (megis y maent hwy) i'w llosgi, ac am hynny ni allant fod yn arwyddion [illegible] o'r Duw mawr galluog, yr hwn yn unig a all gadw ei weision a distrywio ei elynion yn dragywyddol, er ydys yn trwsio yn wych mewn aur ac arian a cherig gwerthfawr ddelwau gwyr a gwragedd megis llangcesau neu fachgenesau bychain a fytho'n hoffi gwychder, y rhai, medd y Prophwyd Baruch, y mae cariadon iddynt, ac er mwyn hynny ni allant ddyscu i ni na'n gwra- gedd na'n merched, na sobrwydd na lledneisrwy- ydd na diwairdeb.

Deut.7.5.

Baruch.6.8.

1 Reg.15.11.
2 Par.14.15.
& 34.31.

Ac er bod yn awr yn eu galw hwy yn llyfrau gwyr llêg, etto ni a welwn na allant ddangos un wers dda nac am Dduw nac am dduwioldeb, ond pob am-mrysylledd ac anwiredd. Am hynny fal y mae Duw yn ei air yn gwahardd gwneuthur a gossod i fynu na delwau nac elynnod, felly y mae ef yn gorchymmyn tynnu i lawr, dryllio a distrywio y rhai a gaffont gwedy eu gossod i fynu.

Mae yn scrifennedig yn llyfr y nifeiri nad oes eulyn yn Jacob na delw yn Israel, a bod yr Ar-

wydd yn son yn llawen mewn amrafael fannau, megis dawn a rhodd odidawg Duw, eu bod hwy y rhai a dderbyniasant ffydd Grist, gwedy eu troi oddiwrth ddelwau mudion meirwon at y gwir a'r bywiol Dduw yr hwn sydd fendigedig yn oes oesoedd, yn enwedig yn y lleoedd hyn y 14. a'r 17. o Actau neu weithredoedd yr Apostolion: 1. at y Rufeiniaid, y 2. o'r Epistol cyntaf at y Corinthiaid. Galath. 4. 1. Thessalon. 1. Ac yn gyffelyb y mae Yspryd Duw yn scrythyrau y Testament newydd yn ffieiddio ac yn *dygyn gashau ac yn gwahardd eulynod neu ddelwau a'u haddoliad, fal y mae yn eglur wrth y lleoedd hyn, a llawer eraill megis yn y 7. a'r 15. o Actau'r Apostolion a'r cyntaf at y Rufeiniaid, lle y cyhoeddir plagau ofnadwy i ddelw-addolwyr, y rhai a rodd Duw i fynydd i wyniau gwarthus, ac i wneuthur pob aflendid a ffiaidd-bethau, y rhai ni ddleid eu henwi, megis yn gynnefin yr â godineb Ysprydol a chnawdol ill dau ynghyd.

Act.14.15, 17,29. Rut.11.12. 1.Cor.12.2. Gal.4 8.

*Tragash...

Act.7.41. a'r.15.29. Ruf.1.26.

Yn y cyntaf at y Corinthiaid a'r bummed bennod y'n gwaharddir ni i gadw cyfeillach nac i fwyta nac i yfed gyda'r rhai a elwir yn frodyr, neu yn Gristionogion, ac ydynt yn addoli delwau. Yn y 5. at y Galath. yr ydys yn cyfrif delw-addoliad ym-mhlith gweithredoedd y cnawd: ac yn y cyntaf at y Corinth. a'r 10. yr ydys yn ei alw ef yn wasanaeth cythreuliaid, ac yn bygwth y dinistrir y rhai a'i harferant. Ac yn y chweched bennod o'r un Epistol, ac yn y bummed at y Galathiaid y cyhoeddir na ddaw y fath ddelw addolwyr byth i deyrnas nef. Ac mewn llawer o leoedd eraill y bygythir y daw llid Duw ar bawb o'r fath ddynion. Ac am hynny y mae Joan yn ei Epistol 1.

1.Cor.5. Gal.5.20.

1.Cor.10.14.

1.Cor.6.9. Gal. 5.20,21.

yn

1.Ioan.21. yn ein hannog ni megis plant anwyl i wachelyd
1.Cor.10.14. delwau. Ac mae S. Paul yn ein rhybyddio i wa-
chelyd addoli delwau os bydd wyn call, hynny yw
os gofal wyn am ein Iechydwriaeth ac os ofnwyn
ddinistr, os gofal wyn am deyrnas Dduw a bywyd
tragwyddol, os ofnwyn lid Duw a thragwyddol
ddamnedigaeth.

O herwydd nid yw bossibl ini fod yn addolwyr
delwau ac yn wir weision Duw, fal y dengys S.
2.Cor.6.16. Paul yn yr ail at y Corinthiaid, a'r 6. Bennod,
gan ddywedyd yn oleu na ddichon bod mwy cys-
sondeb na chymdeithas rhwng teml Duw, y rhai
ydyw gwir Gristionogion, a delwau, nag sydd
2.Cor.6.14. rhwng cyfiawnder ac anghyfiawnder, goleuni
a thywyllwch, rhwng y credadwy a'r anghredadw-
wy, rhwng Christ a'r diawl. Yr hwn le sydd yn
profi na ddlyem ni addoli delwau, na'u mynnu yn
ein temlau, rhag ofn eu haddoli hwynt, er eu
bod o hanynt eu hunain yn ddiniwed. O her-
wydd sanctaidd deml Dduw a bywiol ddelw
Dduw yw'r Christion, fal y mae'r lle hwnnw yn
dangos yn eglur i'r sawl a'i darllenont ac a'i ysty-
riant ef yn dda.

*Tragashau. A lle'r oedd yr holl dduwiolion yn *dygyn ga-
shau penlinio, addoli neu offrwm iddynt eu hu-
nain, pan oeddynt fyw yn y byd, o herwydd bod
hynny yn anrhydedd dyledus i Dduw yn unic, fal
y dangosir yn Actau'r Apostolion yn S. Petr
yr hwn a waharddodd hynny i Cornelius; ac yn
S. Pawl a Barnabas a waharddasant yr un
peth i ddinaswyr Lystra. Etto yr ydym ni megis
dynnion ynfyd, yn arfer o gwympo i lawr ym-
Act.10.26. mlaen eulynod a delwae meirwon Petr a Pawl,
Act.14.15. ac yn rhoddi i goed a cherrig yr anrhydedd a dyby-
gent

gent hwy * fod yn ffisiad ei roddi iddynt eu hy- Nad oedd iawn.
nain, pan oeddynt fyw.

Ac fe a wrthododd daionus Angel Duw, fal y
mae'n eglur yn llyfr gweledigaeth Joan, benlinio
iddo, pan gynnygodd Joan yr anrhydedd hwnnw Gwel. 19.10.
iddo. Gwachel, medd yr Angel, wneuthur hynny,
o herwydd dy gydwasanaethwr di wyfi.

Ond nid yw'r drwg angel Sathan yn chwenny-
chu dim yn gymaint a chael penlinio iddo, a
thrwy hynny ar ddiwaith ysbeilio Duw o'i ddy-
ledus anrhydedd a dwyn damnedigaeth ar y rhai
a offrygont moliffel iddo, fal y gwelir yn histori
'r efengyl mewn llawer lle. Ie fe gynnygodd i'n Math. 4.9,10.
Iachawdwr Christ bob golud bydol os efe a ben-
linie i lawr a'i addoli ef. Ond mae'n Iachaw- Luc. 4.6,7, 8.
dwr Christ yn argyoeddi Sathan trwy'r Scry-
thyrau gan ddywedyd, yr Arglwydd dy Dduw a
addoli, ac ef yn unic a wasanaethi.

Ond yr ydym ni wrth beidio ac addoli a gwasa-
naethu Duw yn unic, fal y mae'r Scrythyr yn
ein dysgu ni, a thrwy addoli delwau yn erbyn yr
Scrythyrau, yn tynnu Sathan attom, ac yn barod
heb un gwobr i ganlyn ei ddeisyfiad ef, ie yn gyn-
nac y ffaelo gennym, ni a gynnygwn iddo ef roddi-
on ac aberthau er derbyn ein gwasanaeth.

Ond canlyn wnn frodyr yn hytrach gyngor dai-
onus Angel Duw, o flaen cyngor dichellgar Sa-
than, yr angel drygionus a'r hen sarph, yr hwn yn
ol y balchedd trwy'r hwn y cwympodd ar y cyn-
taf, sydd yn ceisio fyth trwy'r fath gyssegr-ladrad
ddifuddio Duw, yr hwn y mae ef yn cenfigennu
wrtho, o'i ddyledus anrhydedd, ac o herwydd fod
ei wyneb ef ei hunan yn * erchyll ac yn ofnadwy, Anferth.
mae fe'n ceisio dwyn anrhydedd Duw atto ef

hun, trwy gyfryngiad coed a cherrig, a'n gwneu-
thur ni gydâ hynny yn elynion i Dduw, ac yn
erbynwyr ac yn gaethweision iddo ei hun, ac yn y
diwedd i dynnu arnom yn lle gwobr ddiwisir a
damnedigaeth tragwyddol.

Gan hynny vwchlaw pob peth os ydym yn ty-
biaid ein bod yn wir Gristionogion (fal y'n
henwir ni) credwn y gair, vfyddhawn y gyfraith,
canlynwn athrawaeth a siampl ein Iachawdwr
a'n meistr Christ: troewn heibio hudoliaeth Satan,
sy'n ceisio ein hudo i wasanaethu eulynod ac a-
ddoli delwau, yn ol y gwirionedd a ddangoswyd
ac a addyscwyd allan o destament ac efengyl ein
dyscawdwr a'n hathro nefol Iesu Grist: yr hwn
sydd Dduw bendigedig yn dragywydd. Amen.

## ¶ Yr ail rhan o'r bregeth yn erbyn enbeidrwydd delw-addoliad.



CHwi a glywsoch, fy-ngharedigion,
yn y rhan gyntaf o'r bregeth hon
yn erbyn delwau ac eulynod, yn
erbyn eulyn-addoliad a delwa-
ddoliad, athrawaeth gair Duw;
a dynnwyd allan o Scrythyrau
'r hên destament a'r testament
newydd, gwedy ei gadarnhau trwy siampl yr A-
postolion a Christ ei hunan. Yn awr er nadydyw
ein Iachawdwr Christ yn derbyn nac yn rhaid
iddo wrth dystiolaeth dyn, ac er nad rhaid i'r hyn
a gadarnhair vnwaith trwy siccrwydd ei wirio-
nedd ef, ddim chwaneg siccrwydd gan athrawaeth
ac scrifenadau dyn, mwy nac y mae'n rhaid i'r
haul gannaid ar hanner dydd wrth oleu canwyll

fach

fach i ddiot tywyllwch heibio ac i chwanegu ei o-
leuni: etto er eich bodlonrwydd chwi yn-mhellach fe
ddangosir i chwi yn yr ail rhan hon, megis yr a-
ddawyd yn y dechreuad, fod yr hên dadau sanctaidd,
a'r hen athrawon dyscedig yn credu ac yn dyscu
yr athrawaeth hon, ynghylch gwahardd delwau
a'u haddoliad, (yr hon a dynnwyd allan o Scry-
thyrau'r hên dadau sanctaidd yr hên destament
a'r testament newydd) a bod y brif-eglwys gynt yr
hon oedd buraf ac an-llygredicaf yn ei chrefydd
ac yn ei derbyn. A hynny a ddangosir allan o scrife-
nadau'r hên athrawon sanctaidd hynny, ac allan
o'r hen historiau eglwysig a berthynant iddynt.

Mae Tertulian hên scrifennydd ac athro o'r E-
glwys, yr hwn oedd yn y byd ynghylch wyth-igain
mlynedd yn ol dioddefaint ein Iachawdwr
Christ, mewn llawer o leoedd, ond yn enwedig yn
y llyfr a scrifennodd ef yn erbyn y modd yr arferid
o goroni: ac mewn traethawd bychan arall, yr
hwn y mae fe yn ei enwi, Coron y milwr, yn llym
ac yn ddifrifol yn scrifennu yn erbyn delwau neu
eulynnod ac yn eu *dychanu.

Ac a'r airiau Ioan Sant yn ei epistol cyntaf
a'r bummed bennod: mae'n dywedyd yn y modd
ymma, mae Ioan sant gan gwbl ystyriaid y peth
hyn yn dywedyd yn y modd ymma, fymblant by-
chain ymgedwch oddiwrth ddelwau neu eulyn-
nod: nid ydyw fe yn dywedyd yn awr ymgedwch
oddiwrth ddelw-addoliad, megis oddiwrth eu
gwasanaeth hwy a'u haddoliad, ond oddiwrth y
delwau a'r eulynnod eu hunain, hynny yw oddi-
wrth eu llun a'u cyffelybiaeth. O herwydd peth
annheilwng yw i ddelw Duw byw fyned yn llun
delw farw.

Libro contra coronandi morem.

Goganu.

1.Ioan.5.21.

Ond

Ond yr wych chwi yn tybaid fod y rhai sy yn gosod delwau ac eulynod mewn eglwysydd a themlau, ie ac yn eu dodi mewn *pallau bwchben bord yr Arglwydd, megis o lwyr fedd wl eu haddoli a'u anrhydeddu hwy, yn gystried yn dda gyngor S. Joan a Thertulian? O herwydd pa un yw gosod i fynu ddelwau ac eiddolau yn y modd hynny, ai ymgadw oddiwrthynt ai yntau eu derbyn a'u cofleidio?

Cistau.

Mae Clemens yn dywedyd yn ei lyfr at Jaco brawd yr Arglwydd: Pa beth a ddichon bod mor ddrwg, ac mor anniolch-gar, a derbyn dawn gan Dduw, a rhoddi diolch am dano i goed a cherrig? Am hynny dihunwch, a deallwch eich Iechyd, o herwydd nid rhaid i Dduw wrth un dyn, nid yw yn gofyn dim ac ni ddrwga dim ef: Ond nyni yw y rhai yr ydys yn eu cymmorth, neu eu drygu, am ein bod yn ddiolchgar i Dduw neu yn anddiolchgar.

Clem. li. 5. ad Iacob fratrem Domini.

Mae Origen yn ei lyfr yn erbyn Celsus yn dywedyd fal hyn, Mae Christionogion, ac Iddewon pan glywont y geiriau hyn o'r gyfraith, Ti a ofni yr Arglywydd dy Dduw, ac na wna ddelw, nid yn unic yn ffieiddio temlau, allorau, a delwau'r duwiau, ond os bydd rhaid hwy a fyddant feirw'n gynt nag yr halogont eu hunain ag un annuwioldeb. Ac yn y man ar ol hynny fe a ddywaid, fe dafiwyd ym-mhell ac a waharddwyd cerfwyr eulynod a gwneuthurwyr delwau allan o wlad yr Iddewon, rhag iddynt gael achos i wneuthur delwau, y rhai a allai dynnu rhyw ddynion ffollaid oddiwrth Dduw, a throi llygaid eu heneidiau i edrych ar bethau daearol.

Ac mewn man arall o'r un llyfr, nid yw, medd ef, addoli

addoli delwau'n unic yn beth ynfyd gwallgofus, onid hefyd dwyn gyda hynny heb gymeryd arnom ei weled. Fe ddichon dyn adnabod Duw a'i unic fab wrth y rhai a gawsont y fath râd gan Dduw, ac y gelwid hwy yn dduwiau: ond nid possibl i neb wrth addoli delwau gael dim gwybodaeth am Dduw.

Mae'r geiriau hyn gan Athanasius yn ei lyfr yn erbyn y cenhedloedd, Dywedant attolwg pa fodd yr adwaenir Duw wrth ddelw? oni bydd hynny trwy ddefnydd y ddelw, yno ni bydd rhaid wrth un-llun na diwgad, o herwydd i Dduw ymddangos ym-mhob creadur defnyddiol, y rhai a dystiolaethant ei ogoniant ef. Yn awr os dywedant mai trwy'r pethau byw eu hunain y rhai y mae'r delwau'n dangos eu llun, o herwydd yn siccr fe adnabyddid gogoniant Duw yn eglurach o lawer o'i ddangos trwy greaduriaid rhesymmol na thrwy ddelwau meirwon anghyffroedig. Ac am hynny pan ydych yn cerfio neu yn peintio delwau, er mwyn adnabod Duw wrthynt, yn wir, yn wir, yr ydych yn gwneuthur peth an-nheilwng anweddaid. Ac fe a ddywaid mewn lle arall o'r unlyfr, Ni ddaeth dychymmyg delwau o ddaioni, ond o ddrwg, a pha beth bynnag y sydd iddo ddechrau drwg, ni ellir mewn dim ei farnu yn dda, am ei fod yn ddrwg hollawl. Hyd yn hyn y clywsoch Athanasius hen Athro ac escob dyscedig sanctaidd, yr hwn sydd yn barnu am ddelwau, fod eu dechreuad a'u diwedd, a chwbl o honynt yn ddrwg.

Mae gan Lactantius hefyd hen scrifennydd dyscedig, yn ei lyfr am ddechreuad amryfysedd, y geiriau hyn, Mae Duw oddiar ddyn, ac ni osod- Lib.2,cap.16.

bydd:

wyd ef isod, ond rhaid yw ei geisio ef yn y wlad uchaf. Am hynny diammau nad oes crefydd lle mae delw. O herwydd os yw ffydd a chrefydd mewn pethau duwiol, ac nad oes duwioldeb ond mewn pethau nefol, y mae delwau heb na ffydd na chrefydd ynddynt. Dymma eiriau Lactantius, yr hwn oedd er ys mwy nâ thrychant ar ddeg o flynyddoedd, ac o fewn trychant mlynedd ar ol ein Iachawdwr Christ.

Mae gan Cyrillus hen Ddoctor sanctaidd, ar Efengyl Ioan sant y geiriau hyn, fe ymadawodd llawer â'r creawdwr ac a addolasont y creadur, ac ni chywilyddiasant ddywedyd wrth bren ti yw fy-nhâd, ac wrth garreg ti a'm cenhedlaist i. O herwydd llawer ie haychen y cwbl oll (ôch gan alar) a gwympasant i'r fath ffolineb ac y rhoesant ogoniant y duwdod i bethau heb na synwyr na theimlad ynddynt.

Mae Epiphanius escob Salamis yn Cyprus, gwr sanctaidd dyscedig, yr hwn oedd fyw yn amser yr Ymherodr Theodosius, ynghylch trychant mlynedd a deg a phedwar ugain yn ol escynniad ein Iachawdwr Christ, yn scrifennu fal hyn at Ioan Patriarch Ierusalem, Mi aethym, medd Epiphanius, i mewn i ryw Eglwys i weddio, yno y cefais liain ynghrog yn-nrws yr Eglwys, ac arno gwedi ei beintio megis delw Christ neu ryw sant. (o herwydd nid ydwyf yn cofio i ddá llun pwy ydoedd) am hynny pan welais lun dyn, gwedy ei grogi yn Eglwys Ghrist, yn erbyn awdurdod yr Scrythyrau mi a'i torrais, ac a gynghorais geidwaid yr Eglwys ar iddynt * amwisco gwr tlawd a fuase farw, yn y lliain hwnnw, a'i gladdu.

* Amdoi.

Ac yn ol hyn mae'r un Epiphanius, gan ddanfon lliain arall heb ei beintio, yn lle yr hwn a dorasai, at y Patriarch hwnnw, yn scrifennu fal hyn, per'wch, adolwg, i henuriaid y lle hwnnw, dderbyn y lliain hwn yr ydwyf yn ei ddanfon gyda'r gennad ymma, a gorchymmynnwch iddynt o hyn allan nad arferont mwy grogi y fath liain paentiedig yn Eglwys Grist yngwrthwyneb i'n crefydd ni. O herwydd gweddus yn hytrach yw i'ch daioni chwi, gymmeryd y gofal hwn, ac i chwi dynnu ymmaith bob * petrusder sydd anweddus i Eglwys Ghrist, ac yn drangwydd i'r bobl a roddwyd yn eich cadwedigaeth chwi.

* Trangwydd.

Ac fe a gyfiaithodd S. Jerom ei hun y llythyr hwn i'r iaith ladin, megis peth yn haeddu ei ddarllen gan lawer. Ac er mwyn i chwi wybod fod yr escob dyscedig sanctaidd hwn Epiphanius mewn cymmeriad mawr gan S. Jerom, ac er mwyn hynny iddo gyfiaithu y llythyr hwn megis scrifen fawr ei hawdurdod. Gwrandewch pa destiolaeth y mae S. Jerom yn ei roddi iddo mewn lle arall, yn ei draethawd yn erbyn amrysysedd Joan Escob Jerusalem, lle mae gantho y geiriau hyn, Mae iti, medd ef, Epiphanius Bab ar gyhoedd yn ei lythyrau yn dy alw di yn heretic. Yn sicer nid ydwyd ti i'th roi o'i flaen ef, nac am oedran, nac am ddysc, nac am dduwioldeb bywyd, nac wrth dysthiolaeth yr holl fyd. Ac yn y mann ar ol hynny yn yr un traethawd, medd S. Jerom, Yr ydoedd Escob Epiphanius yn y fath barch ac anrhydedd, na chyffyrddodd Valens yr Ymherodr yr herlidiwr creulon, ag ef. O herwydd yr ydoedd y tywysogion oedd hereticiaid, yn tybaid fod yn gywilydd iddynt erlid y fath wr godidawg.

Pob escob a elwid yr amser hynny yn Bab.

Tripart. hist. lib.9.cap.48.

Ac yr ydys yn yr histori eglwysig dair-rhan, yn y nawfed llyfr a'r 48. bennod yn tystiolaethu i Epiphanius ac yntef yn fyw, wneuthur llawer o wrthiau, ac yn ol ei farw ef fod cythreuliaid gwedy eu bwrw allan wrth ei fedd ef yn llefain ac yn rhuo. Fal hyn y gwelwch pa awdurdod y mae S. Ierom a'r hen histori honno yn ei rhoddi i'r Escob sanctaidd dyscedig Epiphanius, barn yr hwn am ddelwau mewn eglwysydd a themlau, a hwy yr amser hynny yn dechreu lledrad-ymlusgo iddynt, a dâl ei yscrifaid.

Yn gyntaf, mae fe'n barnu fod yn wrthwyneb i Gristionogawl grefydd ac awdurdod yr Scrythyrau, fod delwau yn Eglwys Grist.

Yn ail fe a dafloddd nid yn unic ddelwau cerfiedig a thoddedig, ond rhai peintiedig hefyd allan o Eglwys Grist.

Yn drydydd nad oedd fatter ganddo pa un a fyddai ai delw Christ, ai delw un sant arall, ond os delw a fyddai, ni oddefai ddim o honi yn yr Eglwys.

Yn bedwerydd, ni fymmudodd ef hi yn unic allan o'r Eglwys ond ei drylliaw hefyd â zêl gadarn wresog, a pheri amdwisco corph marw a'i gladdu ynddi, gan farnu nad ydoedd hi yn weddus i wneuthyd dim o honi ond i bydru yn y ddaear, gan ganlyn yn hyn o beth sampl y brenin daionus Ezechias, yr hwn a dorrodd y sarph bres yn ddrylliau, ac a'i lloscodd hi yn lludw, am fod yn gwneuthur delw-addoliad iddi.

Yn ddiwethaf oll mae Epiphanius yn dangos fod yn ddlyed ar escobion gwiliadwrus synneid na byddei yn goddef un ddelw yn yr Eglwys, am eu bod yn achos petrusder a thrangwydd i'r bobl

a rodd-

a roddwyd yn eu cadwedigaeth hwy. Ac o herwydd na scrifennodd S. Ierom yr hwn a gyfiaithodd yr Epistol hwnnw, nac awdyrau yr hên histori eglwysig dair-rhan (y rhai fal y dangoswyd a ganmolant Epiphanius yn fawr) nac un escob duwiol dyscedig arall cyn yr amser hynny nac ennyd ar ol hynny, ddim yn erbyn barn Epiphanius ynghylch delwau; eglur yw, na chynhwysasid yn y dyddiau hynny, yr hyn oedd ynghylch pedwar cant o flynyddoedd ar ol Christ, ac nad arferid dim delwau yn gyhoeddus yn Eglwys Ghrist, yr hon oedd yr amser hynny anllygredicgach a phurach o lawer nac yw hi yn awr. Ac lle ddechreuai ddelwau yr amser hynny ledrad ymluscio 'n ddirgel o dai gwŷr i'r eglwysydd, a hynny yn gyntaf gwedy eu peintio ar lieiniau a pharwydydd, pan wele'r escobion gwialiadwrus duwiol hwynt, hwy a'u tynnent ymmaith megis pethau anghyfraithlon gwrthwynebus i ffydd a chrefydd Ghrist, fal y gwnaeth Epiphanius ymma.

A barn yr hwn y mae yn cordio ac yn cyttuno, nid yn unic S. Ierom cyfiaithydd ei Epistol ef, ac scrifennydd yr histori dair-rhan, ond hefyd yr holl escobion, ac yscolheigion dyscedig duwiol, ie a'r holl Eglwys yn yr amser hynny, ac er amser ein Iachawdwr Christ dros bedwar cant o flynyddoedd.

Fe scrifennwyd hyn yn helaeth am Epiphanius, am fod ymddiffynwyr delwau yn yr amser ymma wrth weled ei gwascu mor galed trwy eglur draethawd a gweithred Epiphanius. Escob a doctor o'r fath henaint, yn ymegnio ym-mhob ffordd (ond yn ofer yn erbyn y gwirionedd) naill

ai i brofi nad ydoedd yr epistol hyn o waith Epiphanius, na'r cyfiaithiad o waith Ierom: ac os ydynt meddant, nid mawr y grym, o herwydd, meddant, Iddew oedd yr Epiphanius hwn, a chwedy ei droi i ffydd Christ, a'i wneuthur yn escob, fe a gadwodd yn ei feddwl y casineb oedd gantho pan ydoedd yn Iddew yn erbyn delwau, ac felly fe a scrifennodd yn eu herbyn, megis Iddew, ac nid megis Christion. Oh ddigywilydd-dra Iddewaidd a chenfigen y cyfryw dychymmyg wyr: nhwy a ddylyent brofi ac nid dywedyd yn unic mai Iddew oedd Epiphanius.

Hefyd am y rheswm y maent yn ei wneuthur ni a'i derbyniwn ef yn llawen, o herwydd oni ddlyid cymmwys barn Epiphanius yn erbyn delwau, am ei fod gwedy ei eni o Iddew gelyn i ddelwau, y rhai sydd elynion Duw gwedy ei droi i ffydd Grist, yno y canlyn na ddylai un ymmadrodd na gair yn yr hen ddoctoriaid, a'r tadau ac sydd o blaid delwau, fod mewn dim awdurdod, o herwydd fod y rhan fwyaf o scrifennyddion dyscedig yr Eglwys gynt, megis Tertulian, Cyprian, Ambros, Austin, a rhifedi aneirif eraill yn baganiaid, y rhai oeddynt yn ffafrio ac yn addoli delwau, gwedy eu troi i ffydd Grist, ac felly fe allai iddynt ddwyn rhyw beth i lithro o'u pennau ymmhlaid delwau, megis cenhedloedd, ac nid megis Christionogion.

Felly hyd y mae Eusebius yn ei histori eglwysig a S. Ierom yn dywedyd yn oleu, mai oddiwrth y cenhedloedd y daeth delwau gyntaf attom ni y Christionogion, mwy o lawer y canlyn fod holl sothach y babaidd Eglwys yn amddiffyn delwau o sylfaen ac awdurdod bychan, neu heb ddim aw-

burdod. O herwydd nad yw rhyfedd fod y rhai a ddygwyd i fynydd o'u mebyd ym-mhlith delwau, ac a yſtaſont ddelw-addoliaeth agos gyda llaeth eu mammau, yn dals gyda delwau, ac yn dywedyd ac yn ſcrifennu yn eu plaid hwy.

Ond yn wir ni ddyleid yſtyriaid gymmaint pa un a'i un gwedi ei drol i ffydd Griſt o Iddew neu o genhedl ddyn a fyddai 'r ſcrifennydd, er ei gredu neu ei anghredu, ond mor gytun neu anghytun â gair Duw y mae fe 'n ſcrifennu. A pha beth y mae gair Duw yn ei ddywedyd am ddelwau, neu eulynnod, a'u haddoliad, chwi a glywſoch yn helaeth, yn y rhan gyntaf o'r bregeth hon.

Mae S. Ambros yn ei draethawd am farwolaeth yr Ymherodr Theodoſius yn dywedyd fal hyn, fe gafas Helen y groes a'r tieitl arni, hi addolodd y brenin yn ddiau ac nid y pren (o herwydd cyfeilliorn y cenhedloedd ydoedd hynny, ac oferedd yr annuwiol) ond hi addolodd yr hwn a grogaſid ar y groes, enw yr hwn a'i deitl oedd yn ſcrifenedig arni, &c.

Edrychwch weithian yr Ym-herodres ſancteiddi, a barn S. Ambros oll ynghyd: yr oeddynt hwy yn tybied mai cyfeilliorn y cenhedloedd, ac oferedd yr annuwiol, oedd addoli 'r groes, ar yr hon y gollyngaſid gwerthfawroccaf waed ein Iachawdwr Chriſt: ninnau a gwympwn i lawr ger bron pob dyll croes o goed, yr hwn nid yw ond delw 'r groes honno.

Mae S. Awſtin y dyſcedicaf o'r holl hen athrawon yn dywedid yn 44. Epiſtol at Maximus, Gwybyddwch nad oes un o'r Chriſtianogion catholic i'r rhai y mae Eglwys yn eich trefi chwi, yn addoli neb ai marw naccun peth a wnaeth Duw megis

Duw. Ystyriwch wyth airiau Awstin nad ydyw y rhai a addolant bethau meirwon neu greaduriaid yn Gristionogion catholic. Mae'r un S. Awstin yn dangos yn y 22. Llyfr o ddinas Duw a'r 10. bennod, na ddylaid adeiladu na themlau nac eglwysydd i ferthyron neu saint, ond i Dduw yn unic, ac na ddyleid appoyntio offeiriaid i ferthyrō neu saint ond i Dduw yn unic. Mae gan yr un Awstin yn ei lyfr o arferon yr Eglwys gatholic, y gairiau hyn, Mi a wnn fod llawer yn addoli beddau a lluniau, mi a wn fod llawer yn cwympio yn afradlon a'r feddau'r meirwon, a than roddi eu bwyd i gyrph meirwon, ydynt yn eu claddu eu hunain ar y rhai a gladdwyd, ac yn bwrw eu glodddineb a'u meddwdod ar eu ffydd a'u crefydd. Welwch, mae fe'n cyfrif addoli beddau'r saint a'u lluniau, yn gystadl crefydd a meddwdod a glodddineb, ac nid yn well. Mae S. Awstin yn fodlon iawn i Marcus Varro, yr hwn a ddywad fod crefydd yn buraf oll heb ddelwau. Ac fe ddywaid ei hun fod mwy o rym mewn delwau i wyrdroi enaid annedwydd, nag i'w ddyscu a'i gyfarwyddo: ac fe a ddywaid ymhellach fod pob plentyn, ie pob anifail yn gwybod, nad yw y peth a wnant yn ei weled ddim yn Dduw: pa ham gan hynny y mae'r Yspryd glân yn ein rhybyddio ni mor fynych am y peth y mae pawb yn ei wybod? I'r hyn beth mae S. Awstin ei hun yn atteb fal hyn: O herwydd, medd ef, pan osodir delwau mewn temlau, a phan ddodir hwy mewn uwchelder anrhydeddus, a phan dechreuer eu haddoli hwy, yno y mae gwyniau enbaid amryfusedd yn magu. Dymma farn S. Awstin am ddelwau mewn eglwysydd, eu bod hwy yn y man yn magu amryfusedd a delw-addoliad.

De ciuitate Dei.
In Psal. 36. & 113.

fe fyddai ry hir adrodd yr holl leoedd eraill gellid eu dangos allan o'r hen ddoctoriaid, yn erbyn delwau a delw-addoliad. Am hyn mi a ymfodlonwn â'r ambell un ymma ar hyn o amser.

Bellach am historiau eglwysig mewn hyn o beth, fel y galloch wybod pa ham, pa bryd, a chan bwy yr arferwyd delwau gyntaf yn ddirgel, ac ar ol hynny nid yn unic eu derbyn i eglwysydd a themlau Christionogawl, ond yn y diwedd eu haddoli hefyd, a pha fodd y gwaharddwyd, y dywedwyd ac y safwyd yn eu herbyn gan escobion duwiol, doctoriaid dyscedig, a chan ddywysogion Christionogawl, mi a gynullaf yn fyr stori gryno, o'r hyn a scrifennwyd yn halaeth, mewn llawer o leoedd, gan lawer o hen scrifennyddion a historiawyr yn hyn o beth.

Megis y bu i'r Iddewon er bod ganthynt orchymmyn Duw yn oleu ac yn eglur na byddai iddynt wneuthur nac addoli delw, megis y dangoswyd o'r blaen yn halaeth, gwympo er hynny wrth siampl y cenhedloedd a'r bobloedd a drigent o'u hamgylch i wneuthur delwau ac i'w haddoli hwynt, ac felly i wneuthur ffiaiddiaf ddelwaddoliad: am yr hyn y mae Duw trwy ei brophwydi sanctaidd yn eu ceryddu ac yn eu bygwth hwy yn dost, ac yn ol hynny a gyflawnodd ei fygythiau hynny gan eu cospi hwy yn dost, fal y dangoswyd uchod: felly gwedy troi rhai o'r Christionogion yn yr hen amseroedd oddiwrth addoliad delwau y gaudduwiau, at y gwir Dduw byw a'i Iachawdwr Iesu Grist, o [illegible], ac megis gwyr gwedy ymarfer delwau yn ei hen amser, hwy beintiasont ac a gerfiasant ddelwau o'n Iachawdwr Christ, Mair ei fam ef, a'i Apostolion, dan dy-

hied fod hyn yn hwnge o ddiolchgarwch a chare-digrwydd tuag at y rhai y derbyniasent hwy wir wybodaeth am Dduw, ac athrawaeth yr efengil ganthynt.

Ond ni ddaethe y lluniau a'r delwau hyn etto i'r eglwysydd, ac ni addolwyd hwy dros hir amser ar ol hynny.

Ac rhag i chwi dybied fymod i yn dywedyd hyn a'm pen fy hun yn unic, heb awdurdod gennyf, mi a osodaf drosof Eusebius escob Cesarea yr awdur hynaf o'r histori eglwysig, yr hwn oedd fyw ynghylch y 330. flwyddyn goedran yr Arglwydd, yn nyddiau Constantinus fawr a Chonstantius ei fab ef, Ymherodron, yn y 7. lyfr o'i ystori eglwysig, a'r bedwaredd bennod a'r ddeg, a S. Ierom ar y 10. bennod o brophwydoliaeth Ieremi, y rhai a ddywedant ill dau yn eglur, i amryfusedd am ddelwau (o herwydd felly y mae S. Ierom yn ei alw) ddyfod i mewn at y Christionogion oddiwrth y cenhedloedd, trwy ddefod ac arfer baganaidd.

Mae Eusebius yn dangos y modd a'r achos, gan ddywedyd, nid rhyfedd a hwyntau o'r blaen yn genhedloedd, gwedy iddynt gredu iddynt offrwm hynny ein Iachawdwr Christ, am y donniau a dderbyniasent gantho, ie (medd ef) ac yr ydym yn gweled yn awr fod yn gwneuthur delwau Petr a Phawl a'n Iachawdwr Christ ei hun gwedy eu peintio mewn tablennau, yr hwn yr ydwyf yn tybied ddarfod ei gadw a'i gynnal megis peth didrwg, trwy arfer baganaidd. O herwydd felly yr arferai y cenhedloedd o anrhydeddu y rhai a dybygent eu bod yn haeddu anrhydedd, o herwydd y dylaid cadw rhyw arwyddion am hen wyr, o achos fod cariadwriaeth y rhai olaf yn arwydd o

anrhydedd y rhai a fu o'r blaen, ac o gariad y rhai a ddel a'r ol.

Hyd hyn yr adroddais airiau Eusebius, ac yno ystyriwch fod S. Jerom ac yntef yn hyn o beth yn cytuno, ddyfod y delwau ymma i blith Christionogion gan rai oedd o'r blaen yn Baganiaid, ac a arferasent ddelwau, a chwedi eu troi i ffydd Grist a gadwasant weddillion o'u paganeidd-dra heb ei gwbl lanhau: o herwydd mae S. Jerom yn ei alw ef yn eglur yn gyfeiliorn ac amryfysedd.

Yr un fath sampl a welwn ni yn Actau'r Apostolion am yr Iddewon, y rhai yn ol eu troi at Grist a fynnasent ddwyn i mewn yr enwaediad, (yr hwn a arferasent hwy yn hir,) gyda hwy i ffydd a chrefydd Christ: gyda'r rhai y bu ar yr Apostolion, yn enwedig S. Pawl, waith mawr i attal hynny o beth. Act. 15.1.

Ond am yr enwadiad yr ydoedd llai rhyfeddod, am ei ddyfod ef i mewn yn gyntaf trwy orchymmyn Duw. Ond fe ddichon dyn ryfeddu'n gyfion o blegid delwau, pa fodd y daethont hwy i mewn, mor innion yn erbyn sanctaidd air Duw a'i orchymmyn yn cyhoedd. Ond nid oeddid etto'n amser Eusebius yn addoli delwau, nac yn eu gosod yn gyhoeddus mewn eglwysydd a themlau, a'r rhai a'u cadwent hwy yn ddirgel, a gyfeiliornent nid o genfigen, ond o ryw zêl.

Ond yn ol hynny hwy a ymlusgasont o dai dirgel i eglwysydd, ac felly a fagasont yn gyntaf goelfuchedd, ac yn ddiwethaf ddelw-addoliad ymmhlith Christionogion, fal y cair gweled ar ol hyn.

Yn amser yr Ymherodron Theodosius a Martian, y rhai a deyrnasent ynghylch y 460. oedran yr Arglwydd, ac er-ys 1140. mlynedd, pan oedd

pobl y ddinas Nola unwaith yn y flwyddyn yn cadwdydd ganedigaeth S. Phelix yn y deml ac yn arfer o gwmpnis yno yn halaeth, fe a barodd Pontius Paulinus escob Nola beintio parwydydd y deml ag historiau a dynnasid allan o'r hên destament, fal y gallai'r bobl wrth weled ac wrth ystyried y lluniau hynny, ymgadw'n well oddiwrth loddineb ac oferdraul.

Ynghylch yr amser hynny y mae Aurelius Prudentius bardd Christionogawl dyscedig yn manegi iddo fe weled mewn eglwys gwedy ei pheintio histori dioddefaint S. Cassian, merthyr a meistr yscol, yr hwn a laddasei ei yscolheigion ei hun yn greulon annial â mil o glwyfau gan ei frathu ef â'u pinniau scrifennu o brês, ar orchymmyn y tyrant, medd Prudentius. Ac fal dymma'r peintiadau cyntaf mewn eglwysydd ac sydd hynod am eu henaint. Ac felly wrth y siampl hyn y daeth peintio, ac ar ol hynny delwau o goed a cherig a defnyddion eraill, i eglwysydd Christionogawl.

Yn awr os ystyriwch y dechreuad ymma, nid ydyw dynnion mor barod i addoli llun ar bared neu mewn ffenestr a delw fraisc oreuraid, wedy ei thrwsio â cherig gwerthfawr. Ac mae mewn cyflawn stori gwedy ei pheintio, ac actau a gweithredoedd llawer o ddynnion, ac ond odid summ y Stori gwedy scrifennu wrthi, ddefnydd arall amgen nag sydd mewn eulyn, neu ddelw fud, a fytho 'n sefyll wrthi ei hun, ond wrth ddyscu trwy historiau peintiedig, fe ddaethpwyd bob ychydig i ddelw-addoliaeth. Yr hyn beth pan ddeallodd gwyr duwiol (megis ymmerodron ac escobion dyscedig eraill) hwy a orchymmynnasont nad arferid y fath luniau, delwau ac Idolau mwy.

Ac

sâctaidd ymma deyrnasu, nid oedd dim delwau yn gyhoedd mewn eglwysydd neu demlau. Pa fodd y gorfoledde y delw-addolwyr pe byddai ganthynt gymmaint awdurdod a hynafiaeth dros ddelwau ac sydd ymma yn eu herbyn hwy?

Am ben ennyd fychan ar ol hyn fe dorrodd y Gothiaid, Vandaliaid, Huniaid a chenhedloedd farbaraidd annuwiol eraill i mewn i'r Ital, ac i bob rhan o wledydd gorllewin Ewrop, a lluoedd mawrion grymmus, ac a anrheithiasont bob lle, a ddinistrasont ddinasoedd, ac a loscasant y llyfrau, fal y lleshawyd ac y llescawyd gwir grefydd yn amgen nag y credaiddyn. Ac felly gā fod Escobion y dyddiau diwethaf hynny, yn llai eu dysc, ac ynghenol rhyfeloedd yn gofalu llai na'r escobion o'r blaen am hynny o beth, trwy anwybodaeth gair Duw, ac esceulusdra'r escobion ac yn enwedig o herwydd bod tywysogion diwybod heb eu dyscu yn iawn yn-gwir grefydd, yn rheoli, fe a ddaeth delwau i Eglwys Grist yn y rhan orllewin honno, lle rheole y bobl farbaraidd hynny; nid yn unig mewn lluniau gwedi eu peintio, ond gwedi eu gweithio mewn cerrig, coed, neu fettel, a'r fath ddefnydd; ac ni ossodwyd hwynt i fynydd yn unic ond fe ddechreuwyd eu haddoli hefyd.

Pan welodd Serenus gwr discedig duwiol Escob Massil y drêf bennaf o Galia Narbonensis, (yr hyn a elwir yn awr prouins) yr hwn oedd yngylch chwechcant o flynyddoedd yn ol ein Iachawdwr Christ, y bobl trwy achos delwau yn cwympo i ffieidiaf ddelw-addoliad; fe a dorrodd yn ddrylliau holl ddelwau Christ a'i saint y rhai oeddynt yn y ddinas honno, ac am hynny yr achwynwyd arno wrth Gregori Escob Rufain, y

cyntaf

cyntaf o'r enw hwnnw: yr hwn oedd yr Escob dyscedig cyntaf ac a oddefodd osod delwau yn gyhoedd mewn eglwysydd, er dim ac a ellir ei wybod trwy un scrifen na hên histori. Ac ar y Gregori hwn y mae'r holl addolwyr delwau y dydd heddyw yn gosod sail eu hymddiffynfa.

Ond megis ac y mae pob peth ac sydd ar fai, o ddechreuad a ellid ei oddef wedi tyfu waethwaeth, nes eu myned o'r diwedd yn anrhaith oddef: felly yr aeth delwau.

Yn gyntaf fe arferodd dynnion historiau neillduol gwedy eu peintio mewn llechau, lliainiau a pharwydydd. Yn ol hynny delwau breiscon, gwychion, yn ddirgel yn eu tai eu hunain.

A chwedy hynny y dechreuodd lluniau yn gyntaf, ac yn eu hol hwy delwau breiscon gwychion ymlusco i eglwysydd, er bod gwyr dyscedig du wiol yn dywedyd yn eu herhyn hwy.

Yno trwy arfer, yr ymddiffynnwyd yn gyhoedd, y gallent hwy fod mewn eglwysydd, etto fe waharddwyd eu haddoli hwy.

O'r meddwl ymma yr ydoedd Gregori ei hun, fal y mae'n eglur wrth lythyr y Gregori hwnnw at Serenus escob Massil, yr hwn a enwed o'r blaẽ, yr hwn lythyr a ellir ei gael yn llyfr llythyrau Gregori neu'r register yn y ddegfed ran o'r pedwerydd llythyr, lle mae fe'n dywedyd y gairiau hyn, Yr ydym yn canmol ddarfod iti waharddaddoli delwau, ond yr ydym ni yn anghanmol iti eu torri hwy. O blegid un peth yw addoli'r llun, peth arall wrth lun yr histori yno, yw dyscu pa beth sydd i'w addoli. O achos, y peth yw'r Scruthyr i'r rhai a ddarllenant, hynny y mae'r llun yn ei gyflawni i'r annyscedig wrth edrych arno, &c.

Ac yn ol ychydig o airiau. Am hynny ni ddylasid torri y peth a osodwyd yn yr Eglwys, nid i'w addoli, ond i addyscu meddyliau 'r diwybod. Ac ychydig bach ar ol hynny ailwaith, fal hyn y dylasech ddywedyd, os mynnwch gael delwau yn yr eglwys er mwyn yr addysc y gwnaethpwyd hwy gynt, yr ydwyf yn goddef eu gwneuthur a'u cadw hwy, a'u dangos hwy, ac nad gweledigaeth yr historî yr hon a hyspysa 'r llun, ond yr addoliad yr hwn a roddir yn anweddus i'r llun, sydd yn eich anfodloni: ac nid gwahardd y neb a fynnent wneuthur delwau, ond gwachelyd ym-mhob ffordd addoli delw.

Wrth yr ymadroddion hyn a dynnwyd ymma ac accw allan o lythyr Gregori at Serenus (o blegid fe fyddai ry-hir adrodd y cwbl) y gellwch ddeall hyd ym-mhale yr ydoedd y peth hyn gwedy tyfu chwechcant o flynyddoedd ar ol Christ, fod yn y gorllewin (o blegid nid oeddynt etto mor barod yn Eglwys y dwyrain) yn maenteinio fod delwau neu luniau yn yr Eglwys, ond bod yn gwahardd yn hollol eu haddoli hwy. Ac chwi ellwch weled hefyd gan nad oes un sail am addoli delwau yn scrifennad Gregori, ond ei fod yn eu damnio hwy yn hollol, fod y rhai a addolant ddelwau yn gosod Gregori drostynt yn anghyfiawn. A hefyd oni chyfarwydda delwau yn yr Eglwys ddynion, megis y tebyg Gregori, ond yn hytrach eu dallu hwy, yno y canlyn na ddylei ddelwau fod yn yr Eglwys, a hynny wrth ei farn ef, yr hwn a fynnai eu gosod hwy yno 'n unic fal y gallent ddyscu yr anwybodus.

Am hynny os dangosir addoli gynt, a bod etto 'n addoli delwau, a hefyd nad ydynt yn dyscu dim,

ddim ond amrysysedd a chelwyddau (yr hyn trwy ras Duw a wnair ar ol hyn) yr ydwyf yn gobeithio wrth sarn Gregori ei hun y gorchfygir holl ddelwau a delw-addolwyr. Ond yr amser hynny yr ydoedd awdurdod Gregori cymmaint yn yr Eglwys orllewin, megis trwy ei annogaeth ef y gosode dynnion ddelwau ym-mhob lle. Ond nid ydoedd eu synhwyrau hwy cystadl ac y medrent ystyrlaid paham y mynnai efe eu dodi hwy i fynydd, ond hwy a gwympasont oll yn gadau (trwy eu haddoli hwy) i ddelw-addoliad, yr hwn beth (nid heb achos da) a ofnodd Escob Serenus a ddigwydde.

Yn awr pe buasai sarn Serenus yr hwn a dybyge fod yn weddus dinistr delwau, yn cymmeryd lle, fe suasid wedi dinistr delw-addoliad hefyd; o blegid i'r hyn nid ydyw ni wna neb ddelw-addoliad. Ond pa ddistryw ar grefydd, a pha flinder a ganlynodd ar holl gred, o sarn Gregori, yr hwn a fynnai oddef delwau mewn eglwysydd, ond dangos na ddylid eu haddoli hwy, fe a ddangosodd amser eisoes i'n mawr niwed ni a'n cristwch. Yn gyntaf yn y schism a'r ymryson a fu rhwng yr Eglwys ddwyrain a'r eglwys orllewin ynghylch delwau.

Yn ail yn rhanniad yr Ymmerodraeth yn ddwy-ran, o achos delwau, i fawr wanhâd holl Gred, trwy 'r hyn yn ddiwethaf oll y canlynodd llwyr ddinistr crefydd Gristionogol, a'r Ymmerodraeth ardderchawg ynghwlad Roeg, ac yn yr holl ddwy-rain, a chynnydd gau-grefydd Mahomet, a chreulon lywodraeth a theyrnasiad y Sarasiniaid, a'r Twrciaid y rhai sydd yn awr uwch ein pennau ninnau sydd yn trigo yn y gollewin,

yn

yn barod am bob achos i ddyfod am ein pennau. A'r achos o hyn oll yw ein delwau, a'n delw-addoliad yn eu haddoli hwy.

Ond yn awr gwrandewch orphen yr histori, yn yr hon yr ydwyf yn canlyn fwyaf historiau Paulus Diaconus, ac eraill a gydsylldir gydag Eutropius hên scrifennydd. O achos er bod rhai o'r scrifennyddion ymma yn mawrhau delwau, etto maent hwy yn oleu ac yn halaeth yn canlyn histori yr amseroedd hynny. Y rhai y mae Baptist Platina hefyd yn histori y pabiaid, ac ym-mywyd Constantin a Gregori dau o Escobion Rufain, a lleoedd eraill (lle mae fe'n son am y peth hyn) yn eu canlyn yn enwedig.

Eutropius de rebus Rom. 23.

Platina in vitis Constantini & Greg. 2.

Yn ol amser Gregori fe alwodd Constantin escob Rufain gym-manfa o escobion yr eglwys orllewin, ac a gondemnodd Philippicus Ymmerodr y pryd hwnnw a Joan escob Constantinopl o heresi y Monothelitiaid, a hynny yn wir nid heb achos, ond yn gyfiawn iawn. Wedy iddo wneuthur felly trwy gyfundeb y gwyr dyscedig oedd yn ei gylch ef, fe barodd yr un Constantin Escob Rufain beintio lluniau yr hên dadau, a fuase yn y chwe Chyngor y mae pawb yn eu cynwys ac yn eu derbyn, a'u gosod yn y mynediad i mewn i Eglwys S. Petr yn Rufain.

Pan wybu y Groegiaid hyn, hwy a ddechreuasant ymddadleu ac ymresymmu ynghylch delwau, a'r lladinwyr, ac a ddaliasant na ddylyai delwau gael lle yn Eglwys Christ, a'r lladinwyr a ddaliasant y gwrthwyneb, ac a darawsant ymmhlaid y delwau. Felly ar yr ymryson hyn ynghylch delwau y cwympodd eglwysydd y dwyrain, ac eglwysydd y gorllewin, a hwy yn cytuno

yn

yn ddrwg o'r blaen, i lwyr elynniaeth, ac byth ni chymmodwyd rhyngthynt.

Ond yn hyn o amser y gorchymmynnodd Philippicus ac Arthenius neu Anastasius yr Ymmerodron dynnu delwau a lluniau i lawr, a'u crafu allan o bob lle yn eu teyrnasoedd hwy.

Yn eu hol hwy y daeth Theodosius y trydydd, efe a barodd beintio ailwaith y lluniau a anffurfiasid, a'u gosod eilwaith yn eu lle, ond ni theyrnasodd y Theodosius hwnnw ond un flwyddyn.

Ar ei ol ef y daeth Leo y 3. o'r enw hwnnw yr hwn oedd Syriad o enedigaeth, gwr call iawn, duwiol, trugarog, a thywysog gwrol. Fe barodd y Leo hwn trwy gyhoeddiad dynnu i lawr ac anffurfo'r holl ddelwau a osodasid yn yr Eglwys i'w addoli, ac fe orchmynnodd yn enwedig i Escob Rufain wneuthur felly, ac yn yr ennyd hynny fe barodd gynull yr holl ddelwau oedd yn y ddinas Ymmerodraidd Constantinopol, a'u gosod yn *grug ynghenol y ddinas, a'u llosci yno yn lludw yn gyhoedd: ac a wyngalchodd ac a grafodd ymmaith bob lluniau a beintiasid ar barwydydd temlau, ac a gospodd yn dost lawer o ymddiffyn wyr delwau. Bentwr.

A phan ddywedai rai am hynny ei fod efyn dyrant, fe attebodd, o bawb oll fod yn eu cospi hwy yn gyfiawnaf, y rhai nid addolent Dduw yn iawn, ac ni ofalent am fawrhydi'r Ymmerodr a'i awdurdod, ond a wrth ryfelent yn gynfigennus yn erbyn cyfraithiau llesol iachus.

Pan glywodd Gregori y trydydd o'r enw hwnnw Escob Rufain, weithredoedd yr Ymmerodr yn Grecia ynghylch delwau, fe a gynnullodd Gyngor o escobion Itali yn ei erbyn ef, ac a wnaeth yno

 ordei-

ordeiniaethau o ran delwau, ac am roddi mwy o barch ac anrhydedd iddynt nag a roddid o'r blaen, ac felly fe a gyffrôdd yr Italiaid i godi ac i wrthrhyfelu yn erbyn yr Ymmerodr, a hynny yn gyntaf yn Rafenna. Ac fal y testiolaetha Aspurgensis ac Antonius Escob Fflorens, fe a barodd i Rufain a holl Itali o'r lleiaf ballu o'u ufydd-dod a'u teyrnged i'r Ymmerodr. Ac felly fe a fainteiniodd eu delw-addoliad hwy trwy frâd a gwrthrhyfel. Yr hon siampwl a ganlynodd Escobion Rufain yn wastadol ac a aethont trwyodd yn ddigō trawsion.

Yn ol y Leo hynny yr hwn a deyrnasodd 34. mlynedd y canlynodd ei fab ef Constantin y pummed, yr hwn yn ol siampl ei dad a gadwodd ddelwau allan o'r temlau. A chan fod y Cyngor a gynullasai Gregori yn Itali o rhan delwau yn erbyn ei dad ef yn ei gyffroi ef, fe a gynullodd yntef Gyngor o holl wyr dyscedig ac escobion Asia, a Grecia, er bod rhai yn gosod y Cyngor hwn yn amser ddiwethaf Leo Isauricus ei dad ef.

Yn y gynnulleidfa fawr hon, hwy a eisteddasant mewn cyngor o'r bedwaredd o Idiau Chwefror, hyd y chweched o Idiau Awst, ac a wnaethant ynghylch arfer delwau yr ordeiniaeth hon, nid cyfraithlon i neb a gredant yn nuw trwy Iesu Grist osod delwau y creawdwr, na'r creadur, yn eu temlau i'w haddoli: ond yn hytrarch y dlyeid wrth gyfraith Dduw, a rhag trangwydd, dynnu pob delwau allan o'r Eglwys. Ac fe gyflawnwyd yr ordeiniaeth hon ymmhob man lle cessid delwau yn Asia neu yn Grecia.

Ac fe ddanfonodd yr Ymmerodr y gyfraith hon a wnaethai'r Cyngor yn Constantinopol at Pawl escob Rufain, ac a orchymynnodd iddo fwrw'r

holl

nis yn-wahlith Christionogion. Mae saint neilltu-
ol i bob clefyd, megis duwiau i'w iachau hwy.
S. Roch a S. Anthoni i'r frech fawr. I'r *gloe- sion S. Cornelius, ac i'r ddannoedd S. Apolin, &c. Ac nid oes ar anifeiliaid eisiau duwiau gyda ni, S. Loc yn cadw 'r ceffylau, S. Anthoni yw bugail y moch, &c. A pha le y mae rhagluniaeth Duw a'i anrhydedd yn hynny o amser? Yr hwn a ddywaid mi piau 'r nefoedd, mi piau 'r ddaear, yr holl fyd a chymmaint oll ac sydd ynddo, myfi sydd yn-rhoddi goruwchafiaeth ac yn goresgyn, o hanof i y mae cyngor a chynhorthwy, &c. oni byddaf i yn cadw 'r ddinas, ofer y mae y gwilwyr yn ei chadw hi, yr Arglwydd a geidw ddyn ac anifail. Ond ni adawsom ni iddo na nef na daear na dwfr, na gwlad, na dinas, na heddwch na rhyfel i'w rheoli, a'u llywodraethu, na dynnion nac anifeiliaid na chlefydon i'w iachau, fal y gallai wr duwiol weiddi mewn llid a zêl, Oh nef, daear a moroedd, i ba ynfydrwydd ac annuwioldeb yn erbyn Duw y cwympodd dynion? Pa ddiystyrwch y mae 'r creaduriaid yn ei wneuthur i'w creawdwr, a'u gwneuthurwr. Ac os weithiau y coffawn Dduw, etto am ein bod ni yn ammau naill ai ei allu ef, ai ei ewyllys i gynorthwyo; yr ydym yn cyssylltu ag ef ryw gynorthwywr arall, megis pe byddai yn *Enw gwan: gan arfer y geiriau hyn, Y rhai ydynt yn dechreu dyscu a ddywedant, Duw a S. Nicholas fytho cynorthwywyr imi: wrth yr hwn a fytho yn *entrewi y dywedir Duw a saint Ioan: wrth geffyl, Duw a S. Loy a'th gadwo di. Fal hyn yr ydym ni gwedy myned fal ceffyl a mul, yn y rhai nid oes dim deall: O blegid nid oes un Duw ond un yn unic, yr hwn trwy ei allu a'i

*Y clwyf digwydd.

*Nomen adiectiuum.

*Distrawi. tisio.

ddoethineb a wnaeth bob peth, a thrwy ei rag-luniaeth sydd yn eu llywodraethu hwy, a thrwy ei ddaioni yn eu maenteinio ac yn eu cadw hwy. Onid ydyw pob peth yntho ef, o hano ef, a thrwyddo ef? Paham yr ydwyd yn troi oddiwrth y creawdwr at y creaduriaid? Arfer y cenhedloedd a'r delwaddolwyr yw hyn. Ond Christion ydwyti, ac am hynny trwy Grist yn unic y mae iti ddyfodiad at Dduw Dâd, a chynorthwy gantho fe yn unic.

Nid ydys yn scrifennu hyn er gwradwydd i'r saint eu hunain, y rhai oeddynt wir wasanaethwyr Duw, ac a roesant bob anrhydedd iddo ef, heb gymmeryd dim anrhydedd iddynt eu hunain, y rhai hefyd ydynt eneidiau bendigedig gyd â Duw: Ond yn erbyn ein ffolineb a'n annuwioldeb ni, am ein bod yn gwneuthur o weision cywir Duw, gauddu wiau, gan roddi iddynt hwy allu Duw, a'r anrhydedd sydd ddyledus iddo ef yn unig. Ac am fod gennym y fath dyb am allu a phorodol gynnorthwy y saint, mae'n holl Legende, hymnau, canlyniadau a'n offerennau ni yn cynnwys yndynt eu historiau, eu cannolau a'u clod hwy a gweddiau arnynt, ie a phregethau hefyd am danynt, ac yn cynnwys eu clod hwy'n hollol, gan osod gair Duw heibio yn llwyr. A hynny yr ydym ni yn ei wneuthur yn gwbl i'r saint yn gyffelyb ac y gwnai y cenhedloedd delw-addolaidd, i'w gauddu wiau.

O blegid y fath opinionau y rhai oedd gan ddynnion am ddynnion marwol, er mor sanctaidd oeddynt, yr scrifennodd yr hên dadau Christianogaidd yn erbyn gauddu wiau y cenhedloedd: ac fe a ddinistrodd trwyslogion Christionogawl

eu delwau hwy, y rhai pe byddent byw yn awr a scrifennent yn ddiddau yn erbyn eu gau opinionau yn am y saint, ac a ddinistrent eu delwau hwy hefyd. O herwydd eglur yw fod gan ein hamddiffynwyr delwau ni yr un dyb am y saint, ac oedd gan y cenhedloedd gynt am eu gaudduwiau, a hynny sydd yn peri iddynt hwy wneuthur delwau iddynt, megis y gwnai y cenhedloedd i'w duwiau. Os dywedant nad ydynt yn gwneuthur saint ond yn gyfryngwyr at Dduw, ac megis yn ddadleuwyr drostynt am y pethau y maent yn ei gofyn gan Dduw. Mae hynny yn union yn ol arfer delwaddolwyr y cenhedloedd, yn eu gwneuthur hwynt o saint yn dduwiau y rhai a elwir Dij medioximi, i fod yn gyfryngwyr ac yn ddadleuwyr, ac yn gynorthwywyr i Dduw, megis pe byddai fe heb glywed, neu rhag ei ddyffygio efe wrth wneuthur pob peth ei hunan. Felly y dyscai y cenhedloedd fod un gallu goruwchaf yn hwn a weithiau trwy eraill megis cyfryngwyr, ac felly y gwnaent yr holl dduwiau yn ddarostyngedig i'r dyngheden: megis y mae Lucian yn dywedyd yn ei ymddiddanion, fod Neptun yn eiriol ar Mercuri gael o hono chwedlau a Iupiter. Ac am hynny Yn hyn hefyd mae'n eglur iawn fod ein ymddiffynwyr delwau ni yn un meddwl opinionau a delw-addolwyr y cenhedloedd.

Mae yn ol yn y drydedd ran, fod yr un fath ceremoniau a defodau ganthynt hwy, wrth addoli ac anrhydeddu delwau eu saint, ac y arfer delw-addolwyr y cenhedloedd wrth anrhydeddu eu heulynod.

Yn gyntaf beth a feddylir wrth fod Christionogion yn ol siampl y cenhedloedd delw-addolwyr,

yn mynd i bererindodau i ymweled â delwau, a hwyntau â'r cyffelyb ganthynt gartref, ond am eu bod yn tybied fod mwy o sancteiddrwydd mewn rhai o'r delwau, nag mewn eraill, yn y modd yr ydoedd y delw-addolaidd genhedloedd yn tybied: yr hon yw'r ffordd nesaf i'w dwyn hwy i ddelw-addoliad, wrth eu haddoli hwy, a hynny
Amos 5.4,5. yn intawn yn erbyn gair Duw, yr hwn a ddywaid, Ceisiwch fi a byw fyddwch, ac nac ymgeisiwch a Bethel, ac nag ewch i Gilgal, ac na thramwywch i Beerseba.

Ac yn erbyn y rhai oedd ac ofergoel ganthynt mewn sancteiddrwydd y lle, megis pe clywid hwy yn gynt er mwyn y lle, gan ddywedyd, Yr oedd ein tadau 'n addoli ar y mynydd hwn, ac meddwch chwithau yn Jerusalem y mae y lle y dylaid addoli. Fe a gyhoeddodd ein Jachawdwr
Ioan. 4.21,13. Christ, Cred fi fod yr awr yn dyfod y pryd nad addolwch y Tad yn y mynydd hwn, nac yn Jerusalem, ond y gwir addolwyr a'i addolant y Tad mewn Yspryd a gwirionedd. Ond yr ydys yn gwybod yn rhy dda fod wrth y fath bererindodau yn addoli yn fwy Arglwyddes Venus, a'i Mab Cupid, yn bechadurus yn y cnawd: nag yr addolid y Tad a'n Jachawdwr Jesu Grist yn yr Yspryd.

A chymhessur iawn oedd (fal y dywaid Saint Pawl) i'r rhai a gwympasent i ddelw-addoliad
Ruf. 1.26. yr hyn oedd odineb ysprydol, gwympo hefyd i odineb cnawdol a phob aflendid, trwy intawn farn Duw, yn eu rhoi hwy i fynydd i wyniau gwarthus.

Pa beth a feddylir wrth weled Christionogion yn bennoethion gar bron delwau yn ol arfer de-

lw-addolwyr y cenhedloedd? y rhai pe byddai yn-
ddynt na synnwyr na diolchgarwch a benllinient
ger bron dynion, saeri, *gofion, *maeswnniaid, Gofaint. Saermaen.
codd wyr, ac eurychod eu gwneuthurwyr a'u llun-
wyr hwy: trwy waith y rhai y cawsont hwy yr
anrhydedd hwn: y rhai oni buasai hynny y fua-
sent yn glampiau brynttion, anweddaidd o glai,
neu bridd, neu yn ddrylliau o goed, cerrig, neu
fettel, heb na llun na diwgad, ac felly heb na
chymheriad nac anrhydedd: Megis y mae'r eu-
lyn hynny yn cyffelu ynghaniaid y bardd Paga-
naidd gan ddywedyd. Unwaith yr oeddwn yn
*bren dibris ac fe a'm gwnaethpwyd yn awr yn Horotius,
Dduw.

Pa ynfydrwydd yw i ddyn yr hwn y mae rhe-
swm a bywyd, ymostwng i ddelw farw ddisyn-
wyr, gwaith ei ddwylo ei hun? onid yw yr ym- Gene.23.7.
gymmiad a'r penliniad hwn yn addoliad, yr hwn a'r 33.3.
a waherddir mor ddifrif trwy air Duw. Gwy- 1.Bren.1.16.
bydded a chydnabydded y rhai a gwympant ger
bron delwau'r saint, eu bod hwy yn rhoddi i gyff-
on a cherrig meirwon yr anrhydedd ni fynne y
saint eu hunain, Petr, Pawl a Barnabas, ei roi Act.10.25.
iddynt eu hunain, pan oeddynt fyw: a'r hwn y Act.14.14.
mae Angel Duw yn ei wahardd ei roddi iddo. Gwel Ioan. 19.10.

Ac os dywedant nad ydynt yn rhoddi yr anrhy-
dedd hynny i'r ddelw, ond i'r sant, yr hwn y mae
hi yn ei ar wyddoccau, fe a ellir eu argyoeddi hwy
o ffolineb, am gredu eu bod yn boddloni'r saint a'r
anrhydedd hwnnw, yr hwn a gafant hwy megis
yspail o anrhydedd Duw. Oherwydd nid ydynt
hwy yn anwadal, ond yn awr gan fod ganthynt
fwy o ddeall a gwresoccach gariad tuag at Dduw,
mae'n gassach ganthynt ddwyn dyledus anrhy-

dedd Duw oddiarno: ac yn awr pan ydynt megis angylion Duw, maent gyd ag angylion Duw 'n gwachelyd cymeryd iddynt eu hunain trwy gyssegrledrad, yr anrhydedd sydd ddyledus i Dduw.

Ac ymma hefyd yr argyoeddir eu hanwireddus gyfrannad hwy o anrhydedd i Latria a Dulia, lle y mae yn eglur na all saint Duw oddef rhoddi na chynnyg iddynt gymmaint ac addoliad oddiallan. Ond mae Sathan gelyn Duw, gan drachwantu lledratta anrhydedd Duw oddiarno, yn chwenychu yn fawr gael yr anrhydedd hwnnw iddo ei hun. Am hynny nid ydyw y rhai a roddant i'r creadur yr anrhydedd sydd ddyledus i'r creawdwr, yn gwneuthur gwasanaeth cymmeradwy gan neb o'r saint, y rhai ydynt anwylion Duw: ond i Sathan gelyn tynghedig Marwol Duw a dŷn. Ac nid yw * honni a'r y saint eu bod hwy yn chwenych y fath ddiwiol anrhydedd ddim amgen ond eu cyffeithio hwy â'r gwarth a'r gwaradwydd casaf a diawleiddiaf ac a ddichon bod: ac yn lle saint gwneuthur o honynt ddiawliaid a chychrausaid, cynheddfau y rhai yw ymaraddel eu hunain a'r anrhydedd sydd ddyledus i Dduw yn hunic. Ac hefyd lle maent yn dywedyd nad ydynt yn addoli y delwau, megis yr addole y cenhedloedd eu heulynod, ond Duw a'i saint y rhai y mae y delwau yn eu harwyddoccau, ac am hynny nad ydyw eu gorchwylion hwy ym-mlaen y delwau, yn gyffelyb i eu lyn-addoliad y cenhedloedd gerbron eu heulynod, Mae S. Awstin, Lactantius a Chlemens yn profi yn eglur eu bod hwy wrth yr atteb hwn yn bŷ yn hollol ac eulyn-addolwyr y cenhedloedd.

Mae'r cenhedloedd a fynnant fod o'r grefydd
gorau,

hurac, medd S. Awstyn, yn dywedyd, nid ydym ni yn addoli'r delwau, ond wrth y ddelw gorphorol yr ydym yn edrych ar arwyddion y pethau a ddlyem ni eu haddoli. Ac mae Lactantius yn dywedyd, fe a ddywed y cenhedloedd, nid ydym ni yn ofni'r delwau ond y rhai y gwnaed y delwau ar eu llun, yn enwau y rhai y cyssegrwyd y delwau. hyd hyn Lactantius. Awgust.in Psal.135. Lact.lib.2.hist.

Ac mae S. Clement yn dywedyd, mae'r sarph hon y diafol yn adrodd y geiriau hyn trwy enau rhyw wyr, Yr ydym yn addoli delwau gweledig er anrhydeddi'r anweledig Dduw. Yr hyn, medd ef, yn sicer sydd gelwydd goleu. Welwch eu bod hwy wrth arfer yr unescuson ac a osode y cenhedloedd drostynt, yn dangos eu bod hwythau yr un fath a'r cenhedloedd mewn delw-addoliad. O herwydd er yr escuson hyn, mae saint Awstin, Clemens a Lactantius, yn * prwfo eu bod hwy yn ddelwaddolwyr. Ac mae Clemens yn dywedyd, mai'r sarph y diawl sydd yn dodi'r escuson hyn yngeneuau delw-addolwyr. Ac mae'r Scrythyrau er yr escus hynny, yn dywedyd eu bod hwy yn addoli coed a cherrig, fal y mae ein ymddiffynwyr delwau ninnau'n gwneuthur. Ac o blegid hynny y mae Ezechiel yn galw Duwiau yr Assyriaid yn goed a cherrig, er nad oeddynt onid delwau eu Duwiau hwy. Lib.5. ad Iacobum Domini. Prof.

Felly yr ydys yn galw ein delwae Dduw, a'n delwau saint ninnau ar enw Duw, a'i saint, yn ol arfer y cenhedloedd.

Ac mae Clement yn dywedyd fal hyn yn yr unllyfr, ni feiddiant roddi enw yr Ymmerodr i neb arall, o herwydd fe a gospa ei droseddwr a'i fradychwr yn y man. Ond hwy a feiddiant roddi Lib.5.ad Iacobum Domini.

enw

enw Duw i arall am ei fod ef er mwyn edifeirwch yn goddef ei droseddwyr. Ac felly y mae 'n delwaddolwyr ninnau yn rhoddi enwau Duw a'i saint a'r anrhydedd hefyd sydd ddyledus i Dduw, i'w delwau, fal y rhoe eulyn-addolwyr y cenhedloedd i'w eulynod.

Pa beth yw eu bod hwy fal y gwnaeth delwaddolwyr y cenhedloedd yn ennynni canwyllau i'w delwau hanner dydd, neu am hanner nos, ond eu hanrydeddu hwy â hynny? O blegid, achos arall nid oes i wneuthur hynny. O herwydd hyd y dydd nid rhaid wrthi: ond diaurheb o ynfydrwydd er ioed ydoedd, ennynnu canwyll am hanner dydd, a'r nos nid gwiw ennynnu canwyll ger bron y dall: ac nid oes i Dduw nac angen nac anrhydedd o hynny.

Ond gwych yw 'r hyn a scrifennodd Lactantius er ys ynghylch mil o flynyddoedd, am y fath ennyn canwyllau, Pe edrychent hwy ar nefol oleuni 'r haul, medd ef, hwy ddeallent nad oedd rhaid i Dduw wrth eu canwyllau hwy, yr hwn i wasanaethu dyn a wnaeth y fath oleuni têg. Ac lle mae mewn angylch bach yr haul, yr hwn o blegid ei belled o ddiwrthym y dybygid nad yw fwy nâ phen gwr, cymmaint o oleuni, nad yw golwg llygad dyn yn abl i edrych arno; ond os edrych dyn arno gan hyll dremmu ennyd yn ddianwadal, fe a dywyllir ac a ddellir ei lygaid ef a thywyllwch; Pa faint oleuni, pa faint eglurwch a dybygwch ei fod gyd â Dduw, gyd â'r hwn nid oes na nos na thywyllwch, &c. Ac yn y mann ar ol hyn mae fe'n dywedyd, Am hynny a dybygid ei fod ef yn ei iawn gôf yr hwn a offrwm oleu canwyll gwyr i roddwr y goleuni?

Lib.6.Institu. ca.2.

Mae

Mae fe'n gofyn goleu arall oddiwrthym ni yr hwn nid yw fyglyd onid eglur a goleu, hwnnw yw goleuni'r meddwl a'r deall. Ac yn y man ar ol hynn y mae fe'n dywedyd, Ond mae'n anghenrhaid i'w Duwiau hwy am eu bod yn ddayarol, wrth oleu, rhag iddynt aros mewn tywyllwch, y rhai y mae eu haddolwyr am nad ydynt yn deall ddim peth nefol yn tynnu'r grefydd a arferant i waered i'r ddayar, yn yr hon am ei bod yn dywyll wrth naturiaeth y mae yn rhaid wrth oleuni. Wrth hynny nid ydynt yn haeru fod gan eu Duwiau ddim deall nefol, ond ystyr dayarol fal gan ddynion. Ac am hynny y credant fod y pethau hynny yn angenrheidiol iddynt ac yn hoffiawn ganthynt, megis y maent i ninnau, y rhai sydd rhaid ini wrth fwyd pan fytho newyn arnom, ac wrth ddiod pan fythom sychedig, ac wrth ddillad pan fythom anwydog, ac wrth oleu canwyll i'n goleuo gwedy machludo'r haul.

Hyd hyn Lactantius, a llawer ychwaneg yr hyn a fyddai rhy hir ei scrifennu ynghylch enynnu canwyllau mewn temlau gerbron eulynod neu ddelwau er mwyn crefydd: trwy'r hyn yr ymddengys ynfydrwydd y pethau hyn, a'n bod ni hefyd mewn opiniwn a gorchwylion yn cyttuno'n hollol a delwaddolwyr y cenhedloedd, yn ein canwyll grefydd. Pa beth yw eu bod hwy yn ol siampl delwaddolwyr y cenhedloedd yn arogl-darthu ac yn offrwm aur i ddelwau, yn crogi bagleu, cadwynau, llongau, coesau, breichiau a gwyr a gwragedd cyfain o gwyr ger bron delwau, megis pe byddent yn ein gwared ni trwyddynt hwy neu'r saint (fal y dywedant) oddiwrth glefyd, clefyd, caethiwed neu dorriad llongau.

Ond

Ond hyn yw Colere imagines, addoli delwau, yr hyn a waharddir mor ddifrif yngair Duw? Os gwadant hyn, darllenant yr 11. o'r Prophwyd
Daniel 11. 38. Daniel, yr hwn a ddywaid am yr Anghrist, Duw yr hwn nid adwaenai ei dadau a ogonedda ef, ag aur ac arian ac â meini gwerthfawr, ac ag anwyl bethau eraill: a'r gair lladin yn y man hynny yw
2. Cro. 29. 28. Colit. Yn yr ail o'r Croniclau yr ydys yn galw yr holl ddeddfau a'r Ceremoniau oddi allan, megis arogl darthu a'r fath bethau trwy y rhai yr anrhydeddir Duw yn ei deml, Cultus: hynny yw, addoliad, yr hwn a waharddir yn galed trwy air Duw ei roddi i ddelwau. Onid ydyw yr holl histoïau Eglwysig yn dangos i'n Merthyron sanctaidd ni yn gynt nag yr ymostyngent, y penlinient, neu yr offrymment ronyn o arogldarth ger bron delw, neu eulyn, oddef mil o rywiau angau
Erchyll. *echrydus creulon? Ac er amled eu escuson hwy, etto eglur yw fod yn gwneuthur yr holl bererindodau ymma, yn arogldarthu, yn ennyn canwyllau, yn crogi baglau, cadwynau, llongau, breichiau, coesau, gwyr a gwragedd o gwyr: yn penlinio, yn cyfodi dwylo, a'r cwbl i'r delwau, o herwydd lle nid oes delwau, neu lle ni buont, a lle tynnwyd hwy ymmaith, nid ydys yn gwneuthur y fath bethau. Ond yr ydys yn awr, gwedy eu tynnu hwy ymmaith, yn gwrthod ac yn gadel yn wag yr holl leoedd a fynnych-gyrchid iddynt pan oedd delwau yno: ie yn awr maent yn ffieiddio ac yn casau y lle yn farwol, yr hyn sydd arwydd eglur eu bod hwy yn gwneuthur y peth a wnaethant o'r blaen, er mwyn y delwau.

Am hynny pan welom wyr a gwragedd yn myned yn fagadau i bererindodau at eulynod, yn

penlinio

penlinio o'u blaen hwy, ac yn cyfodi dwylo ger eu bronnau hwy, yn gosod canwyllau ac yn arogldarthu yn eu gwydd hwy, yn offrwm aur ac arian iddynt, yn crogi i fynu longau, baglau, cadwynau, gwyr a gwraged o gwyr, ger eu bron hwy, gan haeru fod eu iechyd a'u cadwedigaeth yn dyfod oddiwrthynt hwy, neu'r saint, y rhai y maent hwy yn eu harwyddoccau, fal y mynnent hwy i ni gredu: Pwy, pwy, meddaf, a ddichon ammau nad ydyw ein ymddiffynwyr delwau ni wrth gytuno a delw-addolwyr y cenhedloedd ym-mhob opinionau delwaddolaidd, delwau a ceremoniau oddiallan, yn cytuno a hwy hefyd mewn gwneuthuredeb delw-addoliad ffiaiddiaf.

Ac ichwanegu yr ynfydrwydd hwn, yr adroddai, yr haerai, ac y gwascarai ddynnion melldigedig, drwg, y rhai yr ydoedd y delwau hyn yn eu cadwedigaeth, er mwyn cael mwy o fudd ac ennill, yn ol siampl delwaddolwyr y cenhedloedd, trwy airiau celwyddog ac ofer chwedleu scrifennedig, lawer o wrthiau delwau, megis darfod danfon y ddelw honno trwy wrthiau o'r nef, megis Paladium neu Magna Diana Ephesiorum: darfod cael delw ar[illegible] yn rhyfedd yn y ddayar, fal y cafad pen y gwr yn y Capitol, neu ben y ceffyl yn Capua: darfod gwneuthur rhyw ddelw arall gan angylion: dyfod o un arall o bell o'r dwyrain i'r gorllewin, fal y symmudodd arglwyddes Ffortun i Rufain gynt: y cyfryw ddelw i'r arglwyddes fair a wnaeth S. Luc, yr hwn er mwyn hynny y gwnaethont hwy o physygwr yn beintiwr: un arall ni allai gant iau o ychen ei thyscog, megis Bona dea, yr hon ni allai long ei dwyn: neu Iupiter Olympius, yr hwn a chwaraeodd wat war am ben y crefftwyr a geisiasant

gellasant ei symmud ei i lwdain: a rhai o honynt er eu bod yn gerrig, ac yn galed, a wylasant o wir dirion wych calon, a thostur: rhai a chwyslasant megis Castor a Pholux wrth gynorthwyo y rhai a gavent, mewn rhyfeloedd, megis y gwna maen
Marbl. *mynor ar dywydd lled-wlyb: rhai o hanynt a ddywedasant yn rhyleddach nag y dywad asen Balam yr hwn yr oedd bywyd ac anadl ynddo: fe ddaeth y crupl hwn a hwn ac a gyfarchodd i'r saint o dderwen ymma, ac fe a iachawyd yn y man, ac edrychwch ar ei faglau ef: fe addunedodd hwn a hwn ar dywydd creulon a rhyferth, addunedd i saint Christopher, ac fe a ddiangodd, gwelwch ymma ei long ef o gwyr: fe ddiangodd hwn a hwn o garchar trwy nerth S. Leonard, gwelwch lle mae ei gadwynau ef. Ac anneirif o filoedd o wyrthiau eraill a adroddid trwy'r cyffelyb neu etto ddigywilyddiach gelwyddau.

Dymma fal y mae ein hymddiffyn wyr delwau ni yn rhoi o ddilfril i'w holl ddelwau yr holl wyrthiau a ddychymmygodd y cenhedloedd am eu heulynnod hwythau.

A phe cymmwyddid ddarfod gwneuthur rhyw weithredoedd rhyfedd, lle mae delwau yn aros, trwy dwyll diafol, (o herwydd eglur yw mai celwyddau a ddychymmygid, a dichellgar hudoliaeth dynion oedd y rhan fwyaf) etto ni chanlyn o hynny y dylid eu hanrhydeddu hwy na'u goddef, yn fwy nag y goddefodd Ezechias y sarph bres heb ddinistr pan addolwyd hi, er ei gosod hi i fynu trwy orchymmyn Duw, a'i phrofi hefyd trwy wyrthiau cywir mawrion: o herwydd fe a iachawyd yn y man gynnifer ac a edrychodd arni: ac ni ddylei wyrthiau ein hamnog ni i wneuthur

yn

yn erbyn gair Duw. O herwydd fe a ragfyne-
gafodd yr Scrythyrau ni y bydd seithnos Anghrist
galluog mewn gwyrthiau a rhyfeddodau, i ga-
darn dwyllo'r holl rai gwrthodedig.

Ond yn hyn y maent yn rhagori ar ynfydrwydd
ac annuwioldeb y cenhedloedd, am eu bod yn an-
rhydeddu ac yn addoli creiriau ac escyrn y saint, y
rhai sydd yn dangos nad oeddynt hwy ond gwŷr
marwol, a chwedi meirw, ac am hynny nad y-
dynt dduwiau i'w haddoli: yr hyn beth ni chyd-
nabydde y cenhedloedd am eu duwiau rhag y gwir
gywilydd. Ond rhaid i ni gusanu y creiriau hynny
ac offrwm iddynt, yn enwedig ddie sul y creiriau.

A phan fythom ni yn offrwm rhag i ni ddiffygio
neu ediffaru am ein traul, mae'r music a'r gerdd
yn adseinio yn llawen tros holl amser yr offry-
miad, gan glodfori a galw ar y saint hynny y rhai
y mae eu creiriau yno yn ein gwydd ni. Ie ac mae
'n rhaid cadw y dwfr yn yr hwn y golchwyd y
creiriau, megis peth sanctaidd ffrwythlon.

Pyr'w hyn yn cytuno â S. Chrysostom yr hwn
a scrifenna fal hyn am greiriau? Na wna gyfrif Homil. de septem Machabeis.
o ludw cyrph y saint, nac o weddillion eu cig hwy,
a'u hescyrn, y rhai a dreuliwyd mewn amser: ond a-
gor lygaid dy ffydd ac edrych arnynt gwedy eu di-
llatta â rhinweddau nefol, ac â rhad yr Yspryd
glân, yn disclairio â disclairdeb goleuni nefol.
Ond yr oedd ein delw-addolwyr ni yn cael gor-
mod ennill oddiwrth greiriau, a dwfr y creiriau,
i ddilyn cyngor S. Chrysostom. Ac am fod creiri-
au'r saint yn ennillfawr iddynt, nid oedd ond
ambell le nad oeddynt gwedy darparu creiriau
iddynt.

Ac er mwyn amlhau'r creiriau hynny, yr oedd

rhyw saint lawer o bennau [illegible]
arall mewn mann arall: yr oedd i vai chwe braich
a chwech ar ugain o fysedd. Ac er i Ddiawl ei hun
ddwyn ei groes, etto fe byddai holl ddyrnau ei
gweddillion hi gwedy eu cynull ynghyd, fe fyddai
anhawdd iawn i'r llong fwyaf yn Lloegr eu dwyn
hwy: ac etto hwy a ddywedant fod y rhan fwyaf
o honynt yn aros etto heb eu cael yn-llwyr i'r an-
ghredadwyr: am y rhai y maent yn gweddio ar eu
paderau ar eu cael i'w dwylo, er mwyn y cyfryw
ddefnyddion buddiol a hynny.

Ac nid oedd escyrn y saint yn unic, ond pob peth
a berthyne iddynt, yn grair-weddill sancteiddiol.
Mewn rhyw lefedd maent yn cynnyg cleddyf,
mewn rhyw le gwain, mewn rhyw le escid;
mewn rhyw le cyfrwy a osodasid ar ryw geffyl
sanctaidd: mewn rhyw le y glo ar y rhai a pobwyd
S. Lawrens: mewn rhyw le cynffon yr assen, ar
yr hon yr eisteddesai ein Iachawdwr Christ Ie-
su a gynnygir i'w gusanu, ac i offrwm iddo, yn
lle crair-weddill. O blegid yn gynt nag y bai ei-
siau creiriau arnynt, hwy a gymmerent ascwrn
cessyl yn lle braich morwyn, neu gynffon yr assen
i'w cusanu ac i offrwm iddynt, yn lle creiriau. O
ddigywilydd-dra dynnion tra-digwilydd a ddy-
chymmygant y pethau hyn? O ffoliaid [illegible] a
chawcrod ynfyd, ac anffeilliach na chynffon yr assen
yr hon a gusanent, a gredent y pethau hyn. Yn
awr Duw a drugarhao wrth y cyfryw Gristiono-
gion truain gwirion, y rhai trwy dwyll a dichell
y gwyr a ddylasent ddyscu iddynt ffordd y gwirio-
nedd, a wnaethpwyd nid yn unic yn waeth na
delw-addolwyr y cenhedloedd, ond heb fod ddim
yn gallach na'r assynnod, ceffylau a mulod yn y

rhai

heb feddwl gwrido wrth osod allan hoywder eu pwtreindra yſpwydol.

Gwrandewch gabledd y tad parchus Iacobus Naclantus Eſcob Clugium, a ſcrifennodd ef yn ei ddeongliad ar epiſtol S. Pawl at y Rufeiniaid y bennod gyntaf, yr hwn a brintiwyd yn hwyr yn Venis, a hynny a ddichon ſefyll yn lle'r cwbl o'r geiriau yr hwn am addoliad delwau ydyw y rhai hyn yn lladin heb newid ſillaf yndynt.

Ergo non ſolum fatendum eſt fideles in Eccleſia adorare coram imagine, vt nonnulli ad cautelam fortè loquuntur, ſed & adorare imaginem, ſine quo volueris ſcrupulo, quia & eo illam venerantur cultu quo & Prototypon eius, propter quod ſi illud habet adorare latria & illa latria: ſi dulia & hyperdulia, & illa pariter eiuſmodi cultu adoranda eſt.

Yſtyr yr hyn yn y iaith Gamberaeg yw hyn. Am hynny y mae'n rhaid cyffeſſu fod y ffyddloniaid yn yr Eglwys yn addoli nid yn unig ger bron delw, (fal ond odid y dywaid rhai yn wathelog) ond eu bod hwy hefyd yn addoli'r ddelw ei hun heb nac ammau na phetruſder, ie maent yn addoli'r ddelw ar un rhyw addoliad ac yr addolir ei *ſiampl cyntaf hi, hynny yw y peth y gwnaethpwyd hi ar ei lun, am hyn o dylyid addoli'r peth ei hun yr hwn y gwnaethpwyd hi ar ei lun, ag addoliad llai neu fwy, fe ddylyeid addoli ac anrhydeddu y ddelw hefyd ar un fath anrhydedd. Hyd hyn y dywad Naclantus.

Prototupon cenddelw.

Cablau yr hwn a argyoeddodd Gregori y cyntaf, wrth awdurdod yr hwn y danned hwy i uffern, fal y tybiodd ei ganlynwyr ef yn echwydus. O herwydd er bod Gregori yn goddef bod delwau, etto mae fe'n gwahardd eu haddoli hwy, ac

ymddiffyn delwau mewn lleoedd cyhoeddus.

Ac yn gyntaf mysg a ddechreuaf ar airiau ein Iachawdwr Christ, Gwae y dyn hwnnw o achos
Matth. 18.6,7. yr hwn y del rhwystrau, pwy bynnac a rwystra vn o'r rhai bychain gweinion hyn a gredant ynof fi, gwell oedd iddo pe crogid maen melin am ei wddf, a'i foddi yngwaelod y mor. Ac yn Deu-
Deut. 27.18. teronomi mae Duw ei hun yn cyhoeddi fod yn felldigedig yr hwn a wnel i'r dall fyned oddiar y
Leuit. 19.14. ffordd. Ac yn Leuiticus, Na ddod dramgwydd o flaen y dall. Ond fe fu ddelwau mewn eglwysydd a themlau ac maent hwy etto, ac hwy a fyddant bych yr hyd yr arhosant yno, yn rhwystrau ac yn dramgwyddau yn enwedig i'r bobl gyffredinol, weinion, wirion, ddeillion, yn twyllo eu calonnau hwy trwy gyfrwysdra y creftwr fal y tystiola-
Doeth. 13.14. etha yr Scrythyrau mewn llawer man, ac felly yn eu dwyn hwy i ddelw-addoliad. Am hynny gwae'r hwn a wnelo, a'r hwn a osodo i fynu, a'r hwn a ymddiffynno delwau mewn temlau ac eglwysydd: o herwydd mae cosp fydd fwy yn eu haros hwy nag angau'r corph.

Os atebir y gellir tynnu ymmaith y rhwystr hwn trwy iawn athrawaeth a dyfal bregethiad gair Duw, a thrwy foddion eraill, ac nad ydyw delwau mewn eglwysydd a themlau, yn ddrwg hollol ac o hanynt eu hunain, i bawb, er eu bod yn ddrwg i rai, ac am hynny y dylyid dala fod eu goddef hwy yn yr Eglwys megis peth anghyfaddas enbaid, ac nid yn hollol megis peth anghyfreithlon, ac annuwiol.

Yno y canlyn y trydedd pwngc i'w brofi, a hwnnw yw ef. Nad ydyw bossibl os goddefir delwau mewn eglwysydd a themlau, cadw'r bobl rhag eu

haddoli hwy, ac felly gwarchelu delw-addoliad, na thrwy bregethu gair Duw, nac mewn un modd arall.

Ar yn gyntaf ynghylch pregethu gair Duw, pe cannhiatteid, er goddef delwau mewn eglwysydd, etto y gallid yngadw rhag delw-addoliaeth trwy gywir a dyfal bregethu gair Duw: yno y canlynai yn ddiammau y gallid cael gwir a chywir athrawaeth yn wastadol i aros ac i barhau, cystal a delwau: ac felly pa le bynnac y cyfodid delw yn rhwyfir, yno hefyd wrth reswn da y dylaid ac y gellid cael a maenteinio pregethwr duwiol da. O herwydd rheswm yw fod y rhybydd mor gyffredinol a'r trangwydd, y rhymedi mor halaeth a'r rhwyfir, y feddyginiaeth mor gyffredinol ar gwenwyn: ond ni ddichon hyn fod, fal y mae rheswm ac addysc amser yn dangos; Am hyny ni ddichon pregethu gadw rhag delw-addoliad, yr hyd y goddefer delwau yn gyhoedd. O herwydd fe a ellir prynu delw yr hon a bery gan mlynedd er ychydig, ond ni ellir maenteinio pregethwr da yn wastad heb gost fawr.

Hefyd os y tywysog a'u goddef, fe fydd yn y man lawer iawn, ie anefrif o ddelwau: ond ni bu erioed ac ni bydd byth bregethwyr da ond yn ambell ac anaml wrth rifedi'r bobl sydd i'w dyscu. O blegid mae ein Jachawdwr Christ yn dywedyd fod y cynhauaf yn fawr a'r gweithwyr yn anaml: yr hyn a fu ddigon gwir hyd yn hyn, ac a fydd hyd ddiwedd y byd: ac yn ein gwlad a'n hamser ni mor wir, a phe byddid gwedy eu rhannu hwy, a nodd fyddai gael un i bob sir.

Yn awr fe bregetha delwau eu hathrawaeth hwy yn wastad, i'r rhai a fo'nt yn edrych arnynt,

hynny yw delw-addoliaeth: yr hwn bregethiad y mae dynion yn barodol iawn yn wastad, ac yn agweddu yn annial i wrando arno, ac i'w goelio, megis y mae digonol brawf ymmhob cenhedlaeth ac oes. Ond mae'n odid clywed gwir bregethwr i attal yr enbeidrwydd hwn, yn rhyw leoedd unwaith mewn blwyddyn gyfan, nac mewn rhwy le unwaith mewn saith mlynedd, fal y gellir ei brofi yn eglur. Ac ni ellir yn ddisyfyd ar un bregeth ddiwreiddio'n llwyr yr opiniwn drwg a wreiddiwyd ynghalon dyn dros hir amser. Ac mae mor anaml y rhai sydd yn agweddu i gredu athrawaeth iachus, ac y mae llawer, ie haychen y cwbl oll yn barod ac yn hyblyg i ofergoel a delw-addoliad: megis y mae yn amlwg fod yn anhawdd, ie haechen yn ammhossibl cael ymwared a rhwymedi yn hyn o beth.

Hefyd nid yw amlwg wrth un histori gredadwy, i gywir ac iniawn bregethi erioed barhau mewn un lle uwchlaw can-mlynedd: ond mae'n eglur i ddelwau, ofer-goel, a delw-addoliad barhau lawer cant o flynyddoedd. O blegid mae pob scrifennadau, ac addysc amser hefyd yn profi, fod pethau da yn myned bob ychydig waeth waeth, hyd oni ddiffodder hwy yn y diwedd yn hollol: ac o'r gwrthwyneb fod pethau drwg yn cynyddu fwyfwy, hyd oni ddelont i gwbl gyflawnder ac annuwioldeb.

Ac nid rhaid ini fynd ymmhell i geisio samplau i brofi hyn; O herwydd fe aeth pregethiad gair Duw (yr hwn yn y dechreu oedd bur odidawg) bob ychydig mewn amser yn ammhurach beunydd, ac yn ol hynny yn llygredig, ac yn ddiweithaf oll, fe a fodwyd heibio'n hollol, ac fe a ynilysc-

[illegible] ef, bethau eraill, dychymygion dynnion.

Ac yn y gwrthwyneb ar y cyntaf fe benitiwyd delwau ymhlith Christionogion, a hynny mewn storiau cyfain, yn y rhai yr oedd peth ar wyddocâd: yn ol hynny y gwneuthpwyd hwy o goed, cerrig, plastr a mettel: ac yn gyntaf hwy a gedwid yn neillduol, ynnhai gwyr neillduol, ac ar ol hynny yr ymlusceasât i eglwysydd a themlau, ond yn gyntaf trwy beintio, gwedy hynny yn gyrph breiscon: ac etto ar y cyntaf ni addolwyd hwy yn vn lle. Ond yn ol hynny ychydig fe ddechrauwyd eu haddoli hwy gan yr annyscedig, megis y mae 'n eglur wrth yr epistol a scrifennodd Gregori Escob Rufain y cyntaf o'r enw hwnnw at Serenus Escob Massil. Or ddau Escob hyn, Serenus a dorrodd y delwau ac a'u lloscodd hwy, am y delwaddoliaeth a wneaid iddynt: Gregori er ei fod yn tybied y gallid eu gado hwy i sefyll, etto fe farnodd mai peth ffiaidd oedd eu haddoli hwy, ac a dybiodd, megis yr ydys yn awr yn dywedyd, y gallid rhwystro eu haddoli hwy wrth bregethu gair Duw, fal y mae fe'n rhybyddio Serenus i gyfarwyddo 'r bobl, fal y manegir yn yr epistol hwnnw.

Ond pa vn ai opinion Gregori, ai barn Serenus oedd orau yn hyn o beth, ystyriwch chwi adolwg: o herwydd yn y mann fe argyoeddodd amser opinion Gregori: o herwydd er bod Gregori yn scrifennu, ac eraill yn pregethu, etto yn y mann yn ol goddef delwau yn gyhoedd mewn temlau ac eglwysydd, fe gwympodd gwyr a gwragedd gwirion yn y mann yn gadau i'w haddoli hwy: ac yn y diwedd fe ddygwyd y dysceedig hefyd ynnhaith

 gyda

gyd a'r cyffredinol gyfeillion, megis gyd a'r ffrwd neu'r weilgi a'r cefnllif gwyllt.

Ac yn ail Gyngor Nicæa fe a ordeiniodd y gwyr llen a'r escobion y dylaid addoli delwau, ac felly o achos y trangwyddau hyn y dallwyd yn y diwedd trwy hudolaeth delwau, nid yn unic y gwirion a'r annyscedig, ond y call a'r dyscedig hefyd: nid yn unic y bobl, ond yr Escobion hefyd: nid y defaid yn unic, ond y bugeiliaid hefyd (y rhai a ddylasent fod yn dywysogion i'w tywys hwy i'r iniawn ffordd, ac yn oleuni i oleuo mewn tywyllwch) megis arweiniaid deillion yn arwain y deillion, hyd oni chwympodd y ddau i bwll damnedig delw-addoliaeth. Yn yr hwn yr arhosodd yr holl fyd hyd ein hoes ni, dros saithcant neu wythcant o flynyddoedd, heb fod neb haechen yn dywedyd yn erbyn hynny. A dymma'r ffrwyth a dyfodd o ordeinhad Gregori: yr hwn a fuwydd ni ddigwyddasai byth pe buasid yn cymmeryd ffordd Escob Serenus, ac yn distrywio ac yn dinistr yr holl eulynod a'r delwau: o herwydd nid addola neb y peth nid ydyw.

Ac fal hyn y gwelwch pa fodd a oddef delwau yn neillduol y daethpwyd i'w gosod hwy i fynu mewn temlau ac eglwysydd yn gyhoedd, ac etto heb ddim drygioni ar y cyntaf (fal y tybiai wyr dyscedig call) ac o'u goddef hwy yno yn unic, yn y diwedd fe ddaethpwyd i'w haddoli hwy: yn gyntaf gan y bobl annyscedig, y rhai yn anad neb fal y dywaid yr Scrythyr lân sydd mewn
Doeth. 13.14.
enbeidrwydd ofergoel a delw-addoliad: ac yn ol hynny gan yr Escobion, y dyscedig a'r holl wyr llen eglwysig, megis y boddwyd ar unwaith y cwbl oll, y gwyr llyg a'r gwyr llen, y dyscedig a'r annyscedig, yr holl oesoedd, sectau, a graddau,

o wyr a gwragedd, ac o blant, o holl gred, (peth os nad wy * echrydus i feddwl amdano) mewn ffiaidd delw-addoliaeth: yr hwn o bob bai arall sydd gasaf gan Dduw, a chollediccaf i ddyn: a hynny dros wythcant o flynyddoedd ac ychwaneg.

* Erchyll.

Ac i'r diwedd hwn y daeth y dechreuad hwnnw o osodiad delwau i fynu mewn Eglwysydd, yr hwn a farned y pryd hynny yn beth dieniwed, ond a aeth yn y diwedd nid yn unic yn llawn eniwed, ond yn ddistriw ac yn angheuol ddinistr i holl greddyf ddaionus yn gyffredinol. Fel yr ydwyfi yn bau 'r cwbl fel hyn, megis y gall fod yn bossibl mewn rhyw ddinas neu wlad fechan, fod delwau gwedy eu gosod mewn Temlau ac Eglwysydd, a gallet er hynny trwy ddifri a pharhaus bregethu gair Duw, a phur efengyl ein Jachawdwr Christ, gadw 'r bobl dros amser byrr oddiwrth ddelw-addoliaeth: felly y mae'n amhossibl fod delwau gwedy eu gosod i fynu ac yn cael eu goddef mewn Temlau ac Eglwysydd mewn gwledydd mawr, ac amhossibplach o lawer fod yn eu goddef hwy yn yr holl fyd dros amser hir, ac ymgadw rhag delw-addoliaeth.

Ac fe ofala y duwiol nid yn unic am eu dinas a'u gwlad, ac iechydwriaeth gwyr o'u hoes eu hunain, ond hefyd am bob lle ac amser, ac am iechydwriaeth gwyr o bob oes: yn enwedig ni osodant hwy y trangwyddau, a'r maglau hynny dan draed gwledydd ac oesoedd eraill, y rhai yr ydys yn gweled eisoes eu bod yn ddistrywio'r holl fyd. Am hynny mi a wnaf gynull cyffredinol o'r cwbl oll a draethais hyd yn hyn.

Os bydd y trangwyddau a gwenwyn eneidiau dynion trwy osod delwau i fynu, yn aml, fe

gyn-

yn anfeidrol os goddefir hwy: a'r rhybyddion yn erbyn y tramgwydd hynny, a'r ymwared yn erbyn y gwenwyn hynny trwy bregethu, yn ambell ac yn anamil, megis y dangoswyd eisoes: os bydd hawdd gosod y tramgwyddau, a hawdd darparu y gwenwyn, a'r rhybyddion a'r ym wared yn anodd eu hadnabod a'u cael: os bydd y tramgwyddau 'n wastad yn gorwedd ar ein ffyrdd ni, a'r gwenwyn yn barod ger ein llaw ni ym-mhob man, a'r rhybyddiau a'r ymwared heb eu rhoi ond yn ânfynych: ac os bydd pawb o hanynt eu hunain yn barottach i dramgwyddo nag i gymmeryd rhybydd, pawb yn barottach i yfed y gwenwyn nag i brofi yr ymwared iachus, (fal y dangoswyd o'r blaen o ran, ac y dangosir yn gyflawnach ar ol hyn) ac felly os bydd llawer yn yfed y gwenwyn yn wastadol ac yn ddwfn, a nymmor heb brofi yr ymwared onid weithiau, a hynny yn egwan: pa fodd na rwystrir llawer o'r gweiniaid diegni? Je pa fodd na thyrr llawer eu gyddfau trwy gwympo? ac na wenwynir yn angheuol eneidiau aneirif o bobl? A pha fodd y dichon cariad Duw, neu gariad ein cymmydogion fod yn ein calonnau ni: oni chynnwyn ymmaith a ni yn gallel, y fath dramgwyddau enbaid, a gwenwyn mor wenwynllydd?

Pa beth a ddywedaf am y rhai a osodant dramgwyddau lle nad oedd yr vn o'r blaen, a maglau i draed, nag ê i eneidiau y rhai gwirion gweinion? ac a barant enbeidrwydd tragwyddol ddistryw i'r rhai y tywalltodd ein Jachawdwr Jesu Grist ei werthfawr waed drostynt, lle buasai well na ddychymygasid ac nad arferesid er ioed celfyddydau peintio, plastro, cerfio, neu doddi, na diniftr

a cholli

a cholli trwy achos delwau a llunniau vn o ha-
nynt hwy, y rhai y mae eu eneidiau mor werth-
fawr ger bron Duw. Fal hyn y dangoswyd nad
yw possibl i bregethu allel cadw rhag delwaddo-
liaeth, os gosodir delwau 'n gyhoedd mewn Eg-
lwysydd a themlau.

Ac mor wir yw nad oes nac scrifennu yn erbyn
delw-addoliaeth, na chynull cynghorau, na gw-
neuthur ordeiniaethau yn y gwrthwyneb, na
chyfraithiau caled chwaith, na chyhoeddiadau
tywysogion ac Ymmerodron, na *dygyn gosp, a * Chosp tost.
phoenau creulon nac vn remedi ac a allwyd neu a
ellir ei ddychymmyg yn abl i attal ac i gadw rhag
delw-addoliaeth os gosodir neu os goddefir delw-
au yn gyhoeddus.

O herwydd am scrifennu yn erbyn delwau a'r
addoliad a wnair iddynt, fe adroddwyd i chwi yn
yr ail rhan o'r traethawd hwn, lawer o leoedd
allan o Tertulian, Origen, Lactantius, S. Awstin, E-
piphanius, S. Ambros, Clemens, a llawer eraill o
Escobion sanctaidd dyscedig ac athrawon yr Eg-
lwys. Ac heblaw hyn mae 'r holl histoiau Eg-
lwysig a llyfrau Escobion ac athrawon dyscedig
sanctaidd eraill, yn llawn o samplau ac ymadro-
ddion godidawg yn erbyn delwau a'u haddolwyr.
Ac megis yr scrifenasant hwy yn ddifri iawn, felly
yn eu hamser y pregathasont hwy ac y dangosa-
sont yn dwir ac yn ddiescaelys yn gytunol a'u siam-
plau a'u scrifenadau.

O herwydd pregethwyr oedd escobion yr amser-
oedd hynny, ac hwy a welid yn fynychaf yngHen-
nadwri yr hwn a ddywaid; ewch i'r holl fyd, pre-
gethwch i bawb yr Efengil; nag yngHennadwri
a negaseu tywysogion y byd hwn: ac fal yr oe-
ddynt

ddynt yn llawn zel a diwydrwydd, felly yr oeddynt o ddysc a bywyd duwiol godidawg ac am bob un o'r oddau mewn awdurdod a chymeriad mawr gyda'r bobl, ac felly yn abblach ac yn debyccach i berswado'r bobl, a'r bobl yn haebyccach i'w credu hwyntau ac i ganlyn eu hathrawaeth.

Ond ni alle eu pregethau hwy ddim help, llai o lawer y gallai eu scrifennadau hwy y rhai ni ddawent i gydnabyddiaeth ond rhai o'r dyscedig: mewn cyffelybaeth o'u gwastadol bregethau, o'r hyn y mae'r holl dyrfa'n gyfrannog.

Ac nid ydoedd yr hen dadau a'r Escobion a'r doctoriaid yn pregethu ac yn scrifennu yn neilltuol yn unig, ond hwy a wnaethant ynghyd hefyd gwedy ymgynull mewn rhifedi mawr, mewn cymmanfau a chynghorau, ordeiniaethau a chyfraithiau eglwysig yn erbyn delwau a delw-addoliad: ac ni wnaethont felly unwaith neu ddwy, ond llawer o amseroedd, ac mewn llawer o oesoedd ac o wledydd, a gynnullasont gymanfau a chyngorau ac a wnaethont ordeiniaethau tost yn erbyn delwau a'u haddoli, megis y dangoswyd o'r blaen yn helaeth yn yr ail rhan o'r bregeth hon.

Ond nid oedd eu holl scrifennadau, eu pregethau, a'u ymgynull mewn cynghorau, eu hordeiniadau a'u cyfraithiau, yn abl nac i dynnu delwau i lawr y rhai y gwnaid delw-addoliaeth iddynt, nac yn erbyn delw-addoliaeth yr hyd y safe'r delwau. O herwydd fe a orchfygodd y llyfrau deillion a'r athrawon mudion hynny (delwau ac eilynod yr wyf yn eu feddwl) o herwydd llyfrau ac athrawon gwyr llyg y galwant hwy, gan ddangos a phregethu delw-addoliaeth trwy eu scrifennadau peintiedig a cherfiedig, yn erbyn eu holl

lyfrau

scrifau printiedig hwy a'u pregethu ar dafod laferydd.

Wele, oni allai bregethu ac scrifennu gadw dynnion rhag addoli delwau a delw-addoliaeth, oni allai ben a geiriau wneuthur hynny: chwi a dybygwch y gallai gosp a chleddyf ei wneuthur; sy meddwl yw y gallai dywysogion trwy gyfraithiau a chospedigaeth dost, attal anffrwynedig chwant pawb i ddelwaddoliaeth, er gosod delwau i fynu a'u goddef hwy. Ond mae amser gwedy dangos na ddichon hyn mwy help yn erbyn delwaddoliaeth nag scrifennu a phregethu.

O herwydd er i fwy nag wyth o Ymmerodron (awdurdod y rhai a ddylai fod fwyaf wrth gyfraith Duw) o'r rhai y ternasodd chwech ol yn ol yn nessaf iw gilidd, fal y manegwyd yn yr historiau o'r blaen, wneuthur cyfraithiau tost a chyhoeddiadau yn erbyn eilynod, ac eilyn-addoliaeth, delwau a delwaddoliad, gan osod cospedigaethau trymmion, ie a phoen angau ar ymddiffynwyr delwau, ac ar eilyn-addolwyr ac addolwyr delwau: Etto ni allasont er hynny er ioed na chwbl ddinistr delwau a osodasid unwaith i fynu, na chadw dynnion rhag eu haddoli hwy gwedy eu gosod i fynu.

Pa beth a dybygwch chwi wrth hyn a ddigwyddai pettai wyr dyscedig yn dyscu i'r bobl eu gwneuthur hwy, ac yn maenteinio eu gosod hwy i fynu, megis pethau angenreidiol i wir grefydd? I ddibennu mae'n ymddangos yn eglur wrth holl hystoriau ac scrifennadau, ac wrth yr amseroedd aethont heibio, na ddichon na phregethu nac scrifennu, na chyfundeb y dyscedig, nac awdurdod y duwiol, nac uchelfraint Cynghorau, na chyfrai-

chyfraithiau tywysogion, na tholl gospedigaeth y troseddwyr yn hynny o beth, nac un modd na remedi arall help yn erbyn eilynaddoliad, os goddefir delwau yn gyhoeddus. A gwir iawn ydywedir fod yr amser aeth heibio'n ddyscawdr doethineb i ni sydd yn dyfod ar ol.

Am hynny oni allae yr hen dadau Escobion a doctoriad rhinweddusaf dyscedicCaf a dielscaelusaf, a hwy haechen mewn rhifedi yn anefrif, wneuthur dim yn yr amseroedd aeth heibio, a'u holl scrifennadau, pregethau, poen, diffriftwch, awdurdod, cymynfau, a chyngorau, yn erbyn delwau a delwaddoliad, gwedy gosod delwau i fynu unwaith: pa beth a allwn ni ei wneuthur y rhai nid ydym yn gyffelyb iddynt hwy, nac mewn dysc, nac mewn diwydrwydd, nac mewn sancteiddrwydd bywyd, nac mewn awdurdod, gan ein bod yn ddynnion dirmygus digymmeriad (fal y mae'r byd yn awr yn myned) ac yn anaml mewn rhifedi ymmysc cymmaint lliaws a chenfigen dynnion? pa beth meddaf allwn ni ei wneuthur neu ei gwblhau i attal eulyn-addoliad, neu addoliad delwau, os goddefir hwy i sefyll yn gyhoeddus mewn Temlau ac Eglwysydd?

Ac oni alle gynifer o Ymmerodron galluog, trwy gyhoeddiadau a chyfraithiau mor dost, trwy gospedigaethau, a phoenau mor dyrnmion ac mor ddygyn, gadw'r bobl rhag gosod i fynu ac addoli delwau, pa beth a ddigwydd, dybygwch chwi, pan fo dynnion yn eu cannol hwy megis llyfrau angenreidiol gwyr llyg?

Dyscwn ni am hynny yn y dyddiau diwethaf ymma, y wers hon gan hen henafiaeth, nad yw bosibl dros un amser hir wahanu delw-addoliad

oddiwrth ddelwau, onid megis cyssylltyn diwahanedig, neu megis y canlyn y cyscod y corph, pan fytho'r haul yn tywynnu felly y mae delw-addoliad yn canlyn ac yn glynu wrth oddefiaeth delwau'n gyhoedd mewn Temlau ac Eglwysydd. Ac yn ddiwethaf megis y dylaid casshau a gwachelyd delw-addoliaeth, felly y dylaid hefyd dinistr a dodi ymmaith ddelwau, y rhai ni allant fod yn hir heb ddelw-addoliad.

Heblaw addysc a phrawf yr amseroedd aeth heibio; mae naturiaeth a dechreuad delwau o hanynt eu hunain yn tynnu yn rhy nerthog i ddelw-addoliad, ac mae anian dynnion a'u paradrwydd yn gogwyddo mor drwm at ddelw-addoliad, nad yw possibl wahanu a dosparthu delwau oddiwrthynt, na chadw dynnion rhag delw-addoliad os goddefir delwau yn gyhoeddus.

Yr hyn yr ydwyf yn ei ddywedyd am annian a dechrauad delwau yw hyn. fal y mae eu dechrauad hwy yn ddrwg ac ni ddichon dim daioni ddyfod o beth a fo a'i ddechreuad yn ddrwg, am eu bod hwy oll yn ddrwg fal y dywaid Athanasius yn ei lyfr yn erbyn y cenhedloedd, a S. Jerom ar y chweched bennod o'r Prophwyd Jeremi: Ac mae Eusebius yn ei saithfed llyfr o'i histori Eglwysig a'r ddaunawfed bennod yn dywedyd, megis y daethont hwy ar y cyntaf attom ni oddiwrth y cenhedloedd (y rhai ydynt ddelw-addolwyr) ac fal y bu dychmygu delwau yn ddechreuad godineb ysprydol, fal y testiolaetha gan Duw, Doeth. 14. felly megis wrth naturiaeth ac yn angherreidiol, y dychwelant i'r dechrauad o'r hwn y daethont, ac y tynnant ni trwy drais i ddelw-addoliad, ffiaidd gan Dduw a phob dyn duwiol.

dwywol. Ac fe ddaeth dechreuad delwau a'u haddoliad, megis y dywedir yn yr wythfed bennod o lyfr y Doethineb, o gariad dall oedd gan ytad annealltus, gan lunio i'w ddiddanwch ddelw ei fab a fuasai farw, felly o'r diwedd y cwympodd dynnion i addoli delw yr hwn a wyddeint eisoes wedy marw. Pa faint mwy y cwympe wyr a gwragedd i addoli delwau Duw Dâd, ein Iachawdwr Christ, a'i saint, os goddefir hwy i sefyll mewn eglwysydd a themlau yn gyhoeddus?

O herwydd po mwyaf o dŷb a fytho am fawrhydi a sancteiddrwydd y neb y gwnelir delw iddo, cyntaf y cwymp y bobl i addoli y ddelw honno. Am hynny y mae delwau Dduw, ein Iachawdwr Christ, y fendigaid forwyn fair, yr apostolion, y merthyron ac eraill o'r rhai sanctaidd godidawg, yn beriglaf o gwbl rhag enbeidrwydd delwaddoliad, ac am hynny y dlyid gochelyd yn fwy rhag goddef yr un o hanynt yn gyhoedd mewn temlau ac eglwysydd. O herwydd nid rhaid fawr ofni rhag cwympo neb i addoli delwau Annas, Caiphas, Pilat, neu Iudas fradwr, pe byddid yn eu gosod hwy i fynu: ond i'r llaill fe brwfwyd yn gyflawn eisoes ddarfod gwneuthur delw-addoliad, fod yn ei wneuthur etto, ac yn debyg y gwnair yn wastadol.

Yn awr, fel y sonniwyd o'r blaen ac y dangosir ymma yn helaeth, nid ydyw naturiaeth dyn yn tueddu yn amgenach i addoli delwau, os dichon ef eu cael hwy a'u gweled, nag y mae'n gogwyddo i oddineb a phuteindra ynghwmpniaeth putteiniaid. Ac megis na byddid ond ychydig nes er dywedyd wrth wr a fytho gwedy ymroi i chwantau'r cnawd, os bydd ef yn gweled puttain ddrythyll,

thyll, yn eistedd yn ei hymyl, ac yn ei bracheidio hi, Gwachel oddineb, fe farna Duw oddinei wyr a phutteiniaid. O herwydd gwedy ei orchfygu ef a hudoliaeth y buttein, ni wna ef na roi clust, na synnaid ar y fath rybyddiō duwiol, a chwedy ar ol hynny ei adel ef yn unic gyda'r buttain, ni all dim ganilyn onid bryntí: felly os goddefwch ddodi i fynu delwau mewn temlau ac eglwysydd, ofer yr erchwch iddynt wachelyd delwau, fal y mae Ioan sant yn erchi, a chilio oddiwrth ddelw-addoliaeth, fal y rhybyddia'r holl scrythyrau ni: ofer y pregethwch ac y dangoswch iddynt yn erbyn delw-addoliad. O herwydd llaweroedd er hyn a gwympant i'w haddoli hwy, naill ai trwy annian y delwau ai trwy dueddiad eu hannian lygredig eu hunain. 1.Cor.6.18. 1.Thess.4.3. Heb.13.4. 1.Ioan.5.21.

Am hynny megis mai temptio Duw yw, i'r hwn a fytho yn gogwyddo at chwantau cnawdol, eistedd wrth glun puttain: felly hefyd nid yw gosod delw i fynu yn y parodrwydd hyn sydd mewn dyn i ddelw-addoliad ddim onid temptio Duw.

Os dywaid neb nad ydyw y gyffelybaeth hon yn profo dim, etto yr ydwyf yn deisyf arnynt adel i air Duw o'r hwn y tynnwyd y gyffelybaeth, brofo peth. Onid ydyw gair Duw yn galw delwaddoliaeth yn oddineb yspyrdol? onid ydyw ef yn galw delw gwedy ei goreuro, yn buttain gwedy peintio ei hwyneb? onid ydyw yspyrdol ddrygioni hudoliaeth delw, megis gwenniaith puttain dirthyll? Onid ydyw gwyr a gwragedd mor barodol i odineb yspyrdol, hynny yw i ddelw-addoliaeth, ac i odineb cnawdol? Os gwedir hyn profed holl genhedlaethau y ddayar y rhai oll a fuont ddelw-addolwyr (fal y manegir ymmhob histori) Leuit.17.7. a'r 20.5. Ruf 25.5. Deu 31.16. Baruc.6.

ei fod yn wir. Profed yr Iddewon, pobl Dduw, y rhai a rybyddiwyd mor fynych ac mor ddifrif, ac a fygythwyd mor ofnadwy ynghylch delwau a delw-addoliad, ac a gospwyd mor dost am ddelw-addoliad, ac er hynny a gwympasont atto, fod hyn yn wir: fal y dangosir yn eglur ddigon yn holl lyfrau'r hen Destament, yn enwedig yn llyfrau y brenhinioedd, y croniclau a'r prophwydi. Profed holl oesoedd ac amseroedd, dynion o bob oes ac amser, o bob gradd a galwedigaeth, gwyr call, gwyr dyscedig, tywysogion, dynnion annyscedig a chyffredin, fod hyn yn wir.

Os mynnwch gael samplau am wyr call, cymmerwch yr Aiphtiaid a'r Gymnosophistiaid y gwyr callaf o'r byd, cymmerwch Salomon y gwr callaf oll. Am wyr dyscedig, y Groegiaid, yn enwedig yr Atheniaid, yn rhagori ar bob cenhedlaeth mewn ofergoel a delw-addoliad: megis y mae
Act.17.22,23. S. Pawl yn histori Actau'r Apostolion yn dywedyd am danynt. Am dywysogion a llywodraethwyr cymmerwch y Rufeiniaid, y rhai oeddynt yn
Rhuf.1. rheoli'r cwbl. Brenin Salomon, a holl frenhinioedd Israel a Iuda ar ei ol ef, ond Dafydd, Ezechias, Iosias ac un neu ddau ychwaneg, yr holl rai hyn, meddaf, ac aneirif o wyr call dyscedig, tywysogion, a llywiawdwyr y rhai oeddynt oll ddelw-addolwyr, ydynt siamplau i chwi i ddangos fod pob dyn a'i duedd a'i ogwydd at ddelw-addoliad.

Er fymod heb son am aneirif liaws, a muredd o wirioniaid annyscedig, y bobl ddiwybod [illegible], y rhai a gyffelybir i fulod ac i geffylau, yn y rhai nid oes deall, y rhai yn enwedig y mae'r Scrythur yn rhagddangos ac yn rhagfanegi eu pe-

rigl

dwr cyfrwyddwyr a dadleuwyr. I'r hwn gyd a'r Tad a'r Yspryd glân, yn anfarwol, anweledig a gogoneddus Dduw y byddo 'r holl anrhydedd a'r diolch a'r gogoniant yn oes oesoedd. Amen.

## ¶ Pregeth am gyweirio, cadw 'n lan ac addurno Eglwysydd yn weddaidd.

Arfer gyffredinol a arferir gan bawb yw pan fwriadont alw eu ceraint a'u cymydogion i'w tai i fwytta neu yfed gyda hwy: neu gael yn ymgynnull gyhoedd i drafthu ac i ymddiddan ynghylch yn peth; hwy a fynnant fod ei tai (y rhai a gadwant mewn cyweir gwastadol) yn lan ac yn deg: rhag eu cyfrif hwy yn fuscrell ac heb fawr gyfrif ganthynt am eu ceraint a'u cymydogion. Pa faint mwy, gan hynny, y dylai dŷ Dduw, yr hwn yn gyffredinawl a alwn ni yr Eglwys, gael ei gyweirio yn gyflawn ym-mhob lle, a'i drwsio a'i harddu 'n barchus, a'i gadw 'n lan, ac yn beraidd i ddiddanwch pawb ac a ddelo iddo.

Mae 'n eglur yn yr Scrythyr lan, pa fodd y cwympodd tŷ Dduw, yr hwn a elwid ei Deml sanctaidd ef ac oedd fam-eglwys holl Judea, weithiau mewn anghy-wair, ac fel yr halogwyd ac yr anurddwyd ef yn fynych, trwy wall ac annuwioldeb y rhai oedd edrychiaid arno. Ond pan fyddai brenhinoedd a llywiawdwyr duwiol yn y fan a'r lle, fe a roddid yn y man orchymmyn i adgyweirio Eglwys a thŷ Dduw, ac ar gynnull defesion y bobl tuag at ei adgyweirio ef.

Yr ydym yn darllen yn ail llyfr y brenhinoedd

pa fodd y rhoddodd brenin Ioas yr hwn oedd dywysog duwiol, orchymmyn i'r offeiriaid i droschas o offrymmau 'r bobl tuag at gyweirio a gwellau Teml Dduw.

Yr vn fath orchymmyn a roddodd y brenin tra duwiol Iosias ynghylch adgyweirio ac ail adailad Teml Dduw, yr hon a gafas ef mewn diffyg, anghyweir ac adfail mawr. Fe a ryngodd bodd i'r holl-alluog Dduw fod scrifennu yn helaeth yr historiau hyn ynghylch ail-adailadu ac adgyweirio ei Deml sanctaidd ef er dangos i ni, Yn gyntaf fod Duw yn fodlon i fod gan ei bobl ef le gweddaidd i ddyfod iddo ac i ymgynnull ynghyd i folianu ac i fawrhau ei sanctaidd enw ef.

Ac yn ail ei fod ef yn fodlon dros ben i'r holl rai ac a ant yn ddiwall ac yn ddiesceulus ynghylch cyweirio a gwellau cyfryw leoedd ac appwyntiwyd i gynulleidfa pobl Duw ddyfod iddynt, yn y rhai y rhoddant ddiolch i Dduw am ei ddoniau yn ostyngedig ac yn gyttun, ac y moliannant ei sanctaidd enw ef ag vn galon ac ag vn llefferydd.

Yn drydedd yr ydoedd Duw yn anfodlon iawn i'w bobl, am eu bod yn adailadu, yn trwsio ac yn harddu eu tai eu hunain, ac yn goddef ty Dduw mewn adfail ac anghyweir i fod yn anweddaidd ac yn ann-hyweraidd.

Am hynny y cyffrowyd ef yn ddirfawr yn eu herbyn hwy, ac y plagodd ef hwy, fal y gwelir yn y Prophwyd Aggeus: Fal hyn y dywaid yr Arglwydd, Ai amser ywch i chwi eich hunain i drigo mewn tai byrddiedig, a'r ty hwn yn anghyfanedd? hauasoch lawer a chasclasoch ychydig, bwyttasoch ac ni'ch digonwyd, yfasoch ac ni 'ch disychedwyd, gwisgasoch ddillad ac ni chadwasont

chwi

chwi yn glŷd, a'r hwn a ymgyflogo a gascl ei gyflog i gôd ddiwaelod.

Wrth y plagau hyn a osododd Duw ar ei bobl am escaelusso ei Deml, mae'n eglur, y mynne Dduw fod ei Deml, ei Eglwys, y lle yr hwn yr arfer ei gynulleidfa ef ddyfod iddo, i'w fawrhau ef, gwedy ei adailadu a'i hatcyweirio a'i maentaeinio'n dda. Fe ddywaid rhai heb ofalu nac am dduwioldeb nac am y lle o ymarfer duwiol; fe a orchymmynnodd Duw ei hunan adail a chyweirio'r deml yn yr hên gyfraith, am fod llawer o addewidion mawrion gwedy eu cyssylltu â hi: ac am e'u bod hi yn arwydd, yn Sacrament, ac yn arwyddocâd o Grist ei hun, a'r Eglwys hefyd.

I hyn y gellir atteb yn ddigon hawdd, yn gyntaf nad oes dyffyg addewidion ar ein Eglwysydd ninnau gan fod ein Iachawdwr Crist yn dywedyd lle bytho dau neu dri gwedy ymgynull ynghyd yn fy enw fi, myfi a fyddaf yn eu mysc hwy. Am hynny pan fytho lliaws mawr gwedy ymgynull ynghŷd i'r Eglwys, mae Duw a Christ Iesu yn bresennol ynghynnulleidfa ei bobl ffyddlon trwy ei nerth a'i dduwiol gynhorthwy yn ol ei ddiogel a'i ddiddanus addewidion. Pa ham gan hynny na ddylei bobl Gristianogaidd wneuthur Temlau ac Eglwysydd, a hwynt a chymaint o addewidion iddynt o bresennoldeb Duw, ac oedd gan Salomon am y deml ddefnyddiol a wnaeth ef? Am y rhan arall, sef bod Teml Salomon yn arwydd o Ghrist, ni a wyddom yn awr yngoleuni disclair Efengyl Iesu Ghrist Mâb Duw, fod pob cyscodau, arwyddion ac arwyddocâd gwedy mynd yn hollawl ymmaith: fod yr holl ofer am-mrhoffiddiol ceremoniau Iddewaidd a Phaganiaidd

 gwedy

gwedy eu diddymmu yn gwbl: ac am hynny ni wnaethpwyd ein Eglwysydd ni i fod yn arwyddion ac yn arwyddocâd o'r Messias a Christ i ddyfod, ond er defnyddiau duwiol angenrheidiol eraill: hynny yw, megis y mae gan bob gwr ei dy ei hun i aros ynddo i gymmeryd ei esmwythdra ac ei orphywys ynddo, a'r cyfryw gyfreidiau eraill: felly y myn Duw holl-alluog fod iddo yntef dŷ a lle i'r hwn yr ymgynull yr holl blwyf a'r gynulleidfa, yr hwn a elwir yr Eglwys a Themi Dduw, am fod yr Eglwys, yr hon yw cynnulleidfa pobl Dduw, yn ymgynull ac yn dyfod ynghŷd yno, i'w wasanaethu ef. Nid am ein bod yn meddwl wrth hyn fod yr Arglwydd, yr hwn ni all nef y nefoedd ei gynnwys a'i amgyffred, yn trigo yn yr Eglwys faen a chalch o waith dwylo dŷn, megis pe byddid yn ei gynnwys ef yn hollawl ynddi, ac na byddai mewn un man arall: o herwydd ni thrigodd ef erioed felly yn-nhemi Salomon.

Hefyd fe a gyfrifir ac a elwir yr Eglwys a'r deml hon yn sanctaidd, nid o honi ei hun, ond am fod pobl Dduw (y rhai sy'n ymarfer o ddyfod yno) yn sanctaidd ac yn ymarfer yno mewn pethau sanctaidd nefol.

Ac er mwyn bod i chwi ddeall ym-mhellach paham y gwnaethpwyd Eglwysydd ym-mhlith Cristianogion, hyn oedd yr achos mwyaf, er mwyn bod i Dduw ei le a'i amser i'w anrhydeddu a'i wasanaethu gan holl gynulleidfa'r plwyf yn gyfan. Yn gyntaf, i wrando ac i ddyscu yno fendigedig air y tragwyddol Dduw. Yn ail, er mwyn bod i holl gynnulleidfa pobl Dduw yn y plwyf alw ar enw Duw ag un llefferydd, ac ag un galon fawrhau a chlodfori ei enw ef, rhoddi diffrif ddiolch

olch i'r Tâd nefol o un galon am ei anfeidrol ddoniau y mae ef yn eu rhoddi ini beunydd ac yn aml, heb ollwng yn angof roddi yn elusenau i dylodion, fel y bo i Dduw ein bendithio ninnau yn gyfoethoccach.

Fal hyn y gellwch ddeall ac ystyried paham y gwnaethpwyd Eglwysydd gyntaf ym-mhlith Christianogion, ac y cyssegrwyd ac y gosodwyd hwy i'r defnyddion duwiol hyn, a phaham y dieithrwyd hwy yn hollawl oddiwrth bob defnyddion brynton, halog, bydol. Am hynny pwy bynnag sydd ganthynt feddwl a bwriad bychan ar gyweirio ac adailadu teml Dduw, fe a ddylid eu cyfrif hwy yn bobl annuwiol iawn, yn wrthwyneb i bob trefn dda yn Eglwys Ghrist, ac yn diystyru gwir anrhydedd Duw, a thrwy siampl ddrwg yn rhwystro eu cymydogion, y rhai oni bai hwynt hwy, a fyddent yn dduwiol ac yn dda eu bwriad.

Mae'r byd yn tybied nad ydyw ond peth bychan weled eu heglwysydd yn adfeilio ac yn myned i lawr: ond pwy bynnag ni ddodant eu dwylaw i'w cynnal a'i cadw hwy i fynu, maent yn pechu yn erbyn Duw a'i gynnulleidfa sanctaidd. O herwydd oni bai fod yn bechod esceuluso a dibrisio adcyweirio ac ail-adailadu y Deml, ni buasai Dduw yn digio yn gymmaint, ac yn plau ei bobl cyn gynted am eu bod hwy yn adailadu ac yn trwsio eu tai eu hunain yn wychion, ac yn dibrisio tŷ eu Harglwydd Dduw.

Mae'n bechod ac yn gywilydd weled cynnifer o Eglwysydd gwedy gogwyddo ac adfeilio mor gywilyddus ym-mhob cornel. Os bydd tŷ gwr ei hun lle mae ef yn trigo, yn gwaethygu, ni or-

phwys ef nes iddo ei adcyweirio ef ailwaith: ie os bydd ei yscubor ef, lle y ceidw ef ei ŷd, mewn anghyweir, mor ddiesculus fydd ef nes darffo iddo ei chwbl gyweirio hi ailwaith. Os bydd ei stabl ef i gadw ei geffyle, neu ei dwlc ef i gadw ei foch, heb fod yn ddiddos yn erbyn glaw a gwynt, mor ofalus a fydd ef i osod arno gôst. Ac a fydd wn ni mor ofalus am ein tai cyffredinol gwael, y rhai a ddefnyddir i'r fath reidiau gwael, ac a fydd wn ni anghofus am dŷ Dduw yn yr hwn y traethir geiriau ein tragwyddol iechydwriaeth ni: ac yn yr hwn y ministrir y sacramentau, dirgelion ein prynedigaeth ni: yno y mae ger ein bron ffynnon ein ailanedigaeth; yno yr ydys yn cynnyg i ni gyfraniad corph a gwaed ein Iachawdwr Christ. Ac oni wnawn ni gyfrif o'r lle yn yr hwn yr ydys yn trin y fath bethau nefol?

Am hynny os bydd genych barch i wasanaeth Duw, os bydd syberwyd ac honestrwydd, os bydd cydwybod i gadw ordeiniaeth angheirheidiol duwiol, cedwch eich Eglwysydd mewn cyweir dda, trwy'r hyn ni fodlonwch chwi Dduw yn unig ac ni dderbyniwch yn unic ei aml fendithion ef. Ond chwi a haeddwch hefyd air da pawb o'r bobl dduwiol.

Yr ail peth sydd yn perthyn at faenteinio tŷ Dduw yw ei harddu ef a'i gadw yn weddaidd ac yn lan.

Yr hyn bethau a ellir eu cyflawni yn haws pan fo'r Eglwys gwedy ei chyweirio yn dda. O herwydd megys y bydd dynion yn hyfryd ac yn ddiddan pan welont eu tai a phob peth mewn trefn ynddynt, a phob cornel yn lan ac yn beraidd; felly pan fytho tŷ Dduw gwedy ei drwsio'n deg a lleo-

edd

edd gweddaidd i eisteddd yndo, a phalpud i'r pregethwr, a bwrdd yr Arglwydd i finiftro ei sancteidd swpper ef, a'r bedydd-faen i fedyddio ynddo, a'r cwbl yn lân yn weddaidd ac yn beraidd, fe fydd y bobl yn chwannoccach i aros yno, dros yr holl amser a osodwyd iddynt.

A pha zêl ac â pha ddifrifwch y mae Christ yn taflu y prynwyr a'r gwerthwyr allan o Deml Dduw yn ymchwelyd i lawer fyrddau y newidwyr arian, a chadeirieu y rhai oedd yn gwerthu colomennod, ac ni adawodd ef i neb ddwyn llestr trwy y Deml. Fe ddywad wrthynt iddynt wneuthur ty ei Dâd ef yn ogof lladron, mewn rhan trwy ofergoel, rhagrith, gauaddoliad, gauathrawiaeth a thrachwant anfesurol, ac mewn rhan trwy ddiystyrwch, gan gamarfer y lle hwnnw trwy rodio a chwedleua, a thrwy bethau dayarol, heb nac ofn Duw, na pharch dyledus i'r lle.

Pa ogofudd lladron a wnaethpwyd o Eglwysydd yr holl deyrnas gynt, trwy ddirmygus brynu a gwerthu, corph a gwaed Christ yn yr offeren (fal y gwnaethpwyd i'r byd yr amser hynny gredu) mewn dirigae, pen-misoedd, trentelau, mewn manachlogydd a phrioṙdai: heblaw camarferon echrydus eraill (bendigedig fo enw Duw yn drugarog wydd) yr ydym ni yn awr yn eu gweled ac yn eu deall. O'r holl ffiaidd bethau hyn y glanhaodd y rhai sydd yn lle Christ Eglwysydd y deyrnas hon, gan dynnu ymmaith bob gwarth a brynti y rhai trwy ddefosiwn dall ac anwybod a ymlyscasont i'r Eglwysydd er ys llawer can mlynedd.

Am hynny, oh chwi chwi bobl ddaionus Gristianogawl, fanwyl Ynghrist Iesu: chwi chwi y rhai nid ydych yn ymogogoneddu mewn crefyddol,

 fydol,

fydol, ofer, ac mewn gwag harddwch a gwychder, ond ydych yn gorfoleddu yn eich calon weled gogoniant Duw yn ei osod allan yn gywir ar Eglwysydd gwedy eu hadferu i'w hen a'u duwiol arfer, rhowch âch calonnau ddiolch i ddaioni 'r Holl-alluog Dduw yr hwn yn ein dyddiau ni a osododd ynghalonnau ei bregethwyr a'i weinidogion duwiol, a hefyd ynghalonnau ei ffyddlon lywiawdwyr a'i lywodraethwyr ddwyn y pethau hyn i ben.

Ac yn gymmaint a bod eich eglwysydd chwi wedi eu glanhau a'u hyscubo oddiwrth y brynti pechadurus, ofergoelus, a'r hwn yr halogasid ac yr anffurfiasid hwy: gwnewch chwithau eich rhan bobl dda ar gadw eich eglwysydd, yn weddaidd ac yn lan, na oddefwch eu halogi hwy a glaw a thywydd, a thomm colomennod, dylluanod y drydwy, brain a brynti eraill, yr hyn sydd frwnt a gresyn ei weled mewn llawer lle o'r wlad hon.

Tŷ gweddi yw hi, nid tŷ i ymchwedleua i rodio i ymdaeru, i gerddoriaeth, gweilch a hebogau neu gwn. Nac annogwch anfodlonrwydd a phlau Duw, gan ddiystyru a cham-arfer ei sainctaidd dŷ ef, fal y gwnaeth yr Iddewon annuwiol: ond bydded Duw yn eich calonnau, byddwch ufydd i'w ewyllys sanctaidd ef: ym-rwymwch wŷr a gwragedd yn ôl eich gallu, tu ag at gyweirio a chadw yn lân yr Eglwys, fel y galloch fod yn gyfranogion o amryw fendithiau Duw, a dyfod yn ewyllysgarach i'ch Eglwys blwyf, i ddyscu yno eich dyled tuag at Dduw, a'ch cymydog, i fod yno yn bresenol, ac yn gyfrannogion o sanctaidd Sacramentau Christ i roddi yno ddiolch

i'n Tâd nefol am ei aml ddoniau. Y rhai y mae ef beunydd yn eu tywalt arnoch, yno i weddio ynghyd, ac i alw ar sanctaidd enw Duw yr hwn a fendiger byth ac yn dragywydd. Amen.

## ¶ Pregeth am weithredoedd da ac yn gyntaf am ymprydio.

Rhodd rad Duw (bobl dda Gristionogaidd) yw ein bywyd ni yn y byd hwn, nac arferwn ef wrth ein hewyllys yn ol ein chwantae cnawdol ein hunain, ond ymddygwn trwyddo yn y gweithredoedd a weddae ini y rhai a wnaethpwyd yn greaduriaid newydd ynghrist Jesu. Y gweithredoedd hyn y mae 'r Apostol yn e'u galw yn weithredoedd da, gan ddywedyd, canys ei waith ef ydym, wedy 'n creu ynghrist Jesu i weithredoedd da y rhai a ddarparodd Duw ini rodio ynddynt. Ac etto nid yw ei feddwl ef wrth y geiriau hyn ar ein dwyn ni i ymddiried ac i orfeithio yn ein gweithredoedd, megis trwy eu haeddiant au teilyngdod hwy i ennill ini ein hunain ac eraill faddeuant pechodau; ac felly yn y diwedd fywyd tragwyddol. O herwydd fe fyddai hynny yn ddirmig yn erbyn trûgaredd Duw, ac anfri mawr i dywaltiad gwaed ein Jachawdwr Christ. O herwydd rhodd râd a thrûgaredd Dûw trwy gyfryngad gwaed ei fab Jesu Ghrist; heb haeddiant o'n hystlus ni, yw maddau ein pechodau a'n cymmodi ni a heddychu rhyngom ni ag ef, a'n gwneuthur yn etifeddion teyrnas nefoedd.

Aug. de fide & opera 4.

Grâs medd S. Awstin a berthyn i Dduw sydd-

yn

yn ein galw ni; ac yno pwy bynnag a gafodd râs, mae gantho weithredoedd da: wrth hynny nid gweithredoedd da sydd yn dwyn grâs, ond trwy râs y dygir gweithredoedd da. Mae r' rhôd medd ef, yn troi yn grwn, nyd er mwyn cael ei gwneuthur yn gron, ond am ei gwneuthur hi yn gron yn gyntaf, am hynny y mae hi yn troi yn grwn. felly nid yw neb yn gwneuthur gweithredoedd da er mwyn cael derbyn grâs trwy ei weithredoedd da; ond am iddo yn gyntaf dderbyn grâs, am hynny yno mae efe yn gwneuthur gwythredoedd da.

Aug. de diuers. quæst. ad Sicplic. li. 1 q. 28.

Ac mewn man arall y dyweid, Nid ydyw gweithredoedd da yn myned o'r blaen yn yr hwn a gyfiawnheir, ond mae gweithredoedd da yn dyfod ar ôl gwedi darfod cyfyawnhau dŷn yn gyntaf.

Aug. de fide & op. ca. 4.

Mae S. Paul am hynny yn dangos fod yn rhaid i ni wneuthur gweithredoedd da am lawer o achosion, yn gyntaf i ddangos ein bod ni yn blant ufydd i'n tâd nefol, yr hwn a'u hordeiniodd hwy i ni i rodio ynddynt.

Yn ail am eu bod hwy yn arwyddion ac yn dystiolaethau o'n cyfiawnhad ni.

Yn drydydd er mwyn cyffroi a chynhyrfu eraill wrth weled ein gweithredoedd da ni, i ogoneddu ein Tad yr hwn sydd yn y nefoedd.

Am hynny na fyddwn anescud i wneuthur gwythredoedd da, am fod ewyllys Duw i ni rodio ynddynt, gan ein sicerhau ein hunain y derbyn pob dŷn gan Dduw yn y dydd diwethaf, am y boen a gymmerth ef yn y wir ffydd, obrwy a fytho mwy nag a haeddodd ei weithredoedd ef.

Ac o herwydd bod yn rhaid son am un weithred dda yn unig, yr hon y mae ei chlôd yn y gyfraith

ac yn yr Efengyl, fe a ddywedpwyd hyn yn y dechreuad yn gyffredinol am bob gweithredoedd da.

Yn gyntaf i droi heibio oddiar ffordd y diddrwg a'r annyscedig, y maen tramgwydd enbaid hwn, ar fod i neb geisio ennill neu brynu nef â'i weithredoedd ei hunan.

Yn ail, i dynnu ymmaith (nesaf y geller) oddiwrth feddyliau cenfigennus a thafodau enllibus, bob achos cyfiawn o enllib, megis petteid yn bwrw heibio weithredoedd da.

Y weithred dda a sonir am dani yn awr, yw ympryd, o'r hon y mae sôn am ddau ryw yn yr Scrythur.

Y naill oddiallan yn perthynu i'r corph, a'r llall oddifewn yn perthinu i'r galon a'r meddwl.

Yr ympryd hwn oddiallan yw ymattal oddiwrth fwyd a diod a phob ymborth naturiol, ie ac oddiwrth bob digrifwch a melyswedd bydol.

Pan fytho'r ympryd ymma yn perthyn i un dyn o'r neilltu, neu i rai, ac nid i holl liaws y bobl, o blegid achosion a fanegir ar ol hyn, yno y gelwir yn ympryd neillduol: ond pan fytho 'r holl liaws, gwyr, gwragedd a phlant mewn tref neu ddinas, ie mewn gwlâd gyfan, yn ymprydio, yno y gelwir yn ympryd cyffredinol.

O'r fâth hynny yr oedd yr ympryd a orchymmynnwyd i holl liaws plant yr Israel ei gadw ar y degfed dydd o'r seithfed mis, o blegid i'r Arglwydd Dduw appwyntio fod y dydd hwnnw yn ddydd glanhâd, yn ddydd cymmod, yn amser heddychfa, yn ddydd yn yr hwn y glanhawyd y bobl oddiwrth eu pechodau. Y drefn a'r modd y gwnaed hynny sydd scrifennedig yn 16, a'r 23. o Leuiticus. Y dydd hwnnw yr ydoedd y bobl yn ymgystuddio. Leuit 16.30. cap.23.29.

ddio, yn galaru ac yn ochain am eu pechodau ae-thent heibio. A phwy bynnag ni chystuddiodd ei enaid y dydd hwnnw, gan alaru am ei bechodau, gan ymattal (fel y dywedpwyd) oddiwrth bob ymborth corphorol hyd yr hwyr, yr enaid hwnnw (medd yr Holl-alluog Dduw) a ddinistrir o fysc y bobl.

Nid ydym ni yn darllein ddarfod i Moses trwy drefn cyfraith ordeiniaw un dydd ympryd cyffredinol trwy'r holl flwyddyn, ond yr un diwrnod hwnnw. Yr ydoedd er hynny gan yr Iddewon ychwaneg o ddiwrnodiau ympryd cyffredinol, y

Zach.8.19. rhai y mae'r prophwyd Zacharias yn eu cyfrif, yn ympryd y pedwaredd mis, ympryd y pummed mis, ympryd y saithfed ac ympryd y degfed mis.

Ond am nad yw yn ymddangos yn y gyfraith pa bryd yr ordeiniwyd hwy, fe a ddylid tybied ddarfod appwyntio'r diwrnodiau ympryd eraill, heb law ympryd y seithfed mis, ym mysc yr Iddewon, gan y llywodraeth wyr, yn hytrach o ddefosiwn, na thrwy un gorgymmyn cyhoedd oddiwrth Dduw.

Wrth ordinhâd yr ympryd cyffredinol hwn, y cymmerodd gwyr da achos i appwyntio iddynt eu hunain ymprydiau neilltual, ar yr amseroedd y byddēt naill ai yn galaru ac yn ochain dros eu bywyd pechadurus, ai ar yr amser yr ymroddent i weddio yn ddifrif ar fod yn wiw gan Dduw droi ei ddigofaint oddiwrthynt, naill ai pan rybyddid hwy, ac y dygid hwy i ystyried eu drwg fywyd trwy bregethiad y prophwydi, neu pan welent mewn rhyw fodd arall berigl presennol uwch eu pennau.

Y trymder calon ymma yn gyssylltedig ag ympryd a ddangosent hwy weithiau trwy ymddygiad

ac oddiallan ac ymarweddiad corphorol, gan wisco sach-liain, a bwrw lludw a llwch ar eu pennau, ac eistedd neu orwedd ar y ddayar. O blegid pan glywo gwŷr da ynddynt eu hunain, faich trwm eu pechodau, a gweled mai damnedigaeth yw eu gwobr hwy, a phan welont â llygaid eu calonnau erchill boenau uffern, maent yn crynu ac yn *yscrydu, ac yr ydys oddifewn yn eu cyffroi Yscrydio
hwy â thrymder calon am eu beiau, ac ni allant lai n'i'u cyhuddo eu hunain, a dangos eu gofyd i'r Holl-alluog Dduw, a galw arno ef am drugaredd. Ac os gwneir hyn yn ddifrif, mae eu meddyliau mor llawn, mewn rhan, o dristwch a thrymder, ac mewn rhan, a chwant difrif ar gael eu gwared oddiwrth berigl uffern a damnedigaeth, fal y rhoddont heibio bob chwant bwyd a diod, ac y daw yn eu lle hwy ddiystyrwch pob peth bydol a phob digrifwch, fal nad oes dim yn eu bodloni hwy yn fwy nag wylo ac ochain a galaru, ac i ddangos wrth eu geiriau a'u hymddygiad corphorol, eu bod hwy yn ddiffygiol o'r bywyd hwn.

Fal hyn yr ymprydiodd Dafydd pan oedd ef yn eiriol ar yr holl-alluog Dduw am fywyd y plétyn, a ennillasid mewn godineb o wraig Urias. Fal hyn yr ymprydiodd Achab pan edifarhaodd ef am ladd Naboth, gan dristau am ei weithredoedd pechadurus. O'r fath hyn yr oedd ymprŷd y Ninifeaid a ddygwyd i edifeirwch drwy bregetheaid Ionas.

Pan laddwyd drugain mil o'r Israelaid yn y rhyfel yn erbyn gwyr Beniamin, mae 'r Scrythyr yn dywedyd, fe aeth holl blant yr Israel a holl rifedi 'r bobl i Bethel ac a eisteddasant i lawr

hwy.

i wylo ger bron yr Arglwydd, ac hwy a ymprydiasant trwy'r dydd hyd y nos. Felly yr ymprydiodd Daniel, Hester, Nehemias, a llawer eraill yn yr hên Destament.

Ond os dywaid neb, gwir yw, hwy a ymprydiasant felly yn sicer, ond nid ydym ni yn awr tan tau'r gyfraith, yr ydym ni yn rhyddion trwy rydddid yr Efengyl: am hynny nid ydyw'r defodau a'r arferon hynny o'r hên gyfraith yn ein rhwymo ni, oni ellir dangos trwy Scrythyrau y Testament newydd, neu trwy y siamplau allan o hono, fod ympryd yn awr dan yr Efengyl yn ymattaliaeth oddiwrth fwyd a diod a phob ymborth corphorol, a hoffderau'r corph.

Yn gyntaf mae yn wirionedd mor amlwg y dylyem ni ymprydio, nad rhaid ymma ei brofi, mae'r Scrythyrau yn eglur sydd yn dangos hynny. Y questiwn gan hynny yw, pan fythom ni yn ymprydio, pa vn a ddylem ni ai cadw ein cyrph oddiwrth fwyd a diod dros yr amser y bôm yn ymprydio, ai na ddylem?

Fe a ellir gweled yn hawdd y dylem ni wneuthur felly, wrth y questiwn a ofynnodd y Pharisæaid i Grist, ac wrth ei atteb yntef. Pa ham (meddant hwy) y mae discyblon Joan yn ymprydio yn fynych ac yn gweddio, a discyblon y Pharisæaid, a'th ddiscyblon di yn bwyta ac yn yfed, ac heb ymprydio dim? Yn y questiwn esmwyth hwn y maent yn cynnwys yn ddichellgar y ddadl neu'r rhesswm hwn: Pwy bynnag nid ymprydio nid yw'r dŷn hwnnw o Dduw. O blegid gweithredoedd yw ympryd a gweddi a ganmolwyd ac a orchymmynnwyd gan Dduw yn ei Scrythyrau, ac fe a ymarferodd pob gŵr da o Moses hyd

Luc.5.33.

yr amseroedd hyn, yn gystal prophwydi ac eraill, yn y gweithredoedd hyn. Y mae Joan hefyd a'i ddiscyblon yn y ddyddiau hyn yn ymprydio yn fynych ac yn gweddio llawer, ac felly yr ydym ninnau y Phariseaid yn gwneuthur hefyd. Ond nid ydyw dy ddiscyblon di yn ymprydio ddim, yr hyn os ti a'i gwada, ni a'i profwn yn ddigon hawdd. O blegid pwy bynnag sydd yn bwytta ac yn yfed nid ydyw yn ymprydio. Ond mae dy ddiscyblon di yn bwytta ac yn yfed, am hynny nid ydynt yn ymprydio. O hyn meddant yr ydym yn casclu nad oes na thydi na'th ddiscyblon o Dduw.

Mae Christ yn atteb gan ddywedyd, A ellwch chwi beri i blant y priodas-fâb ymprydio tra fyddo y priodas-fâb gyd â hwy? fe ddaw'r ddyddiau pan dynner y priodas-fâb oddiwrthynt yn y dyddiau hynny yr ymprydiant.

Mae'n Iachawdwr Christ megis meistr da yn ymddiffyn diniweidrwydd ei ddiscyblon yn erbyn malis y Phariseaid beilchion, ac yn profi nad ydyw ei ddiscyblon ef yn euog o dorri un gronyn o gyfraith Dduw, er nad oeddynt y pryd hynny yn ymprydio: ac mae ef yn ei atteb yn argyoeddi'r Phariseaid o ofergoel ac anwybod. O ofergoel am eu bod yn gosod crefydd yn eu gweithredoedd, ac yn rhwymo sancteiddrwydd wrth weithrediad y gwaith oddiallan, heb ystyried i ba ddefnydd yr ordeiniwyd ympryd. O anwybodaeth am na feddrent farnu rhwng amser ac amser. Ni wyddent hwy fod amser i lawenydd ac i ddiddanwch, ac amser i gwynfan ac i alaru. Y ddau beth hyn y mae efe yn eu dangos yn ei atteb, fal y dangosir yn helaeth ar ôl hyn, pan ddangosom pa amser sydd gymmhesuraf i ymprydio ynddo.

Ac

Ac ymmia cynghareddigion, ysgrythyrwyr nad ydyw ein Iachawdwr Christ wrth wneuthur ei atteb i'w Questiwn hwy, yn gwadu, ond yn cyfaddef bod ei ddiscyblion ef heb ymprydio, ac am hynny yn hyn y mae efe yn cyttuno a'r Pharisëaid, am ei fod yn wirionedd eglur, nad ydyw 'r hwn sydd yn bwytta ac yn yfed yn ymprydio. Ympryd am hynny wrth addewiad ein Iachawdwr Christ, yw ymadaw bwyd a diod, a phob ymborth naturiol oddiwrth y corph, dros yr amser y bydder yn ymprydio.

Ac mae 'n eglur iawn wrth Gyngor Calcedon, un o'r pedwar Cyngor cyffredinol cyntaf, fod yn y brif-eglwys gynt yn arfer o ymprydio: y tadau a ymgynnullasent yno hyd yn rhifedi chwe-chant a dêg ar ugain, gan ystyried ynddynt eu hunain mor gymmeradwy ger bron Duw yw ympryd, pan arferer efe yn ôl gair Duw: achefyd gan fod o flaen eu llygaid, y mawr gamarfer o ympryd oedd gwedi ymlusco i Eglwys Duw yr amser hynny, trwy esceulusdra y rhai a ddylasent ddyscu i'r bobl ei iawn arfer hi, a thrwy ddeongladau ofer a ddychymmygase ddynion: er mwyn iawnhau y camarferon hynny, ac adferu gweithred mor dduwiol ac mor dda i'w iawn arfer: hwy a ordeiniasant yn y Cyngor hwnnw fod i bôb dŷn cyfal mewn ympryd neillduol ac ympryd cyffredinol, aros trwy 'r dydd heb na bwyd na diod hyd ar ol Gosper: a phwy bynnag a fwyttae neu a yfe cyn darfod Gosper, fe a'i cyfrifid ac a dybygid amdano nad oedd yn ystyried purder ei ympryd. Mae 'r ordinhâd hon yn dangos mor eglur pa fodd yr arferid ympryd yn y brif-eglwys gynt, fel na ellir mewn geiriau ei osod allan yn eglurach.

Ympryd gan hynny wrth ordinhâd y chwechant

a'r

[illegible] ar vgain hynny o dadau, gan seilio eu barn am y peth hyn ar yr Scrythyrau sanctaidd, a hir-barhaus arfer y prophwydi a gwŷr duwiol eraill o flaen dyfodiad Christ, a'r Apostolion hefyd a gwŷr duwiol eraill yn y Testament newydd, yw hyn, Cadw bwyd a diod a phob ymborth naturiol oddiwrth y corph tros yr amser a osodwyd i ymprydio. Hyn a ddywetpwyd hyd yn hyn er dangos i chwi yn oleu pa beth yw ymprydio. Yn ôl hyn y dangosir gwir ac iawn arfer ympryd.

Nid ydyw gweithredoedd da i gŷd o'r un rhyw. O herwydd mae rhai o honynt eu hunain ac o'u naws priodol eu hunain yn dda bob amser: megis y mae caru Duw v'wchlaw pob peth, caru fy-nghymydog fel fi fy hun, anrhydeddu tâd a mam, anrhydeddu y galluau goruchaf, rhoi i bawb yr hyn a ddylei, a'r cyffelyb.

Mae gweithredoedd eraill y rhai os ystyrir hwy ynddynt eu hunain heb fyned ym-hellach, sydd o'u naturiaeth eu hunain yn ganolig, hynny yw heb na bod yn dda na bod yn ddrwg, ond a gymmerant eu henw o'r modd yr arferer hwynt, neu o'r desnydd y gwasanaethant iddo. Y gweithredoedd hyn os gwneir hwy i ddiwedd da, a elwir yn weithredoedd da, ac ydynt felly yn sicer: ond etto nid yw hynny o honynt hwy eu hunain, ond o'r diwedd i'r hwn y maent yn gwasanaethu.

Yn y gwrthwyneb, os bydd y diwedd i'r hwn y gwasanaethant, yn ddrwg, yno ni all na bo rhaid iddynt hwythau fod yn ddrwg. O'r rhyw ymma ar weithredoedd y mae ympryd, yr hwn o hono ei hunan sydd beth canolig diddrwg didda: ond a wneir yn ddrwg neu yn dda wrth y diwedd y mae yn gwasanaethu iddo. O herwydd pã wne-

ler ef er mwyn diwedd da, y mae ef yn weithred dda, ond os drwg fydd y diwedd, y mae'r weithred hefyd yn ddrwg. Ymprydio am hynny gan gredu yn y galon y gall ein hymprydd a'n gweithredoedd da ein gwneuthur ni yn wyr perffaith cyfiawn, ac felly yn y diwedd ein dwyn ni i'r nef: meddwl cythreulig yw hwn, ac y mae'r ympryd hwn cyn belled oddiwrth fodloni Duw, ac y mae hi yn ymwrthod â'i drugaredd ef, ac yn lleihau haeddiant dioddefaint Christ, a thywalltiad ei werthfawr waed ef. Hyn y mae dammeg y Phasai a'r Publican yn ei ddangos.

Luc.18.10. Dau wr (medd ein Iachawdwr Christ) aethant i fynu i'r deml i weddio, vn yn Phariseaad a'r llall yn Bublican. Y Phariseaad o'i sefyll a weddiodd ynddo ei hun fal hyn, O Dduw yr ydwyf yn diolch i ti nad ydwyf fal dynion eraill y rhai ydynt drawsion, anghyfion a godinebwyr, neu fal y Publican hwn: yr ydwyf yn ymprydio ddwywaith yn yr wythnos, yr ydwyf yn degymmu cymmaint oll a feddaf. A'r Publican yn sefyll o hirbell ni chodai ei lygaid i fu a'r nef, eithr curo ei ddwyfron gan ddywedyd, o Dduw bydd drugarog wrthif bechadur. Yn y Phariseaad hwn y mae Christ yn gosod allan yngolwg ac ym-marn y byd, wr perffaith, iniawn, cyfiawn, yr hwn ni halogir â'r beiau y llygrir dynion eraill yn gyffredinol, megis trawsder, camwobr, cribddeilio a chneifio'r cymydogion, yspeilwyr ac anrheithwyr yr holl wlâd, dichellgar a thwyllodrus wrth newid a chyfnewid, yn arfer pwysau twyllodrus, anudon ffiaidd wrth brynu a gwerthu, godinebwyr, putteinwyr a dynion yn byw yn ddrygionus.

Nid oedd y Phariseaad y fath ddŷn, ac nid ydoedd

edd feius mewn vn bai cyhoeddus. Ond lle'r oedd eraill yn croseddu wrth adel heb wneuthur, y pechau yr oedd y gyfraith yn eu gofyn, yr oedd hwn yn gwneuthur mwy nag oedd angenrheidiol wrth gyfraith. O blegid yr oedd ef yn ymprydio ddwywaith yn yr wythnos, ac yn talu degwm o gymmaint ac a feddai. Pa beth gan hynny a allei 'r bŷd ei feio yn gyfion yn y dŷn hwn? ie pa beth oddiallan ychwaneg a ellid ei ddymuno ynddo, er ei wneuthur yn berffeithiach ac yn gyfiawnach dŷn? dim yn wir ym-marn dŷn: ac etto mae'n Iachawdwr Christ yn derchafu 'r Publican truan heb ymprydio, o'i flaen ef a'i ymprydcantho: mae'r achos yn eglur pa ham y gwnaeth ef felly.

O herwydd y Publican gan nad oedd gantho ddim gweithredoedd da i ymddiried ynthynt, a ymrôdd i Dduw, gan gyffessu ei bechodau a gobeitho yn sicer y cedwid ef trwy râd trugaredd Duw yn unig. Yr oedd y Pharisead yn ymogoneddu ac yn ymddiried cymmaint i'w weithredoedd, ac y tybiodd ef ei hunan yn ddiogel ddigon heb drugaredd, ac y cai ef ddyfod i'r nef wrth ei ymprydiau a'i weithredoedd eraill. I'r defnydd ymma y gwasanaetha'r ddammeg hon. O blegid hi a ddywedpwyd wrth y rhai oeddynt yn ymddiried ynddynt eu hunain eu bod yn gyfiawn ac yn diystyru eraill.

Yn awr am fod y Pharisead yn cyfeirio ei weithredoedd at ddiben drwg, gan geisio trwyddynt gyfiawnhâd, yr hyn yn wir yw priodol waith Duw heb ein haeddiant ni, yr oedd ei ymprydiau ef ddwywaith yn yr wythnos, a'i holl weithredoedd eraill er eu hamled, ac er cystal a sancteiddied y tybygid eu bod hwy yngolwg y bŷd, etto

yn wirionedd ger bron Duw yn ffiaidd ac yn ddrwg. Y nôd hefyd y mae rhagrithwyr yn saethu atto yn eu hymprŷd, yw ymddangos yn sanctaidd yngolwg y byd, ac felly ennill moliant a chlod gan ddynion. Ond mae ein Iachawdwr Christ yn dywedyd am danynt hwy, eu bod hwy yn derbyn eu gwobr, hynny yw clod a chanmoliaeth dynion, ond gan Dduw nid oes iddynt ddim. O blegid pa beth bynnag a wneler er mwyn diwedd drwg, a wnelr yn ddrwg yntef trwy'r diwedd drwg.

Hefyd, yr hŷd y cadwom annuwioldeb yn ein calonnau, ac y goddefom feddyliau drwg i aros yno, er i ni ymprydio cyn fynyched ac y gwnaeth S. Paul neu Joan fedyddiwr, a chadw ein hymprŷd mor gaeth ac y gwnaeth y Ministeaid, ni bydd hynny yn unig yn anfuddiol i ni, ond hefyd yn beth yn anfodloni Duw yn fawr. O blegid mae efe yn dywedyd fod ei enaid ef yn ffieiddio ac yn casau'r fâth ymprydiau, ie a'u bod hwy yn faich arno ef, a'i fôd yn blino yn eu dwyn hwy. Ac am
Esa.1.14. hynny y mae ef yn gwaeddi yn uchel yn eu herbyn hwy gan ddywedyd trwy enau'r Prophwyd E-
Esa.58.4. sai, Wele y dydd yr ymprydioch mae eich chwant yn aros, ac y mynnwch eich holl ddyledion; Wele i ymrysson a chynnen yr ymprydiasoch ac i daro â dwrn anwir. Nac ymprydiwch fel y dydd hwn gan beri clywed eich llais yn uchel. Ai fal hyn y bydd yr ympryd yr hwn a ddewisaf y dydd y cystuddio dŷn ei enaid? ai trwy grymmu ei ben fel brwynen pan wisco arno sach-liain a lludw? ai hyn a elwir yn ympryd, neu yn ddiwrnod bodlon gan yr Arglwydd?

Yn awr, fyngharedion, gan nad yw'r Arglwydd

yn

yn derbyn ein hympryd ni er mwyn y weithred, ond y mae ef yn edrych swyaf beth yw meddwl y galon, ac wrth hynny y mae efe yn cyfrif ein hympryd ni yn dda neu yn ddrwg, wrth y diwedd i'r hwn y mae efe yn gwasanaethu. Ein rhan ni yw rhwygo ein calonnau ac nid ein dillad, fal y mae'r Prophwyd Joel yn ein cynghori, hynny yw, mae'n rhaid i'n trymder ni a'n galar fod oddifewn yn y galon, ac nid mewn golwg oddiallan yn unig, ie anghenrheidiol yw i ni yn gyntaf o flaen pob peth lanhau'n calonnau oddiwrth bechod, ac yno cyfeirio ein hympryd at y diwedd y mae Duw yn ei gyfrif yn ddaionus. Y mae tri diwedd at y rhai os cyfeirir ein hympryd ni, yno y bydd ef yn weithred fuddiol i ni, a chymmeradwy gan Dduw. Joel 2.13.

Y cyntaf yw cystuddio'r cnawd, rhag ei fod yn rhy drythyll, ond gwedi ei ddofi a'i ddarostwng i'r Yspryd. Dymma'r peth yr oedd Paul yn edrych arno yn ei ympryd, Yr ydwyf, medd ef, yn cospi fynghorph, ac yn ei ddarostwng, rhag mewn un modd wedi i mi bregethu i eraill, fy mod fy hunan yn anghymmeradwy.

Yr ail yw, er mwyn gwneuthur yr yspryd yn ddifrifach ac yn wresoccach i weddio. I'r un-fynydd ymma yr ymprydiodd y prophwydi a'r dyscawdwyr oeddynt yn Antiochia, cyn iddynt ddanfon allan Paul a Barnabas i bregethu'r Efengyl. I'r un fath ddefnydd yr ymprydiodd y ddau Apostol hynny, pan orchymmynnasant hwy i Dduw y cynnulleidfaoedd oeddynt yn Antiochia, Pisidia, Iconium a Lystra, fel yr ydym ni yn darllen yn Actau'r Apostolion. Act.13.2. Act.14.13.

Y trydedd yw, bod ein hympryd ni yn dystio-

laeth ac yn dyscger bron Duw o'n hufydd ddarostyngedigaeth ni i'w oruchel fawrhydi ef, pan fythom yn cyffessu ac yn cydnabod ein pechodau iddo ef, a phan yn cyffroer ni oddifewn â thristwch calon, gan alaru o'i plegid trwy gystuddio ein cyrph.

Dymma dri diwedd neu iawn arfer ympryd; y cynta sydd yn perthynu yn briodol i ympryd neilltuol; y ddau eraill sydd gyffredinol yn perthyn i ympryd cyhoeddus ac i ympryd neilltuol. A hyn a ddywedpwyd am iawn-arfer ympryd.

Arglwydd trugarhâ worthym a dyro i ni râs fel y bo i ni tra fyddom byw yn y byd blinderog hwn, allu trwy dy gymmorth di ddwyn y ffrwyth hwn, a'r cyfryw ffrwythau eraill o'th Yspryd di, y rhai a ganmolir ac a orchymmynnir i ni yn dy sanctaidd air di, er gogoniant i'th enw di, a diddanwch i ninnau, megis yn ol rhedegfa y blin fywyd hwn y gallom fyw yn dragywydd gydâ thi yn dy deyrnas nefol, nid er mwyn haeddiant na theilyngdod ein gweithredoedd ein hunain, ond er mwyn dy drugaredd di, a haeddedigaethau dy anwyl Fâb Iesu Grist, i'r hwn gydâ chi a'r Yspryd glân, y byddo moliant, anrhydedd a gogoniant yn oes oesoedd. Amen.

## ¶ Yr ail rhan o'r bregeth am Ymprydio.



E a ddangoswyd yn yr Homili o'r blaen, fy-nghyaredigion, mai ympryd ym-mhlith yr Iodewon fal y gorchymmynnwyd ef oddiwrth Dduw trwy Moses, oedd ymattal trwy'r

dydd

dydd o'r boreu hyd yr hwyr, oddiwrth fwyd a diod a phob math'ar ymborth a lluniaeth corphorol, a phwy bynnag a brofai ddim cyn yr hwyr, ar y dydd a osodwyd i ymprydio, a gyfrifid ei fod yn torri ei ympryd.

Yr hyn drefn er ei fod yn ddieithr yn-nhŷb rhai yn ein dyddiau ni, am nad arferwyd ei yn gyffredinol yn y deyrnas hon er ys llawer o flynyddoedd, etto fe a brofwyd yno yn ddigon helaeth trwy dystiolaethau a siamplau o'r Scrythyr lân yn y Testament newydd ac yn yr hên, mai felly yr oeddid yn ymprydio ym-mhlith pobl Dduw (yr Iuddewon yr wyf yn ei feddwl,) y rhai cyn dyfodiad ein Iachawdwr Christ a fu wiw gan Dduw eu dewis iddo ei hunan yn bobl neillduol o flaen holl genhedloedd y ddayar; ac mai hynny oedd feddwl ein Iachawdwr Christ am ympryd; ac mai felly yr arfere'r Apostolion o ymprydio yn ôl dyrchafiad Christ. Ac yno hefyd y dangoswyd iawn-arfer ympryd.

Yn yr ail rhan hon o'r Homili y dangosir na ddichon un drefn na chyfraith ar a wnel dŷn ynghylch pethau a fyddo o'u naturiaeth eu hunain yn ddiddrwg ddidda, rwymo cydwybodau Christianogion i'w cynnal ac i'w cadw hwy yn wastadol; ond bod i'r galluoedd goruchaf gyflawn rydd-did i newid ac i symmud pob cyfraith ac ordinhâd o'r fâth hynny, pa un bynnag fyddont ai eglwysig a'i bydol, pan fyddo'r amser a'r lle yn gofyn.

Ond yn gyntaf fe a wneir atteb i gwestiwn a ellir ei ofyn, Pa farn a ddylei fod gennym am y cyfryw ddirwest ac ymattaliaeth; ac a appwyntir drwy drefnid a chyfraithiau cyhoedd tywyso-

gion, a thrwy awdurdod y llywodraeth-wyr, er mwyn llywodraeth fydol, heb ystyried crefydd yn hynny. Megis pan appwyntier amser i ymprydio mewn rhyw deyrnas er mewyn maentaenio y trefydd pyscod a fo ar lan y môr; ac er mewyn amlhau pyscodwyr, o'r rhai y daw morwyr i fyned i longwriaeth, i gyflawni llongau 'r deyrnas, trwy y rhai y gellir * trosglwyddo cymmwynasau allan o wledydd eraill, a'r rhai hefyd a allant fod yn ymddyffynfa angenrheidiol i wrthwynebu cyrchau 'r gelynion. Er mwyn cael deall y questiwn ymma yn well, mae 'n rhaid i ni wneuthur gwahaniaeth rhwng bydol lywodraeth tywysogion yn trefnu a llywodraethu eu gwledydd, yn rhagddarbod ac yn rhagddarparu y cyfryw bethau ac a fyddo rhaid er diogelwch ac ymddiffyn eu deiliaid a'u gwledydd: a rhwng llywodraeth eglwysig wrth appwyntio rhyw weithredoedd, trwy y rhai megis trwy ail-achosion y gellir llonyddu digofaint Duw ac ennil ei drugaredd.

Symmud.

Fe ddylyai bob deiliaid Christianogawl, a hynny o barch i'r llywodraethwyr, nid yn unig rhag ofn cosp, ond hefyd (fel y dywaid yr Apostol) er mwyn cywybod, ufyddhau'r holl gyfraithiau gosodegig a wnelo tywysogion, er mwyn cadw a chynnal eu llywodraeth fydol, trwy na hyddent gwrthwyneb i gyfraithiau Duw. Er mwyn cydwybod meddaf, nid cydwybod o'r peth a orchymmynner, yr hwn o'i naturiaeth ei hunan sydd ddiddrwg ddidda, ond er mwyn cydwybod ein hufydd-dod, yr hon wrth gyfraith Dduw sydd ddyledus arnom i'r llywodraethwyr, megis i weinidog Duw.

Er bod y cyfreithiau gosodedig hyn yn gwahardd i ni sydd ddeiliaid arfer tros amser rhyw fwydydd a diodydd, y thai a adawodd Duw trwy ei sancteiddrwydd yn rhydd i bob math ar ddŷn eu cymmeryd trwy roddi diolch, ym-mhob lle ac amser: etto am nad ydyw tywysogion a llywodraethwyr eraill yn gwneuthur y cyfreithiau hynny er mwyn gosod mwy o sancteiddrwydd mewn rhyw fwyd neu ddiod nag mewn arall, neu wneuthur un diwrnod yn sancteiddiach nag un arall: ond yn unig er mwyn llywodraeth fydol a daioni'r wlâd: mae pob deiliaid yn rhwym er mwyn cydwybod i'w cadw hwy wrth orchymmyn Duw, yr hwn sydd trwy ei Apostol yn erchi i bawb heb naillduo neb, fod yn ddarostyngedig i awdurdod y galluoedd goruchaf.

Ac yn y pwngc ymma, tu ag at am ein dlêd ni sydd yn trigo yn yr ynys hon, wedi ein hamgylchynu â moroedd, mae i ni achosion a rhesymmawr i gymmeryd ffrwythau'r dyfroedd y rhai a osododd yr Holl-alluog Dduw o'i sanctaidd ragweliad, mor agos attom, trwy'r hyn y gellir yn well gynhilo a chynnyddu ymborth a lluniaeth y tir, er mwyn dwyn ymborth i well newid, fel y geller yn haws gynnorthwyo angenrheidiau'r tlodion.

Ac fe a weddai ei fod ef yn frutain rhyfoethus yr hwn gan yspryd y budd sydd yn canlyn, ni all attal peth ar ei flysig chwant er mwyn ordinhâd ei dywysog a chyfundeb gwŷr call y deyrnas.

Pa galon gywir frutanaidd na ewyllysiai weled ei hên ogoniant wedi dychwelyd eilwaith i'r deyrnas hon, yn yr hyn y rhoedd hi cyn ein hamser ni, trwy glod fawr yn rhagori ynghadernid ei

llongau:

llongau ar y môr? Pa beth a frawycha galon ein gelynion ni yn fwy na'n gweled ni mor gadarn ac mor arfog ar y môr, ac y mae'r gair i ni fod ar y tir? Pe damune y tywysog ufydd-dod gennym ni i ymgadw oddiwrth gig dros un diwrnod mwy nag yr ydym, ac i fod yn fodlon i un pryd o fwyd y diwrnod hwnnw, oni ddylai ein budd ein hunain ein hannog ni i ufydd-dod? Ond yn awr lle yr ydys yn goddef i ni gymmeryd dau bryd ar y diwrnod hwnnw, ar yr hwn yr arfere ein rhieni ni mewn lliaws mawr yn y deyrnas hon gymmeryd un pryd prin o fwyd, a hwnnw o byscod yn unig: a ddylyem ni dybied fod yn rhydrwm y baich yr ydys yn ei orchymmyn i ni?

Hefyd ystyriwn adfail y trefi ar lan y môr, y rhai a ddylei fod yn barottaf o gwbl mewn rhifedi eu pobl i wrthladd y gelyn, ac felly ninnau y rhai sy yn trigo ym-mhellach yn y tir wrth eu cael hwy yn darian ac yn ymddiffyn i ni, a fyddem diofalach a diogelach. Os ein cymydogion ni ydynt, pa ham nad ewyllysiwn eu llwyddiant hwy? Os ydynt yn ymddiffynfa i ni, am eu bod yn gyfnesaf i wrthladd y gelyn, ac i attal cynddairiogrwydd y mor oddiwrthym, yr hwn oni bai hwy a dorre dros ein porfeydd tirion ni, pa ham na chynnorthwywn hwy? Ac nid ydym yn cymmell hyn mewn llywodraeth Eglwysig, gan appwyntio modd i ymprydio, i ymddarostwng yngwydd yr Holl-alluog Dduw, fod y modd a'r drefn honno ar ympryd a arferid ym-mhlith yr Iuddewon ac a ganlynwyd gan Apostolion Christ yn ôl ei dderchafiad ef, o'r fath rym ac anghenrhaid, fal y dyleid arfer y drefn honno yn unig ym-mysc Christianogion, ac nid un arall; o blegid ni byddei

hynny ond rhwymo pobl Dduw tan iau a baich llywodraeth Moses; ie ac dyna'r ffordd iniawn i'n dwyn ni y rhai a rydd-hawd trwy rydd-did Efengyl Ghrist, tan gaethiwed y gyfraith drachefn: yr hyn na atto Duw i neb ei amcanu na'i fwriadu.

Ond i'r defnydd hyn y mae yn gwasanaethu, er mwyn dangos faint y gwahaniaeth sydd rhwng y drefn ar ymprydio a arferir heddyw yn yr Eglwys, a'r drefn a arferid yr amser hynny.

Ni ddyleid ac ni ellir rhwymo Eglwys Duw felly wrth un drefn a wnaethpwyd nac a wneler nac a ddychymmyger ar ôl hyn trwy awdurdod dŷn, fel nas dichon hi yn gyfreithlon ar achosion cyfiawn symmud, newid neu yscafnhau y deddfau a'r ordeiniaethau eglwysig hynny, ie a'u gadel yn gwbl, a'u torri pan fônt yn pwyso at ofergoel ac annuwioldeb, pan fônt yn tynu'r bobl oddiwrth Dduw yn fwy nâ gweithio adeiladaeth yndynt.

Yr awdurdod hon a arferodd Christ ei hun, ac a adawodd ef i'w Eglwys. Ef a'i harferodd hi meddaf: Oblegid, y drefn a'r ordinhâd a wnelse'r henuriaid, am ymolchi yn fynych, yr hyn a gedwyd yn ddiesceulus ym-mhlith yr Iuddewon, etto am ei bod yn gorbwyso at ofergoel, y drefn honno meddaf a newidiodd ac a symmudodd ein Iachawdwr Christ i Sacrament buddiol, Sacrament ein ail enedigaeth ni. Yr awdurdod hon ar esmwytho cyfreithiau ac ordeiniaethau eglwysig a arferodd yr Apostolion pan wrth scrifennu o Ierusalem at yr Eglwys oedd yn Antiochia, yr ewyllIasant iddynt na osodent arnynt faich amgenach nâ'r pethau anghenrheidiol hyn, sef bod iddynt ymgadw oddiwrth y pethau a offrymmyd Act.15.28.
i ddel-

i ddelwau, a gwaed, ar pethau a dagwyd, a godineb, er bod cyfraith Moses yn gofyn cadw llawer o bethau eraill.

Yr awdurdod hon a'r newid ordeiniaethau, cyfraithiau a gosodiadau 'r Eglwys, ar ôl amser yr Apostolion, a arferodd y tadau ynghylch y modd y bydde raid ymprydio, fel y mae 'n eglur wrth yr historî deir-rhan, lle 'r scrifennir fal hyn: Ynghylch ympryd yr ydym yn gweled fod yn ei arfer ef mewn amryw foddion yn amryw leoedd gan amryw ddynion. Oblegid maent hwy yn Rhufain yn ymprydio dair wythnos ar untu o flaen y Pasc, ond ar Sadyrnau a Suliau, yr hwn ympryd a alwant hwy y Garawys. Ac yn ôl ychydig eiriau yn yr un man y canlyn, Nid oes ganthynt oll drefn un wedd ar ymprydio. O blegid rhai a ymgadwant oddiwrth byscod a chig hefyd. Rhai pan ymprydiont ni fwyttânt ddim ond pyscod. Y mae eraill pan ymprydiont a fwyttânt bob adar dyfroedd cystal a physcod, gan osod eu sail ar Moses fod y cyfryw adar a'u hanfod o'r dwfr yn gystal a physcod. Mae eraill pan ymprydiont ni fwyttant na llysiau nac wyau. Mae rhyw ymprydwyr ni fwyttant ddim ond bara yn sych. Eraill pan ymprydiont ni fwyttant cymmaint a bara yn sych. Mae rhai yn ymprydio oddiwrth bob ymborth hyd yr hwyr, ac yno y bwyttant heb wnenthur na dewis na gwahaniaeth o un bwyd mwy na 'i gilydd. A mil o'r fath amryw foddion ar ymprydio a geir mewn amryw leoedd yn y byd, y rhai a arfer amryw ddynion mewn amryw foddion. Ac er yr holl amryw foddion ymma ar ymprydio, etto ni thorrwyd cariad, gwir rwymyn Christianogawl dangnedddyf, ac ni thorrodd eu hamryw

Tripart. hist. lib. 9. 38.

ryw ymprydd hwy bu amser eu cyfundeb hwy a'u cyttundeb mewn ffydd. Euseb li.5. c.24.

Am ymgadw ryw amseroedd oddiwrth ryw fwydau, nid am fod y bwydau yn ddrwg, ond am nad ydynt yn anghenrheidiol, nid yw'r dirwest a'r ymattaliaeth hwn (medd S. Augustin) yn ddrwg. Ac ymgadw rhag bwydau pan fo anghenrhaid ac amser yn gofyn, hyn (medd ef) sydd yn perthyn yn briodol i Gristianogion. Dogm Eccles. cap.66.

Fal hyn y clywsoch (bobl dda) yn gyntaf fod deiliaid Christianogaidd yn rhwym mewn cydwybod i ufyddhau cyfraithiau tywysogion, y rhai ni bônt yn wrthwyneb i gyfreithiau Duw. Chwi a glywsoch hefyd nad ydyw Eglwys Grist mor rhwymedig i gadw un drefn neu gyfraith neu ordinhâd a wnelo dyn tuag at osod allan ddull neu drefn mewn crefydd: megis nad oes gan yr Eglwys gyflawn allu ac awdurdod oddiwrth Dduw, i'w newid ac i'w symmud hwy pan fytho anghenrhaid yn gofyn: yr hyn a ddangoswyd i chwi trwy siampl ein Iachawdwr Christ, trwy arfer ei Apostolion ef, a'r tadau ar ôl eu hamser hwythau.

Yn awr y dangosir ar ychydig eiriau pa amser sydd gyfaddas i ymprydio, o blegid nid yw pob amser yn gwasanaethu i bob peth, ond fel y dywaid y gŵr doeth, Y mae amser i bob peth, amser i wylo ac amser i chwerthin, amser i alaru ac amser i lawenychu, &c. Mae ein Iachawdwr Christ yn escusodi ei ddiscyblon ac yn argyoeddi y Phariseaid am nad oeddynt yn deall arfer ymprydd, nac yn ystyried yr amser sydd gyfaddas i ymprydio. Y ddau beth hynny y mae efe yn eu dyscu yn ei atteb, gan ddywedyd, Ni all plant y Eccles.3.1. Matt.9.15.

briodas

briodas alaru yr hyd y byddo'r priodas-fab gyd â hwy. Eu questiwn hwy oedd ynghylch ympryd, a'i atteb yntef sydd am alaru, gan arwyddocau iddynt yn oleu, nad yw ympryd y corph o ddiallan, yn ympryd ger bron Duw, oni bydd yn gyssylltedig â'r ympryd oddifewn, yr hwn yw galar a chwynfan yn y galon, fel y manegwyd o'r blaen.

Mat.19.15. Luc.5.35.

Am amser ympryd y mae efe yn dywedyd, Fe ddaw'r dyddiau pan dynner y priodas-fab oddiwrthynt, ac yno yr ymprydiant yn y dyddiau hynny. Wrth hyn y mae yn eglur nad ydyw hi amser i ymprydio yr hyd y parhao'r briodas, a thra fyddo'r priodas-fab yn bresennol. Ond pan ddarffo'r briodas a myned o'r priodas-fab ymmaith, yno y mae hi yn amser cyfaddas i ymprydio.

Yn awr i ddangos i chwi yn oleu beth yw y-styr a deall y geiriau ymma, Y rydym yn y briodas: a thrachefn, Fe a dynnwyd y priodas-fab oddiwrthym: ystyriwch, yr hyd y byddo Duw yn datcuddio ei drugareddau i ni, ac yn rhoddi ei ddoniau ysprydol neu gorphorol i ni, fe a ddywedir ein bod ni gyd â'r priodas-fab yn y briodas. Felly yr ydoedd yr hen dad daionus Jacob yn y briodas pan glywodd fod ei fab Joseph yn fyw, ac yn rheoli yr holl Aipht dan frenhin Pharao. Felly yr oedd Dafydd yn y briodas gyda'r priodas-fab pan gafodd ef yr oruchafiaeth yn erbyn Goliah fawr, a thorri o hono ei ben ef. Yr ydoedd Judith a holl bobl Bethulia yn blant y briodas, a'r priodas-fab gyda hwy, pa ddaroedd i Dduw trwy law gwraig ladd Holophernes pen-tywysog llu'r Assyriaid, a gorthrechu eu holl elynion. Fel hyn yr oedd yr Apostolion yn blant y briodas yr hyd yr ydoedd

Christ yn gorphorol yn bresennol gyda hwy, ac yn eu hamddiffyn hwy oddiwrth bob perigl, ysprydol a chorphorol.

Ond yno y dywedir fod y briodas gwedi darfod, a'r priodas-fab gwedi myned ymmaith, pan fo yr Holl-alluog Dduw yn ein taro ni â blinder, ac wrth dybygoliaeth yn ein gadel ni yn-nghanol aneirif o wrthwynebau. Felly y mae Duw yn fynych yn taro rhai neillduol ag amryw wrthwynebau, megis trallod meddwl, colled ceraint neu dda, hir a pheriglus glefydau &c. yno y mae hi yn amser cyfaddas i'r dyn hwnnw i ymddarostwng i'r Holl-alluog Dduw trwy ympryd, ac i alaru ac i gwynfan am ei bechodau â chalon athrist, ac i weddio yn ddifrifol gan ddywedyd gyda'r prophwyd Dafydd, Cudd dy wyneb oddiwrth fy mhechodau Arglwydd, a dilea fy holl anwireddau. Hefyd pan fytho Duw yn cystuddio rhyw deyrnas neu wlad â rhyfeloedd, newyn, cornwyd, neu glefydau dieithr a heintiau anghynefinaidd, a'r cyfryw flinderau eraill: yno y mae hi yn amser i bob gradd o ddynion, uchelradd ac iselradd, gwyr a gwragedd a phlant, ymddarostwng trwy ympryd, a galaru am eu hymddygiad pechadurus ger bron Duw, a gweddio ag un llef-erydd cyffredinol gan ddywedyd fel hyn, neu ryw fath weddi arall. Bydd drugarog o Arglwydd, Bydd drugarog wrth dy bobl sydd yn ymroi mewn wylofain ac ympryd a gweddi, arbed dy bobl y rhai a brynaist â'th werthfawr waed, ac na oddef ddistrywio dy etifeddiaeth a'i gwradwyddo.

Mae ympryd a arferir fel hyn ynghyd â gweddi yn gymmeradwy iawn ac yn hyfryd ger bron Duw. Felly y dywedodd yr Angel Raphael wrth Tobias.

Psal.51.9.

Haint ynodau, cornwyd.

Tob.12.8.

as. Mae hyn yn eglur hefyd wrth yr hyn a attebodd ein Iachawdwr Christ i'w ddiscyblon, pan ofynnasant iddo, pa ham na allent hwy fwrw'r yspryd aflan allan o'r hwn a ddygesid attynt. Ni fwrir y rhyw hwn allan (eb efe) ond trwy ympryd a gweddi.

Ni ellir dangos i chwi byth mor nerthol yw ympryd ac mor bwysig ger bron Duw, a pha beth a all ef gael ar law Dduw, yn well na thrwy agoryd i chwi a gosod ger eich bron rai o'r pethau godidog a wnaethpwyd trwy ympryd.

Ympryd oedd un o'r cyfryngau a'r achosion a wnaeth i'r Holl-alluog Dduw newid yr hyn a ddarfuasai iddo ei fwriadu ynghylch Ahab am ladd y gwr diniwed Naboth, er mwyn cael meddiannu
1.Bren. 21. 19. ei winllan ef. Yr Arglwydd a ddywedodd wrth Elias, gan ddywedyd, Dôs a dywed wrth Ahab, a leddaist di ac a feddiannaist, fel hyn y dywed yr Arglwydd, y fan lle y llyfodd y cwn waed Naboth y llyfant dy waed dithau hefyd: wele fi yn dwyn drwg arnat ti, a mi a dynnaf ymmaith dy hiliogaeth: y cwn a fwyttant yr hyn a fyddo marw eiddo Ahab yn y ddinas, a'r hwn a fyddo marw yn y maes a fwytty adar y nefoedd.

Y modd ymma a fwriadasai'r Holl-alluog Dduw i Ahab yn y byd hwn, a dinistrio pob gwr-ryw o dylwyth Ahab, heb law'r gosp a gwympe arno yn y byd a ddaw. Pan glybu Ahab hyn fe a rwygodd ei ddillad ac a wiscodd sach-liain, ac a ymprydiodd ac a orweddodd mewn sachliain, ac a
Droednoeth. gerddodd yn * ddiarchen: yno y daeth gair yr Arglwydd at Elias gan ddywedyd, Oni weli di'r modd yr ymostyngodd Ahab ger fy mron i? am iddo ymostwng ger fy mron i, ni ddygaf y drwg

hwnnw

hwnnw yn ei ddyddiau ef, ond yn-nyddau ei fâb
ef y dygaf y drwg hwnnw ar ei dŷ ef.

Ac er i Ahab trwy gyngor annuwiol Iesabel
ei wraig wneuthur lladdfa gywilyddus, ac yn er-
byn pob cyfiawnder dietifeddu a difeddiannu yn
dragywydd eppil Naboth o'r winllan honno: et-
to wrth ei vfydd ymostyngiad ef i Dduw yn ei
galon, yr hyn a ddangosodd ef oddiallan trwy
wisco sach-liain ac ymprydio, fe a newidiodd Duw
ei farn, fel na chwympodd y gosp a fwriadase ef,
ar dŷ Ahab yn ei amser ef, ond hi a oedwyd hyd
ddyddiau ei fâb ef Ioram.

Ymma y gwelwn pa rym sydd yn ein hymprydd
ni oddiallan, pan gyssyllter ef ag ymprŷd y me-
ddwl oddimewn, yr hwn yw (fal y dywetpwyd)
trymder calon, ffiaiddio ein drwg weithredoedd
a chwynfan o'u plegid. Y cyffelyb sydd i'w we-
led yn y Ninifeaid, o blegid wedi darfod i Dduw Ionas 3.4.
amcanu dinistrio holl ddinas Ninife, a bod yr am-
ser a appwyntiase ef ger llaw, fe a ddanfonodd y
prophwyd Ionas i ddywedyd wrthynt, Etto
ddeugain nhiwrnod, a Ninife a ddifethir. Ac yn
y man gwyr Ninife a gredasant i Dduw, ac a ym-
roesant i ymprydio, ie fe a barodd y brenhin trwy
gyngor ei gynghoriaid gyhoeddi gan ddywedyd,
dyn ac anifail, eidion a dafad, ni phrofant ddim,
ni phorant ac nid yfant ddwfr: ond gwisced dŷn
ac anifeil sachliain, a gwaedded ar Dduw yn lew,
a dattroed pob dyn oddiwrth ei ffordd ddrygio-
nus, ac oddiwrth y camwedd yr hwn sydd yn eu
dwylo hwynt, pwy a wyr a dry'r Arglwydd ac a
edifarha a dattroi o angerdd ei ddig, fel na ddife-
ther ni?

Ac ar yr edifeirwch hwn eiddynt hwy a ddango-

fwyd oddiallan trwy ymprydio, rhwygo eu dillad, gwisco sach-liain, bwrw llwch a lludw ar eu pennau, mae r Scrythur yn dywedyd. A gwelodd Duw eu gweithredoedd hwy, sef troi o honynt o'u ffyrdd drygionus, ac fe ai edifarhaodd Duw am y drwg a ddywedase y gwnai iddynt, ac nis gwnaeth.

Yn awr fy-ngharedigion chwi a glywsoch yn gyntaf beth yw ympryd, cystal yr hwn sydd oddiallan yn y corph, a'r hwn sydd oddifewn yn y galon. Chwi a glywsoch hefyd fod tri diwedd neu fwriad at y rhai os cyfeirir ein hympryd ni oddiallan; mae fe yn weithred dda, a Duw yn fodlon iddo.

Yn drydydd y dangoswyd pa amser sydd gymmhesuraf i ymprydio, yn neillduol ac yn gyhoedd.

Yn ddiwethaf pa bethau a gafodd ympryd ar law Dduw, wrth siampl Ahab a'r Niniveaid. Am hynny fyngharedigion yn yr Arglwydd, gan fod llawer mwy o achosion i ymprydio ac i alaru, yn ein dyddiau ni, nag a fu mewn llawer blwyddyn mewn un oes o'r blaen; ymrown oddifewn yn ein calonnau, ac oddiallan yn ein cyrph, i arfer yn ddiwyd yr arfer ymma o ymprydio, yn y modd a'r agwedd yr arferodd y sanctaidd brophwydi, yr Apostolion a llawer o wyr duwiol eraill hi yn eu hamser. Yr un Duw yw Duw yn awr ac oedd efe yr amser hwnnw, Duw yn caru cyfiawnder, ac yn casau anwiredd, Duw ni ewyllysia farwolaeth pechadur, ond yn hytrach ymchwelyd o hono oddiwrth ei anwiredd a byw, Duw yr hwn a addawodd droi attom ni, os nyni a drown atto ef: ie os ni a drown ein drwg weithredoedd o'i olwg ef, os peidiwn a gwneuthur drygioni a dechreu

gwneuthur

gwneuthur daioni, ceiſio gwneuthur cyſiawnder a chynnorthwyo'r gorthrymmedig, bod yn farnwyr cyſiawn i'r ymddifad ac yn ymddiffyn i'r weddw, torri ein bara i'r newynog, a dwyn y tlawd a fyddo ar ddidro i'n tai, os dilladwn y noeth a bod heb ddiyſtyru ein brawd yr hwn yw ein cnawd ni ein hunain: yno y gelwi (medd y prophwyd) a'r Arglwydd a atteb, ti a waeddi ac yntef a ddywaid, dymma fi. Ie yr un Duw a wrandawodd ar Ahab a'r Niniveaid, ac a'n harbedodd hwy, a wrendy ein gweddiau ninnau ac a'n harbed ni, os ni yn ôl eu ſiampl hwy a drown atto yn ddiragrith: Ie fe a'n bendithia ni a'i nefol fendithion tros yr amſer ſydd i ni i aros yn y byd hwn, ac yn ôl rhedſa'r bywyd marwol hwn, fe a'n dwg ni i'w deyrnas nefol, lle y teyrnaſwn ni mewn dedwyddwch tragwyddol gydâ'n Iachawdwr Chriſt: I'r hwn gydâ'r Tâd a'r Yſpryd glân y bo holl anrhydedd a gogoniant yn oes oeſoedd. Amen.

## ¶ Pregeth yn erbyn Glothineb a meddwdod.



CHwi a glywſoch, fy-nghâredigion, yn y bregeth o'r blaen, ddull a rhinwedd ympryd a'i iawn arfer: yn awr chwi a gewch glywed mor frwnt o beth yw glothineb a meddwdod gar bron Duw, er mwyn eich cyffroi chwi i ymprydio yn ddyfalach.

Deſſwch gan hynny ddarfod i'r Holl-alluog Dduw (er mwyn bod i ni yngadw yn ddihalog, a'i waſanaethu ef mewn ſancteiddrwydd a chyſi-

a wnder yn ôl ei air) orchymmyn yn yr Scrythyrau i gymmaint o honom ac sydd yn edrych am ogoneddus ymddangosiad ein Iachawdwr Christ,
Tit.2.12. fyw mewn sobredd, lledneisrwydd, a chymmedrolder. Wrth yr hyn y gallwn ddyscu mor angheinrhaid yw i bob Christion, ac a fynne fod yn barod yn-nyfodiad ein Iachawdwr Christ, fyw mewn sobredd yn y byd presennol hwn, gan na all ef, os bydd ammharod, fyned gydâ Christ i'w ogoniant: ac os bydd efe diarfog yn hyn o beth, ni all ef na bô mewn gwastadol berigl gan i gelyn creulon, y llew rhuadus, yn erbyn yr hwn y mae Petr yn ein rhybyddio ni i'n parottoi ein hunain mewn gwastadol sobredd, fel y gallom ef
1.Pet.5. wrthwynebu ef yn gadarn mewn ffydd.

Am hynny fel y gallom arfer y sobredd hwnnw yn ein holl ymddygiad, fe sydd cyfaddas mynegi i chwi faint y mae pob rhysedd a gormodedd yn digio mawrhydi yr Holl-alluog Dduw, ac mor dost y mae efe yn cospi anfesurol gam-arfer y creduriaid a ordeiniodd ef i borthi angheinrheidiau ein bywyd ni, megis bwyd a diod a dillad.

A chyfaddas sydd dangos hefyd y clefydau ni-
Aflwydd. weidiol a'r * echrys mawr sydd fynychaf yn canlyn y rhai sydd yn ymroi i ddilyn yn afradlon y cyfryw hoffderau ac sydd gyssylltedig a gormodd o fwydydd moethus, neu ddillad rhy werthfawr a rhy wychion.

Ac yn gyntaf fel y galloch weled mor gâs ac mor ffiaidd yngwydd yr Holl-alluog Dduw, yw gormodd bwytta ac yfed, chwi a gofiwch yr hyn
Gal.5.21. y mae S. Paul yn ei scrifennu at y Galathiaid, lle y mae efe yn cyfrif glothineb a meddwdod ym-
Erchyll. mhlith y beiau * echrydus, y rhai (medd efe) ni

all

all neb y byddont ynddo etifeddu teyrnas Dduw. Mae efe yn eu cyfrif hwy ym-mhlith gweithredoedd y cnawd, ac yn eu * cwplysu hwy a delwaddoliad, putteindra a llofruddiaeth, y beiau mwyaf ac a ellir eu henwi ym-mhlith dynion: o herwydd mae'r cyntaf yn yspailio Dduw o'i anrhydedd, yr aill yn halogi ei deml sanctaidd ef, hynny yw, ein cyrph ni: a'r trydydd yn ein gwneuthur ni yn gyfeillion i Cain wrth ladd ein brodyr, a phwy bynnag, medd S. Paul, a'u gwnelo, ni allant etifeddu teyrnas Dduw. Cyplu.

Yn siccr, mae'r pechod hwnnw yn gâs ac yn ffiaidd ger bron Duw, yr hwn sydd yn peri i Dduw droi ei wynebpryd grasol mor bell oddiwrthym, ac y caeai ni yn llwyr allan o'r drws, a'n dietifeddu ni o'i deyrnas nef. Ond y mae fe yn ffiaiddio anifeiliaidd wledda a gloddest yn gymmaint, fel y mae efe trwy ei fab Iesu Ghrist ein Iachawdwr yn yr Efengyl, yn cyhoeddi ei *echryslus lid yn erbyn pawb a wnânt eu boliau yn Dduw iddynt, gan eu barnu yn felldigedig, â dywedyd, Gwae chwi y rhai ydych lawnion, canys chwi a newynwch. A thrwy enau y Prophwyd Esai mae fe yn gweiddi, Gwae y rhai a gyfodant yn foreu, ac a ddilynant ddiod gadarn, ac a arhosant hyd yr hwyr, hyd oni ennynno diod gadarn hwy: ac yn eu gwleddoedd hwy y mae'r delyn a'r nabl, y tympan, y bibell hefyd a'r gwin; ond gwaith yr Arglwydd nid edrychant, ac gweithred ei ddwylaw ef ni welant: Gwae y rhai cryfion i yfed gwin, a'r dynion nerthol i gymmyscu diod gadarn. Erchyll. Luc.6.25. Esai.5.11.

Ymma y mae'r prophwyd yn dangos yn oleu fod cyfeddach a gwledda yn gwneuthur i ddynion

anghofio eu dlyed tu ac at Dduw: pan fônt yn ymroi i bob rhyw hoffder a digrifwch, heb ystyried na meddwi am weithredoedd yr Arglwydd, yr hwn a greodd fwyd a diod, fel y dywaid S. Paul, i'w derbyn mewn diolchgarwch gan y
1.Tim.4.4. ffyddloniaid, y rhai a adwaenant y gwirionedd. Megis y dylai edrych yn barig ar y creaduriaid hynny (y rhai ydynt waith dwylo yr holl-alluog Dduw) ein dyscu ni i'w harfer hwy yn ddiolchus, fel yr ordeiniodd Duw.

Am hynny y maent hwy yn ddiefcus ger bron Duw, y rhai naill a'u a lanwant eu hunain yn afradlon, heb ystyried y sancteiddiad sydd trwy air Duw a gweddi, ai ynte yn annniolchgar a gamarferant ddaionus greaduriaid Duw, trwy rythni a gormodedd a meddwdod, gan fod ordeinhâd Duw yn ei greaduriaid yn gwahardd hynny yn oleu. Pwy bynnag gan hynny a ymroddant i yfed ac i wledda heb ystyried barnedigaeth Dduw, hwy a oddiweddir yn ddisymmwth yn-nydd dial.

Luc.21.34. Am hynny y dywaid ein Iachawdwr Christ wrth ei ddiscyblion, Edrychwch arnoch eich hunain rhag gorchfygu eich calonnau a glothineb a meddwdod a gofalon y byd hwn, a dyfod y dydd hwnnw arnoch yn ddisymmwth. Pwy bynnag gan hynny a gymmero rybydd wrth eiriau Christ,
Gorchfygu. gwilied arno ei hunan, rhag * gormeilo ei galon a glothineb a meddwdod, a'i ddala ef yn ddisymmwyth gyd â'r gwâs afradlon, yr hwn heb fe-
Luc.12.26. ddwl am ddyfodiad ei feistr, a ddechreuodd guro ei gyfeillion y gweision a'r morwynion, a bwytta ac yfed a meddwi, a chwedy ei ddala yn ddisymmwth ef a gafodd ei ran gyda'r anffyddloniaid a'r

rha-

rhagrith-wyr. Pwy bynnag a arfero yfed yn
ddiwesn ac ymlenwi yn ormodd (gan ymdreiglo
ym-mhob drygioni) fe a ddaw arnynt drymgwsc
a *chyscadur angof sanctaidd ewyllys a gorchym- A chysglyd.
mynion Duw. Am hynny y llefa yr Holl-alluog
Dduw trwy'r Prophwyd Joel, deffrowch fedd- Ioel 1.5.
wyr, ac wylwch ac udwch holl yf-wyr gwin am y
gwin newydd, canys torrwyd ef oddiwrth eich
mîn chwi. Ymma y mae'r Arglwydd yn bygwth
yn dost y tynn ef ei ddoniau oddiwrth y rhai a'u
camarferant, ac y tynn ef y phiol oddiwrth enau
y meddwon. Ymma y gallwn ddyscu gochelyd
cyscu mewn meddwdod a glothineb, rhag i Dduw
ein difuddio ni o fwyniant ei greaduriaid, pan
gamarferom ni hwynt yn annaturiol.

O herwydd yn siccr ni thynn yr Arglwydd ein
Duw yn unig ei ddoniau oddiwrthym, pan gam-
arferir hwy yn anniolchus; ond hefyd yn ei lid
a'i fawr ddigofaint, fe a ddial ar bawb a'u camar-
feront hwy yn anghymmedrol. Pe buasai ein he-
nafiaid cyntaf ni Adda ac Efa heb ufuddhau i'w
chwant awyddus yn bwytta'r ffrwyth gwahar-
ddedig, ni buasent nac yn colli mwyniant doniau
Duw, y rhai a fwynhaent ym-mharadwys yr
amser hynny, nac yn dwyn y fath aflwydd ac ech-
rys arnynt eu hunain a'u holl heppil yn eu hôl.
Ond pan aethant hwy tros y terfynau a osodasai
Duw iddynt, hwy a yrrwyd allan o baradwys,
megis rhai an-nheilwng o ddoniau Duw, ni
chânt ym-mhellach fwytta ffrwythau yr ardd
honno, y rhai a ddarfuase iddynt eu camarfer
yn gymmaint trwy ormodedd: ac megis trosedd-
wyr gorchymmynion Duw, fe a'u dygwyd hwy
a'u heppil i gywilydd a gwradwydd tragwyddol,

ac megis rhai gwedi i Dduw eu melldithio, rhaid iddynt chwysu am eu bywyd, y rhai o'r blaen oedd ganthynt helaethrwydd wrth eu hewyllys.

Felly ninnau, os wrth fwytta ac yfed y cymmeron ormod, a Duw o'i helaeth haelioni yn danfon i ni ddigonedd ac amledd, fe a drŷ yn y man ein hamledd ni yn brinder: a lle'r oeddym o'r blaen yn ymorfoleddu yn ein cyflawnder, fe a'n gwnâ ni yn wâg, ac a'n gwradwydda ni ag eisiau ac a phrinder, ac a wna i ni lafurio a thrafaelu trwy boen a thrafael, i geisio yr hyn yr oeddym o'r blaen yn ei fwynhau mewn esmwythdra. Felly ni âd yr Arglwydd hwy heb gospi, y rhai heb ystyried ei weithredoedd ef, a ganlynant wyniau a thrachwantau eu calonnau eu hunain.

Y Patriarch Noah yr hwn y mae yr Apostol yn ei alw yn bregethwr cyfiawnder, ac yr oedd Duw yn ei garu yn fawr, a wnaethpwyd yn yr Scrythur lân yn siampl i ddyscu i ni ochelyd meddwdod. O blegid wedi iddo gymmeryd mwy o win nag oedd gymmhesur, fe a orweddodd yn noeth yn ei babell, a'i aelodau dirgel wedi eu dynoethi. Ac er ei fod ef o'r blaen mewn cymmaint parch a chymmeriad, fe a aeth yn awr yn watwargerdd i'w felldigedig fab Cham, er mawr ddolur i'w ddau fabion eraill Sem a Iapheth, y rhai a gywilyddient dros ymddygiad anifeiliaidd eu tad. Yma y gellwch weled fod meddwdod yn dwyn gydag ef gywilydd a gwatwar, ac na ddiangc ef yn ddigosp un amser.

Gen. 9. 21.

Lot hefyd wedi ei * ormesso gan win a wnaeth bechod llosc-ach ffiaidd a'i ferched eu hunain. Ymma y mae Lot trwy yfed gwedy cwympo cyn bel-

* Orchfygu.

lled

fled allan o'i bwyll ei hun, nad edwyn ef i ferched 1.Sam.31.
ei hunan, Pwy a dybygę y cwympe hên wr a fai
yn y cyflwr blin yr oedd efe, gwedi colli ei wraig a Iudith.13.
chymmaint ac a fedde, gwedi gweled dial Duw a
ddangosasid mewn modd ofnadwy ar y pump di-
nas am eu bywyd drygionus; i anghofio ei ddy-
lêd cy belled. 2.Macc.16.

Ond fel y dywaid Seneca, mae gwŷr gwedy
eu gorchfygu gan ddiod, yn ynfydion cynwynol.
Lot a dwyllwyd gan ei ferched, ond y mae llawer
yn awr yn eu twyllo eu hunain, eisiau meddwl y
dial Duw trwy gospedigaethau ofnadwy, ar y
rhai sy yn pechu trwy ormodedd. Nid bychan y
pla a ennillodd Lot trwy ei feddwdod. O her- Exod.32.
wydd fe wnaeth weithred gnawdol a'i ferched
ei hun, a hwy a feichiogasant o hynny, fel yr aeth
y peth yn gyhoedd, ac ni ellid ei gelu yn hwy. Fe
a aned dau blentyn ordderch o'r llosgach hynny, 1.Cor.10.
Ammon a Moab, o'r rhai y daeth dwy genhedl,
yr Ammoniaid a'r Moabiaid, y rhai oedd gas gan
Dduw, a gwrthwynebwyr creulon i'w bobl ef
plant yr Israel.

Wele, fe a ennillodd Lot fodd ei hunan wrth
gyfeddach ddiflwch a gofal, a chywilydd a gwarth
tragywyddol hyd ddiwedd y byd. O nid arbedodd Num.
Duw ei was Lot, yr hwn oni buase hynny oedd
wr duwiol, nai i Abraham, ac a dderbyniasai an-
gelion Duw i'w dy: Pa beth a wna ef i'r rhai Luc.16.19.
hynny sydd yn wasanaethwyr i'w boliau fel anifei-
liaid, heb dduwioldeb nac ymddygiad rhinwe-
ddol, yn ymroi nid yn waith, onid dydd a nos yn
gwbl i gyfeddach a gwledda? Ond gwelwn etto
ym-mhellach siamplau ofnadwy o ddigllonedd * Erchyll.
Duw yn erbyn y rhai yn awyddus a ganlynent
ei.

2.Sam.13.29. ei chwantau afradlon. Ammon mab Dafydd
wrth wledda gyd ei frawd Absolon, a laddwyd
Iudith.12.8. yn greulon gan ei frawd Absolon. Holofernes
tywysog dewr galluog, pan orchfygwyd efe gan
win a gafas dorri ei ben oddiar ei yscwyddau gã
ddwylo gwreigan dd wryg, Judith. Simon yr
1.Macc.16.16. Archoffeiriad a Matthathias a Judas ei ddau
feibion, gwedy eu gwahodd gan Ptolomæus
mab Abobus yr hwn a briodase ferch Simon,
yn ôl iddynt fwytta ac yfed yn ddwys, a laddwyd
yn fradychus gan Ptolomæus eu cyfathrachwr
ei hun. Oni buase ymroi o'r Israeliaid i ormod
moethau, ni buasent wedi cwympo mor fynych
Exod.32.6. i ddelw-addoliad; ac nid ymroen ninnau heddyw
yn gymmaint i ofergoel, oni bai faint gennym
am lenwi ein boliau.

Pan oedd yr Israeliaid yn gwasanaethu del-
1.Cor.10.7. wau, hwy a eisteddent i fwytta ac i yfed, ac a gy-
fodent i fynu i chwarau, fely dywed yr Scrythur.
Felly wrth chwennych gwasanaethu eu boliau,
hwy a ymadawsant â gwasanaeth yr Arglwydd
eu Duw. Felly y tynnir ninnau i gyttuno ag
annuwioldeb, pan fo'n calonnau wedi eu gorch-
fygu a meddwdod a gwledda.

Felly Herod, pan oedd wedi rhoi ei feddwl ar
Mat.14.9. wledda, a fu fodlon gantho ar ddeisyfiad merch ei
buttain, ganniatau torri pen saincteidd wr Duw,
Luc.16.19. Joan fedyddiwr. Oni buase fod y glwth cyfoe-
thog mor awyddus i lenwi ei fola, ni buasei mor
an-nhrugarog wrth Lazarus dlawd, ac ni buasei
raid iddo oddef poenau tân anniffoddadwy. Am
ba achos y cospodd Duw Sodom a Gomorrha
* Erchyll. mor * echrydus? Ond am eu balch-wledda a'u
gwastadol segurfyd, y rhai a wnaeth iddynt fod

mor

morddrwg eu bywyd, ac mor an-nrhugarog wrth y tlawd?

Pa beth a dybygwn ni bellach am ormodedd, trwy'r hwn y daeth llawer i ddistryw: Alexander mawr wedi iddo orchfygu yr holl fyd, a orchfygwyd yntef gan feddwdod, yn gymmaint ac y lladdodd ef, ac ef yn feddw, ei gyfaill ffyddlon Clitus, am yr hyn pan aeth ef yn ddifeddw, y cywilyddiodd yn gymmaint ac yr ewyllysiodd iddo ei hun farwolaeth o wir ofid calon. Er hynny ni pheidiodd ef a gwleddá, ond mewn un noswaith fe a lyngcodd cymmaint o win, ac a'i dug ef i *gryd tost, a phan na fynnai mewn modd yn y byd ymattal oddiwrth win, am ben y chydig ddyddiau fe a ddiweddodd ei oes mewn modd gresynol. Dyna orchfygwr yr holl fyd wedi ei wneuthur yn gaethwas trwy ormodedd, ac mor wallgofus ac y lladdai ei gyfaill anwyl, ac a'i plagwyd ef â chriwch, cywilydd a gofid calon am ei anghymmedrolder a'i ormodedd, etto ni ddichon ef ymadel â'i fai, ond mae efe mewn caethiwed, a'r hwn o'r blaen a orchfygodd lawer, sydd wedi myned yn awr yn gaethwas i'r bola brwnt.

* Dderton.

Felly y mae y meddwon a'r rhai glwth heb allu ganthynt arnynt eu hunain, a pha mwyaf a yfont, mwyaf fydd eu syched: mae'r naill gyfeddach yn annog y llall: ac maent yn myfyrio ar lenwi eu cyllau awyddus. Am hynny y dywedir yn gyffredin, Ni bydd meddw byth difyched, ac Byth ni lenwir bola'r glwth.

Gwir yw na ellir digoni a bodloni chwantau a thrachwantau calon dyn, ac am hynny rhaid i ni ddyscu eu ffrwyno hwy ag ofn Duw, fal nad ymroddom i'n chwantau ein hunain, rhag i ni

ennyn-

ennynnu digofaint Duw yn ein herbyn, wrth geisio cyflawni ein trachwantau anifeiliaidd. Mae S. Paul yn ein dyscu ni Pa un bynnag a
1.Cor.10.31. wneloin ai bwytta ai yfed, neu beth bynnag a wnelom, ar i ni wneuthur y cwbl er gogoniant i Dduw. Lle y mae efe yn appwyntio megis wrth ddogn a mesur, pa gymmaint a ddylei ddyn ei fwyta neu ei yfed, hynny yw, cymmaint ac na wneler y meddwl yn ddiog wrth ymlenwi ar fwyd a diod, fel na allo ymdderchafu i ogoneddu ac i foliannu Duw.

Pwy bynnag gan hynny wrth yfed a'i gwnel ei hun yn anescud i wasanaethu Duw, na thybyged y diangc ef yn ddigosp. Chwi a glywsoch mor gas ac mor wrthwyneb gan yr Holl-alluog Dduw gamarfer ei greaduriaid, fel y mae efe ei hun yn dangos, cystal wrth ei sanctaidd air, a siamplau ofnadwy ei gyfiawn farn. Yn awr oni ddichon na gair Duw attal ein chwantau afradlon, a'n trachwantau awyddus ni; na siamplau ofnadwy dialedd Duw, ein hofni ni oddiwrth anllywodraethus ormodedd bwytta ac yfed: etto ystyriwn yr aml enwiediau sydd yn tyfu o hynny, felly y cawn adnabod y pren wrth ei ffrwyth.

Mae fe yn clwyfo'r corph, yn mallu'r meddwl, yn treulio'r golud ac yn blino'r cymydogion.

Ond pwy a ddichon draethu yr aml beryglon a'r enwiedion sydd yn canlyn o ymborthi yn anghymmhedrol? yn fynych y daw angau dysyfyd wrth wledda; weithiau yr ymollwng yr holl aelodau, fel y dygir yr holl gorph i gyflwr blin. Mae'r hwn sydd yn bwytta ac yn yfed yn anfesurol, yn ennynnu yn fynych y fath wres annaturiol yn ei gorph, fel yr annog hynny ei chwant ef i

chwennychu mwy nag a ddylei; neu yn *gor- Gorchfygu.
mesio ei gylla ef, ac yn llenwi ei gorph ef yn llawn
diogi, ac yn ei wneuthur yn anescud ac yn ang-
hym-mhesur i wasanaethu na Duw na dyn, heb
borthi'r corph, ond ei ddrygu; ac yn dwyn llawer
o glefydon afiachus, o'r rhai y tyf weithiau angau
diobaith.

Ond pa raid i mi ddywedyd ychwaneg yn hyn
o beth? O blegid oni fendithia Duw ein bwy-
dydd ni, a rhoi iddynt rym i'n hymborth ni: a he-
fyd oni rydd Duw rym i'n naturiaeth ni i dreulo
ein bwyd, fel y gallom gael lles oddi wrthynt, naill
ai ni a'u bwriwn hwy i fynu, ai ynte hwy a ddrew-
ant, yn ein cyrph ni megis mewn pwll neu fos-
sa ddrewllyd, ac felly y llygrant ac a ddifwynant yr
holl gorph.

Ac yn siccr mae bendith Duw ym-mhell oddi-
wrth y rhai a arferant wledda mor anllywodra-
ethus, fal y mae yn fynych yn eu hwynebau ar-
wyddion eglur o'u hafradlonrwydd hwy: fel y dy-
wed Salomon yn ei Ddiarhebion: I bwy (medd Diarh. 23, 29.
ef) y mae gwae? I bwy y mae ochain? I bwy y
mae cynnen? I bwy y mae badwrdd? I bwy y
mae clwyfau heb achos? ac i bwy y mae llygaid
cochion? sef i'r rhai a drigant yn hir yn y gwin.
Ystyriwch adolwg arwyddion dig Duw: gwae,
ochain, cynnen, a badwrdd, clwyfau heb achos,
wyneb anniwygus, a chochineb llygaid sydd yn
dyfod i'r rhai a'u rhoddant eu hunain i ormodedd
ac i ddiflyngcu, gan ddychymmygu pob modd i
gynnyddu eu chwantau a wyddent, gan dymmhe-
ru'r gwin a'i gymmyscu, fel y gallo fod yn felu-
sach ac yn foethusach iddynt.

Fe fydde dda pe cymmere y fath ddynion moe-
thus;

en yn esmwyth un amser. yr ydys yn ennynnu Ecclus. 31.22.
ynddo y fâth wrês anfeidrol, o'r hwn y canlyn
gwastadol wayw a phoen trwy'r holl gorph.

Ac nid llai hefyd y dygir y meddwl trwy or-
mod gwledda: o herwydd weithiau yr ydys yn
caro dynion ag ynfydrwydd meddwl, ac yn eu
dwyn i wallgofi: mae rhai yn myned mor anifei-
liaidd ac mor ddrymfryd, fel y maent yn hollawl
yn myned yn ddiddeall ac yn ddibwyll. Peth
*echrydus yw i neb ei anafu ei hun mewn un Erchyll.
aelod o'i gorph, ond peth anrhaith ei oddef yw i
ddŷn o'i wirfodd i yrru ei hun allan o'i gôf.

Mae'r Prophwyd Osee yn y bedwaredd ben- Osee. 4.11.
nod yn dywedyd, fod meddwdod a gwin yn dwyn
y galon ymmaith. Och, i neb ymroi i'r hyn a
ddwg ei galon ef o'i feddiant. Gwin a gwragedd,
medd Iesu fâb Syrach, sydd yn gyrru doethineb
ar encil. Je mae efe yn gofyn beth yw einioes yr Eeclus. 19.2.
hwn a orchfyger gan win. Gwenwyn meddwl
yw'r gwin, a yfer llawer o hono, ac fe a chwane-
gu dig a thrangwydd. Mewn llywodraethwyr
y mae yn dwyn creulondeb yn lle cyfiawnder, fel
y cansu y philosophydd call Plato yn ddigon da, Dial 3.4.
pan ddywedodd ef fod mewn dyn meddw galon
greulon, ac am hynny y llywodraetha ef yn y modd
y mynno, yn erbyn rheswm ac iniondeb.

Ac yn fwy mae meddwdod yn gwneuthur i
ddŷn anghofio cyfraith ac iniondeb, a hynny a
wnaeth i frenhin Salomon orchymmyn yn ga-
ledma roddi dim gwin i lywodraeth-wŷr, rhag
iddynt yfed ac anghofi'r gyfraith, a chyfnewidio
barn y rhai gorthrymmedig. Ac am hynny o'r
holl dynion, y mae yfed gormodd o win yn an-
[illegible] mewn llywodraeth-wŷr neu wŷr o
awdur-

ddynion am eu cyrph na'u heneidiau; os cânt o-
lud bydol a chyfoeth ddigon i gyflawni eu chwan-
tau cnawdol, nid gwaeth genthynt beth a wne-
lont. Ni bydd arnynt gywilydd dangos eu hwy-
nebau meddwon, a chwareu 'r ynfydion yn gy-
hoeddus. Maent yn tybied eu bod mewn stât dda,
a bod pob peth yn dda, nes eu gwascu hwy â
phrinder ac â thlodi.

Am hynny rhag ofn i neb o honom, trwy am-
ledd ei gyfoeth, gymmeryd achos i'w wenhieithio
ei hunan yn y gormodedd anifeiliaidd hwn, co-
fiwn yr hyn a scrifenna Salomon, y neb a garo Pro.21.17.
wledda a ddaw i dlodi, a'r neb a garo win ni bydd
cyfoethog. Ac mewn man arall y mae efe yn rhoi
gorchymmyn caled, yn y modd hyn, Na fydd un
o'r rhai sydd yn meddwi ar win, nac un o'r rhai Pro.23.21.
glythion ar gig, canys y meddw a'r glŵth a ddeu-
ant i dlodi. Yr hwn sydd yn gollwng ei etifeddi-
aeth ar hŷd ei gêg, ac yn bwytta ac yn yfed mwy
mewn un awr neu un diwrnod, nag a allo efe ei
ennill mewn wythnos gyfan, ni all na bo ef afra-
dus, ac na ddêl i dlodi.

Ond fe ddywaid rhyw un, pa raid i neb feio ar
hyn? Nid yw efe yn drygu neb, ond ei hun, nid
yw efe elyn i neb ond iddo ei hun. Yn wir mi a
wn mai dymma hyn a ddywedir yn gyffredinol i
amddiffyn y rhai glwth afradlō, anifeiliaidd hyn:
ond mae yn hawdd gweled mor niweidiol ydynt,
nid yn unig iddynt eu hunain, ond, trwy eu siam-
plau drwg, i'r holl wlâd hefyd. Pob un a gyfar-
fyddo â hwynt a ddallodir ag ymadroddion terfys-
cus, ymrysongar: ac maent hwy weithiau yn eu
gwyniau anllywodraethus, megis meirch por-
thiannus yn gweryru ar wragedd eu cymmydo-

gion, fel y dywed Ieremi, ac yn difwyno eu plant a'u merched.

Mae eu siampl hwy yn ddrwg i'r rhai y maent yn aros yn eu mysc, maent yn achos tramgwydd i lawer, a'r hyd y bônt hwy yn treulo eu golud mewn cyfeddach a glodddest, mae diffygion pethau anghenrheidiol ar eu tylwyth hwy, mae eu gwragedd a'u plant yn ddigymmorth, nid oes ganthynt fodd i gynnorthwyo eu cymmydogion tlodion yn eu hangen, megis y galle fod ganthynt, pe byddent fyw yn sobr. Maent yn anfuddiol i'w gwlâd. Oblegid nid yw meddwyn gymmhesur nac i lywodraethu nac i fod tan lywodraeth. Maent hwy yn warth i Eglwys a chynnulleidfa Ghrist, ac am hynny y mae S. Paul yn eu hescommuno hwy ym-mhlith putteinwyr a delwaddolwyr, cybyddion a chribddeilwyr, gan wahardd i Gristionogion gydfwytta gydâ'r cyfryw ddynion.

Am hynny, bobl ddaionus, gwachelwn bawb o honom, bob anghymmedrolder, carwn sobredd a chymmhedrol ymborth, ymroown yn fynych i ddirwest ac ympryd, trwy'r hyn y derchefir meddwl dŷn yn gynt at Dduw, ac yn barottach i bob gweithredoedd duwiol, megis gweddio, gwrando a darllein gair Duw, er ein diddanwch ysprydol. Yn ddiwethaf pwy bynnag a ofalo am iechyd a diogelwch ei gorph ei hun, ac a ddymuno bod yn wastad yn ei iawn gôf, neu a chwennycho lonyddwch meddwl, ac a gasao gynnddaredd ac ynfydrwydd, a fynno bod yn gyfoethog a diangc rhag tlodi, a fo ewyllysgar i fyw heb ddrygu ei gymmydogion, a bod yn aelod buddiol o gorph ei wlâd, ac yn Gristion heb gywilyddio Christ a'i Eglwys:

Eglwys: gwacheled bob anllywodraethus angymmhedrol gyfeddach, dysced y fath fesur ac sydd weddus i un a fo'n proffesso gwir dduwioldeb, canlyned reol S. Paul, ac felly bwyttaed ac yfed i ogoniant a moliant Duw, yr hwn a greodd bob peth i'w mwynhau mewn sobredd a diolchgarwch, i'r hwn y byddo anrhydedd a gogoniant yn dragywydd. Amen.

## ¶ Pregeth yn erbyn dillad rhy-wychion.



Le y darfu eich annog chwi o'r blaen i arfer cymmhedrolder a chymmhesurwydd o fwyd a diod, ac i wachelyd gormodedd, am ei fod lawer modd yn drygu stât y wlâd, ac mor gâs ger bron yr Holl-alluog Dduw, yr hwn yw awdur a rhoddwr y creaduriaid hynny i ddiddanu ac i gryfhau ein naturiaeth wan ni, trwy ddiolch iddo ef, ac nid wrth eu camarfer hwy i annog haelioni Duw i'n cospi ni 'n dôst am y fath anllywodraeth.

Mae yn weddus yr un modd eich rhybyddio chwi am ormodedd hwnt treulfawr arall: am ddillad yr wyf yn meddwl, y rhai y dyddiau hyn sydd gwedi myned mor anfesurol, na ddichon na'r Holl-alluog Dduw trwy ei air atal ein balch dragofal myn hyn o beth, na chyfreithiau Duwiol angenrheidiol ein tywysogion y rhai a adroddir yn fynych tan gospedigaeth, ffrwyno'r anllywodraeth ffiaidd ymma, trwy'r hwn y dirmygir Duw yn amlwg, ac yr anufyddheir cyfreithi-

Pe.igl. a'u tywysogion, i fawr * enbeidrwydd y deyrnas.
Am hynny fel y gweler yn ein mysc ni sobrwydd yn y gormodedd ymma hefyd, mi a ddangosaf i'wch beth yw cymmhedrol arfer dillad yr hwn y mae sanctaidd air Duw yn ei gynnwys; a hefyd beth yw eu camarfer hwy, yr hwn y mae efe yn ei wahardd: fel y mae yn eglur wrth y niweidiau sydd beunydd yn cynnyddu, trwy gyfion farn Duw, lle na chedwer y mesur a osododd ef ei hun.

Os ystyriwn er mwyn pa fwriad a defnydd yr ordeiniodd Duw ei greaduriaid ni a allwn ddeall yn hawdd ei fod ef yn cannattau i ni ddillad, nid yn unig er mwyn angenrhaid, ond hefyd er mwyn gweddeidd-dra cymmesurol. Megis mewn llysiau, coed ac amryw ffrwythau y mae nid yn unig lawer o fwyniant angenrhaid, ond hefyd golwg hyfryd ac aroglau peraidd i'n hodloni ni.

Yn hyny gallwn weled mawr gariad Duw tuag at ddynion am iddo ddarparu pethau i gynhorthwyo ein hangenrheidiau, ac i ddiddanu ein synhwyrau ni â diddanwch honest gweddaidd.
Psal.104.15. Am hynny y mae Dafydd yn y 104. Psalm gan gyfaddef rhagddarparaeth Duw, yn dangos nad ydyw efe yn unig yn darparu pethau angenrheidiol megis llysiau a bwydydd eraill, ond hefyd y cyfryw bethau ac a lawenychant ac a ddiddanant, megis gwin i lawenychu'r galon, ac olew i beri i'r wyneb ddisclaerio. Am hynny y maent hwy gwedy myned yn-mhellach na therfynau dynol y rhai a waharddant gyfraithlon fwynhau doniau Duw ond yn unig mewn angenrheidiau.

Ni chanlynwn ni draddodiadau y rhai hyn, on ni a wrandawn ar S. Paul, yr hwn wrth scri-

fennu

sennu at y Colossiaid, sydd yn erchi iddynt na Col.2.21.
wrandawont ar y rhai a ddywedant, Na chyffwrdd, na phrawf, na theimla, gan eu difuddio hwy yn goel-fuchedol o fwyniant creaduriaid Duw.

Ac nid dim llai y dylem ni wachelyd rhag i ni yn rhith Christianogawl rydd-did, gymmeryd rhydd-did i wneuthur y peth a fynnom, gan ymhoywi mewn dillad rhy werthfawr, a diystyru eraill, a'n parottoi ein hunain mewn gwychder hoyw i ymddygiad nwyfus, drythyll, drygionus ac anniwair. Er mwyn gwachelyd yr hyn beth fe fydde dda i ni ddyscu pedair gwers y rhai a ddyscir yn yr Scrythur lân, wrth y rhai y gallwn ddyscu ein tymmheru ein hunain, ac attal ein hanghymmedrol naws yn y mesur a ordeiniodd Duw.

Y cyntaf yw, Na bytho ein gofal tros y cnawd Rom.13.14.
er mwyn porthi ei chwantau, mewn dillad gwychion, megis y gwnaeth y buttain am yr hon y dywaid Salomon iddi bereiddio ei gwely, a'i drw- Pro.7.16.
sio â thlysau gwerthfawr yr Aipht, er mwyn cyflawni ei chwantau melldigedig: ond ni a ddylem yn hytrach wrth gymmhedrol gymmhesurwydd dorri ymmaith bob achosion trwy y rhai y gallai y cnawd gael yr oruchafiaeth.

Yr ail sy scrifennedig gan S. Paul yn y 7. pennod o'i Epistol cyntaf at y Corinthiaid, lle mae 1.Cor.7.31.
efe yn dyscu i ni arfer y byd hwn megis pe byddem heb ei arfer. Trwy'r hyn y mae efe yn torri ymmaith nid yn unig bob uchelfryd, balchder, a gwag hoywder mewn dillad: ond hefyd pob tragofal ac anghymmedrol naws, yr hwn sydd yn ein tynnu ni oddiwrth fyfyrio ar bethau nefol,

ac ystyried ein dlêd tu ag at Dduw. Ni all y rhai sydd yn ymdrafferthu cymmaint mewn gofal am bethau a berthynant i'r corph, na byddont ond odid esceulus a diofal am bethau a berthyn i'r enaid. Am hynny mae'n Iachawdwr Christ yn
Mat. 6.25, &c. gorchymmyn i ni na ofalom am ein bwyd, pa beth a fwyttaom, nac am ein diod pa beth a yfom, nac am ein cyrph pa beth a wiscom; eithr yn gyntaf ceisio o honom deyrnas Dduw, a'i gyfiawnder ef. Wrth hyn y gallwn ddyscu gwachelyd gwneuthur y pethau hynny yn rhwystr ac yn dramgwydd i ni, y rhai a ordeiniodd Duw yn ddiddanwch i ni, ac er ein cynnorthwyo tu â theyrnas nef. Y drydedd yw, ar i ni fod yn fodlon i'n stât a'n galwedigaeth, ac ymfodloni yn yr hyn a ddanfono Duw i ni, pa un bynnag fytho ai ychydig ai llawer. Yr hwn ni bo bodlon i drwsiad gwael yscafnbris, fe fydde falch o ddillad gwychion pe galle eu cael. Am hynny mae'n rhaid i ni ddyscu gan yr
Phil. 4.12. Apostol S. Paul, yn gystal fwynhau helaethrwydd, a goddef prinder, gan gofio y gorfydd arnom roddi cyfrif am y pethau a dderbyniasom, a hynny i'r hwn sydd ffiaidd gantho bob gormodedd, balchder, ymffrost ac ofer wagedd, yr hwn hefyd sydd yn casau yn hollawl ac yn anfodlon i bob peth ac sydd yn ein tynnu ni oddiwrth ein dlêd tu ag at Dduw, neu yn prinhau ein cariad ni tu ag at ein cymydogion, a'n plant, y rhai a ddylem ni eu caru fel ein hunain.

Y bedwaredd wers a'r ddiwethaf yw bod i bob dyn edrych ac ystyried ar ei alwedigaeth ei hun, yn gymmaint a darfod i Dduw appwyntio i bob dŷn ei radd a'i swydd, yr hon y dyleuai ei gadw ei hun o fewn ei therfynau. Am hynny ni

ddylei

ddylei bob dyn edrych am gael gwisco'r un fath drwsiad, ond pob un yn ôl ei radd, yn y modd y gosododd Duw ef. Yr hyn dresn pe cedwid hi yr amser ymma, diammau y gwneid i lawer wisco dillad llwydion, o'r rhai sy yn ymhoywi mewn sidan a melfed, gan dreulio mwy yn y flwyddyn mewn dillad gwychion, nag yr oedd eu tadau yn ei dderbyn am holl ffrwyth eu tiroedd.

Ond heddyw, ôch pa sawl un a allwn ni ei weled yn ymroi yn gwbl i hoffder y cnawd: heb ofalu un gronyn, ond yn unig ymwychu, gan osod eu holl awydd yn gwbl ar wychder a hoywder bydol, a chamarfer daioni Duw sydd yn danfon iddynt helaethrwydd, i gyflawni eu drythyll wyniau a'u chwantau, heb ystyried ym-mha radd y gosododd Duw hwynt. Yr oedd yr Israeliaid yn fodlō i'r dillad a roddase Dduw iddynt, er nad oeddynt ond gwael a diystr: ac am hynny Duw a'u bendithiodd hwyntau yn gymmaint, fel y parhaodd eu hescidiau hwy a'u dillad heb dreulio ddeugain mhlynedd, ie ac yr ydoedd y plant yn foddlon i wisco'r un dillad ac a wiscasai eu tadau o'r blaen. Ond nid ydym ni byth bodlon, ac am hynny nid oes dim yn tyccio gennym, yn gymmaint, ond odid, a bod yr hwn sydd yn ymhoywi yn ei Sabl a'i wn ffwrr hardd, ei escidiau corc, ei soccysau gwychion, ei ddyrnfolau clydion, yn barottach i fferru gan anwyd, na'r llafurwr tlawd yr hwn a all aros yn y maes trwy'r hirddydd, a'r gogleddwynt yn chwythu, ac ychydig ddillad candryll carpiog yn ei gylch.

Deut. 29. 5.

Duw a ran yr anwyd fel y rhan y dillad.

Mae n' anhawdd gennym ni wisco y pethau a adawodd ein tadau i ni, nid ydym ni yn tybied mai difai y rhai hynny i ni. Rhaid i ni gael un

gŵn y dydd ac vn arall y nôs, vn llaes ac vn cwtta,
vn y gayaf ac vn arall yr hâf, vn a dwbl ar wyddo
ac vn arall wedi wynebu ei ymmylau yn vnig, vn
ddydd gwaith ac vn arall ddydd gŵyl, vn o'r naill
liw ac vn arall o liw arall, vn o frethyn ac vn a-
rall o ſidan neu ddamaſc. Rhaid ini gael amryw
wiſcoedd, vn cyn cinniaw, ac vn arall gwedi cinni-
aw, vn ar ddull ac arfer Hiſpaen ac vn arall o ar-
fer Twrci: ac ar ychydig eiriau, ni byddwn ni
byth bodlon i'r hyn ſydd ddigon.

Mae ein Iachawdwr Chriſt yn erchi i'w ddiſ-
cyblon na feddiannent ddwy bais, ond mae y
rhan fwyaf o ddynion yn annhebyg iawn i'w
ddiſcyblon ef, a'u cwppyrddau mor llawn o ddi-
llad, ac na wyddant pa ſawl gwiſc y ſydd gan-
thynt. Yr hyn a barodd i S. Iaco gyhoeddi'r fell-
dith erchyll hon yn erbyn goludogion bydol: Iddo
Iac.5.1,2,3. yn awr chwi gyfoethogion, wylwch ac vdwch
am eich trueni a ddel arnoch: eich golud a by-
drodd, a'ch gwiſcoedd, bwyd pryfed ydynt. Moe-
thus fuoch ar y ddayar a thrythyll: maethrin eich
calon a wnaethoch megis yn-nŷdd lladdedigaeth.

Yſtyriwch adolwg, mae S. Iaco yn eu galw
hwy yn druain er eu holl gyfoeth ac amledd eu
dillad, gan eu bod yn braſau eu cyrph i'w diſtryw
eu hunain. Beth a fu y glwth goludog gwell
er ei fwyd dainteithiol moethus, a'i ddillad
Luc.16.19. gwerthfawr? Oni phorthodd ef ei hun i gael ei
boeni yn-nhân vffern? Dyſcwn ninnau ymfo-
1.Tim.6.8. dloni os bydd gennym ymborth a dillad, fel y mae
S. Paul yn dyſcu, rhag wrth chwennychu ym-
gyfoethogi i ni ſyrthio i brofedigaeth ac i faglau
diafol, ac i lawer o drachwantau angall enwiwei-
diol y rhai ſydd yn boddi dynion i golledigaeth a
diſtryw. Yn

Yn wir mae y rhai a ymhoffant mewn dillad gwychion wedi ymchwyddo a balchder, ac yn llawn o amryw wagedd ac oferedd. Felly yr oedd merched Sion a phobl Jerusalem, y rhai y mae 'r prophwyd Esai yn eu bygwth am eu bod yn rhodio â gyddfau estynnedig, ac yn amneidio â'u llygaid, ac yn rhygyngu wrth gerdded, ac yn trystio â'u traed, y clafriai 'r Holl-alluog Dduw goronau pennau merched Sion, ac y dynoethai ef eu gwarthau hwynt. Y dydd hwnnw, medd ef, y tynn yr Arglwydd ymmaith addurn eich esgidiau, y rhwyd-waith hefyd a'r lloerawg wiscoedd, y perarogl, a'r breichledau, a'r moledau, y penguwch, a'r llodrau, a'r snodennau, a'r dwyfronnegau, a'r clust-dlysau, y modrwyau ac addurn-wisc y trwyn, y gwiscoedd symmudliw, a'u hefysau, y misyrnau hefyd a'r pyrsau, y drychau hefyd a'r lliain meinwych, y cocyllau hefyd a'r gynau. Fel na oddefai yr Holl-alluog Dduw gamarfer ei ddoniau mewn ofer-wagedd a thrythyllwch, na oddefai gan y bobl yr oedd ef yn ei garu yn fwyaf, ac a ddarfuasei iddo eu dewis iddo ei hun o flaen pawb eraill. Esai 3.

Ac yn wir nid llai yr ofer-wagedd a arferir yn ein mysc ni y dyddiau hyn. O blegid yr ydys yn maentaeno ac yn cynnal calonnau bechelfryd beilchion merched Prydain, â chynniser dull anweddaidd o ddiwsiadau gwychion gwerthfawr, fel nad oes, megis y dywede yr hên Athro Tertulian, wahaniaeth mewn dillad rhwng modryb honest a phuttain gyffredin. Je mae llawer gwr gwedi gwraigeiddio cyn belled, na waeth genthynt beth a dreuliont i'w hanffurfio eu hunain, gan chwennychu gwagedd newydd, a dychymmyg beunydd bob mâth ar ddull newydd. Am hynny

pan

pan oedd rhyw wr yn amcanu gwneuthur llunniau gwyr pob gwlâd yn eu dillad arferedig, gwedi iddo baentio cenhedloedd eraill, fe a wnaeth lun vn o'r deyrnas hon yn noeth, ac a roddes iddo frethyn tan ei gesail, ac a archodd iddo wneuthur o hono y dull o fynne ei hunan ar ddillad: o blegid yr oedd ef yn newid ei ddull ar ddillad mor fynych, ac na wyddai ef pa fodd y gwnai iddo ddillad. Fel hyn yr ydym ni a'n dychymmygion wrth ein phansi yn ein gwneuthur ein hunain yn watwargerdd i bobl eraill. Yr hyd y bytho vn yn treulio ei drefftadaeth ar gerfiadau a thorriadau, vn arall yn rhoi mwy am grŷs i ddawnsio ynddo, nag a wasanaethai iddo i brynu dillad gweddaidd, syber i'w holl gorph. Mae rhai yn rhoddi eu holl olud am eu gyddfau mewn rwffiau. Mae eraill yn anturio'r cymmal gorau i'w maentaenio eu hunain mewn dillad gwychion. A phob dyn heb ystyried ei stât a'i radd ei hun yn ceisio rhagori ar arall mewn dillad gwychion.

O hynny y mae yn digwydd ein bod ni, mewn amledd a helaethrwydd o bob peth, yn cwyno gan wall a phrinder ac eisiau, yr hyd y bytho vn yn treulio'r hyn a allai wasanaethu i lawer, ac nad oes neb yn cyfrannu o'r helaethrwydd a dderbyniodd, ond pawb yn treulio yn anfesurol yr hyn a ddyleuai wasanaethu i gyflawni anghenion eraill.

Fe a ddarparwyd llawer o gyfreithiau iachus daionus yn erbyn y fath gamarferon, y rhai pe bai bob deiliad cywir yn eu cadw megis y dylent, a allent wasanaethu i leihau peth ar yr ynfyd a'r anllywodraethus ormodedd ymma mewn dillad. Ond ôch ôch nid oes yn ymddangos yn ein plith

ni

ni ond rhy fychan o ofn ac ufydd-dod nac i Dduw nac i ddyn.

Am hynny ni allwn na ddisgwiliom am ofnadwy ddial Duw o'r nef, i ddymchwelyd ein rhyfyg ni a'n balchder, megis y cwympodd ef Herod, yr hwn ac yntef yn ei drwsiad brenhinol, am iddo anghofio Duw, a darawyd gan Angel o'r nef, ac a yssŵyd gan bryfed. Trwy'r siampl erchyll honno y dangasodd Duw i ni nad ydym ond bwyd pryfed er maint yr ymhoffom ac yr ymddigrifom yn ein trwsiadau gwychion. Ymma y gallwn ddyscu hyn y mae Jesu fâb Sirach yn ei ddangos, nad ymfalchiom o blegid ein gwiscoedd dillad, ac nad ymdderchafom mewn amser anrhydedd, o blegid rhyfedd yw gweithredoedd yr Arglwydd, a gogoneddus, a dirgel, a chuddiedig oddiwrth ddynion; gan ein dyscu ni mewn gostyngeiddrwydd meddwl i gofio ein galwedigaeth yr hon y galwodd Duw ni iddi. Act. 12. 23. Ecclus. 11. 4.

Am hynny ymegnied pob Christion i ddiffodd gofalu am fedloni'r cnawd: arferwn felly ddoniau Duw yn y bŷd hwn, fal na byddom rhy ofalus i ddarbod am y corph. Ymfodlonwn yn llonydd i'r hyn a ddanfonodd Duw er lleied fytho. Ac os rhynga bodd iddo ef ddanfon helaethrwydd, na falchiwn ynddo, ond arferwn ei ddoniau ef mewn cymmedroldeb, cystal er diddanwch i ni ein hunain ac er cymmorth i'r rhai sy mewn angen. Yr hwn mewn amledd a helaethrwydd a guddio ei wyneb oddiwrth y noeth, y mae efe yn dirstyru ei gnawd ei hun, medd y prophwyd Esai. Esai 58. 7.

Dyscwn ein hadnabod ein hunain, ac nid dirstyru eraill. Cofiwn ein bod ni igŷd yn sefyll gerbron mawrhydi yr holl-alluog Dduw, yr hwn a'n

barna:

barna ni wrth ei sanctaidd air, yn yr hwn y mae efe yn gwahardd pob gormodedd, nid yn unig i wyr, ond i wragedd hefyd. Megis na ddichon neb ei *escusodi ei hunan o ba radd neu gyflwr bynnag y bytho. *Ymgyflwynwn gan hynny ger bron ei orsedd-faingc ef, fel y'n hannog Tertulian, yn y gwychder a'r addurn y mae'r Apostol yn sôn am dano yn y chweched bennod at yr Ephesiaid, gwedi gwregysu ein llwynau â gwirionedd, a gwisco dwyfronneg cyfiawnder, a gwisco am ein traed escidiau parotoad efengyl tangneddyf. Cymmerwn attom ddysymldra, diweirdeb, gweddeidd-dra, gan ostwng ein gyddfau dan iau esmwyth Christ. Bydded gwragedd darostyngedig i'w gwŷr, ac dyna hwy gwedi ymddilladu yn wychion ddigon, medd Tertulian.

Escuso.

Ymddangoswn.

Ephes.6.14.

Matt.11.30.

Pan ofynnwyd i wraig Philo Philosophydd Paganaidd, pa ham nad oedd hi yn gwisco aur, hi a attebodd ei bod hi yn tybied fod rhinweddau ei gwr yn ddigon o wychder iddi hi. Pa faint mwy y dylai wragedd Christianogaidd a gyfarwyddir gan air Duw ymfodloni yn ei gwŷr? Je pa faint mwy y dylei bob Christion ymfodloni yn ein Iachawdwr Christ, gan dybied ei fod gwedi ei harddu yn ddigonol â'i rinweddau nefol ef?

Ond ymma yr atteb rhyw wragedd ofer gorwag, eu bod hwy yn paentio eu hwynebau, yn lliwio eu gwallt, yn enneinio eu cyrph, ac yn eu trwsiadu eu hunain â dillad gwychion, er bodloni eu gwŷr, er eu gwneuthur eu hunain yn hôffyn eu golwg hwy, a chynnal eu cariad hwy tu ag attynt. Oh escus gwâg, ac atteb cywilyddus. er gwarth i'ch gwŷr? Pa beth a ellid ti ei ddywedyd fwy i ddangos ffolineb dy wr yn gwpplach, na haeru

haeru arno ei fod yn ymfoddloni ac yn ymhoffi ynnhrwsiad diawl? Pwy a ddichon baentio ei hwyneb, a chrychu ei gwallt, a newid ei liw naturiol ef, heb iddi wrth hynny feio ar waith ei gwneuthurwr a'i gwnaeth hi? Megis pe gallai hi ei gwneuthur ei hun yn weddeiddiach nag yr appwyntiodd Duw fesur ei thegwch hi.

Pa beth y mae'r gwragedd hyn yn ei wneuthur ond ceisio gwellau gwaith Duw? heb ystyried mai gwaith Duw yw pob peth naturiol, ac mai gwaith diafol yw pob peth annaturiol rhithiedig. Megis pe bai wr Christianogaidd call yn hoff ganddo weled ei wraig gwedi ymliwio ac ymhoywi yn y dull a arfer puteiniaid fynychaf i hudo eu cariadon i ddrygioni, megis pe gallai wraig honest chwennychu bôd yn debyg i buttain er mwyn boddloni ei gŵr. Nagê, nagê, nid ydyw y rai hyn ond escusodion gwâg, a wna y rhai sy yn chwennychu bodloni eraill yn fwy nâ'i gwŷr. Ac nid yw'r fath wychder ond peth i'w hannog i fyned i'w dangos ei hunan er hudo eraill.

Gwych iawn. Rhaid iddi ymrysson â'i gŵr i'w chynnal hi yn y fâth drwsiad ac a'i gwnelo hi yn waeth hwswi, a bod yn anfynychach gartref i edrych ar ei hwswiaeth, ac felly esceuluso elw ei gŵr, gan annog ei thylwyth yn fawr i oferdraul a drythyllwch, yr hŷd y bô hi yn gwibio allan i ddangos ei gwagedd ei hunan a ffolineb ei gŵr.

Trwy y balchder ymma y mae hi yn cyffroi eraill yn fawr i genfigennu, y rhai sy mor orwag eu meddwl a hithau. Nid ydyw hi yn haeddu ond senn a gwatwar wrth osod allan ei holl glôd mewn trwsiad paganaidd Iddewaidd, ac er hynny ymffrostio o'i ffydd a'i bedydd. Nid ydyw hi

ond

ond treulio yn afradlon eiddo ei gwr wrth y fath wychder, ac weithiau mae hynny yn achosion o gam-wobrau, cribddail a thwyll ym-marchnadon ei gwr hi, fel y geller ei gosod hi allan yn wychach yngolwg y byd gorwag, i fodloni golwg y cythraul, ac nid golwg Duw, yr hwn sydd yn rhoddi i bob creadur harddwch gweddaidd cymmhedrol, yn yr hyn y dylem ymfodloni pe o Dduw y bydde.

Pa beth yr wyt ti yn ei wneuthur wrth hynny ond annog eraill i'th demptio, i hudo dy enaid di drwy hudoliaeth dy falchder di a'th rysyg? Pa beth yr ydwyt ti yn ei wneuthur wrth hynny ond gosod allan dy falchder, ac o drwsiad anweddaidd dy gorph gwneuthur rhwyd i ddiafol i faglu llygaid y rhai a edrychant arnat? O dydi wraig, nid Christianoges, ond gwaeth nag Iddewes, a gweinidoges diafol? Pa ham yr wyt ti yn rhodresu yn gymmaint yn dy gelain gnawd, yr hwn ryw amser a ddrewa ac a bydra yn y ddayar y cerddi di arni? Pa fodd bynnag yr ydwyt ti yn dy arogl-bereiddio dy hunan, etto ni all na'th berarogl-au na'th darthau di na chuddio na gorchfygu dy anifeiliaidd-dra di, y rhai sy yn hytrach yn dy anffurfio ac yn dy * anniwygu di yn fwy nag y maent yn dy harddu.

Anniwʒadu.

Pa beth oedd feddwl Salomon pan ddywedodd ef am wragedd gorwag a ymddrwsient ac a ymwychent fel hyn, fod gwraig deg heb arferon da, yn debyg i fodrwy aur yn-nhrwyn hwch: ond pa mwyaf yr ymwychech di â'r gwychder ymma oddi allan, lleiaf y gofeli di am harddu dy feddwl oddifewn, ac felly nad wyt ti ond dy ddifwyno a'th anurddo dy hun â'r cyfryw drwsiad, ac nid dy harddu a'th addurno dy hun?

Gwran-

Gwrando, gwrando beth y mae sanctaidd Apostolion Christ yn ei scrifennu. Na fydded trwsiadau gwragedd oddiallan, medd S. Petr, megis o blethiadau gwallt ac amgylch osodiad aur neu wisco dillad gwychion, eithr bydded ddirgel ddŷn y galon mewn anllygredigaeth, yspryd addfwyn a llonydd, yr hyn sydd gymmeradwy ger bron Duw: canys felly gynt yr ymdrwsiai y gwragedd sanctaidd, y rhai oeddynt yn gobeithio ar Dduw, yn ddarostyngedig i'w gwŷr priod. Ac mae S. Paul yn dywedyd y dylei wragedd eu dilladu eu hunain yn weddus gyd â lledneisrwydd a chymmhedrolrwydd, nid â gwallt plethedig, neu aur neu emmau neu wisc werth-fawr, eithr megis y gweddai i wragedd fynegi duwioldeb trwy weithredoedd da. 1.Pet.3.3. 1.Tim.2.9.

Oni chedwch orchymmynion yr Apostolion, etto gwrandewch beth addywed y Paganiaid y rhai nid adwaenent Grist, yn y peth hyn. Democrates sydd yn dywedyd fod harddwch gwraig yn sefyll mewn ychydig eiriau ac ychydig ddillad. Ac am y fath drwsiad, fel hyn y dywed Sophocles, Nid harddwch yw hyn, oh ynfyd, ond cywilydd, ac argoel eglur o'th ffolineb di. Socrates sydd yn dywedyd mai harddwch gwraig yw'r hyn a ddangoso ei bod hi yn honest. A diarheb yw hon ym-mysc y Groegwyr, nid aur a thlysau sydd yn gwneuthur gwraig yn dêg, ond ei chynneddfau da. Ac mae Aristotl yn gorchymmyn i wraig arfer llai o ddillad, nag y mae'r gyfraith yn ei oddef; o herwydd nid gwychder dillad, na godidawgrwydd pryd, nac amlder aur sydd yn gwneuthur ei wraig fod mewn cymmeriad, ond lledneisrwydd a gofal am fyw'n honest ym-mhob peth.

Mae

Mae'r gorwagedd anllywodraethus ymma gwedi tyfu cymmaint nad oes dim cywilydd o hono.

Yr ydym ni yn darllein mewn historiau, pan ddanfonodd brenhin Dionysius wiscoedd gwychion i wragedd Lacedæmonia, hwy a attebasant ac a ddywedasant y gwnai'r dillad hynny iddynt hwy mwy o gywilydd nag o anrhydedd, ac am hynny hwy a'u gwrthodasant.

Câs oedd gan wragedd Rhufain yn yr hên amser y trwsiadau gwychion a ddanfonodd brenhin Pyrrhus iddynt, ac nid oedd neb mor chwannog ac mor orwag ac y derbyne hwy. Ac fe wnaeth y Seneddr gyfraith gyhoedd, yr hon a barhaodd tros hir o amser, Na byddai i wraig wisco uwchlaw hanner owns o aur, na dillad amliwiog.

Symmudliw.

Ond fe alle yr attebai rhyw fursen * wammal

Glersennaidd

fi, a dywedyd mai rhaid iddynt hwy wneuthur rhyw beth i ddangos ei bonedd a'u gwaedoliaeth, ac i ddangos cyfoeth ei gwŷr: megis pe na bai un modd i ddangos bonedd ond yn y pethau hynny a arfer y rhai * coegaf yn gystal a'r rhai goreu: megis pe na ellid gwario cyfoeth eu gwyr hwy yn well nag ar y cyfryw oferwagedd: megis pe na buasid ti wrth dy fedyddio wedi ymwrthod a balchedd a gorwagedd y byd a choeg rodres y cnawd.

Dihiraf.

Nid ydwyf yn dywedyd yn erbyn dillad cymmhedrol, gweddus i bob gradd, ond yn erbyn gormodedd, yn erbyn gwâg hoffi ac awyddu'r fath goeg-oferedd, a dychymmygu dull newydd beunydd i borthi balchedd, treulio ar dy gelain gorph cymmaint ac a baro i ti ac i'ch ŵr ysbailio y tlawd i faenteinio dy rysyg di.

Gwrandewch pa fodd y mae y bendefiges sanc-

caidd

taidd Hester, yn gosod allan yr addurnau gwychi-
on hyn (fel yr ydys yn eu galw hwy) pan orfu ar-
ni er mwyn gwared pobl Dduw wisco 'r fath
drwsiad hoyw, gan wybod mai dyna 'r hudoliaeth
gymmhwysaf i ddallu llygaid ffyliaid cnawdol.
Fal hyn y gweddiodd hi, Ti a wyddost o Arglw- Hester. 14.
ydd yr angen yr ydwyf ynddo i wisco 'r trwsiad
hwn, a bod yn ffiaidd gennyf arwydd balchedd,
yr hwn sydd ar fy-mhen y dydd yr ymddangoswyf:
mae mor ffiaidd gennif ef a chadach misglwyf, ac
nid ydwyf yn ei wisco ef ar y dyddiau y caffwyf
lonydd.

Trachefn, pa fodd y twyllwyd Holophernes
ond trwy ddisclair lewych dillad, y rhai a wiscodd
y wraig sanctaidd Judith, nid am ei bod hi yn ym-
hoffi ynddynt, nac yn ceisio coeg-ddigrifwch oddi-
wrthynt, ond hi a'u gwiscodd hwy o wir angen-
rhaid trwy genhadiad Duw, gan arfer y gorwa-
gedd hyn i orchfygu ofer olygon gelynion Duw.
Y fath chwant oedd yn y gwragedd bonheddigion
hynny, er eu bod yn anewyllyscarom bai hynny
i wisco 'r fath ddillad gwychion er peri i eraill eu
hanghofio eu hunain.

Fe ganmolir y rhai hyn yn yr Scrythyrau am
gashau 'r fath orwagedd, er gorfod arnynt o wir
anghenrhaid yn erbyn ewyllys eu calonnau, eu
gwisco hwy tros amser. A haedda 'r gwragedd
hyn glod, y rhai ni chyffelybir i'r gwragedd hyn-
ny nac mewn bonedd nac mewn zel tuag Dduw
a'i bobl, y rhai y mae eu gorhoffedd a'i holl fe-
ddwl ar ymwychu ac ymhoywi yn y fath gyfne-
widiau a'r dillad, heb fod byth yn ddigonol, na
gofalu pwy a gyfynger ac a orthrymmer am eu di-
llad hwy, os gallant hwy eu cael hwynt? Ond

ofer a gorwag yw'r gwŷr sydd yn ddarostyngedig ac yn gaethion i ewyllys eu gwragedd yn y fath chwantau anllywodraethus?

Ond gorwag y gwragedd sydd yn tynnu arnynt eu hunain y fâth eniweid ac a baro iddynt ddyfod yn gynt i drueni ac aflwydd yn y byd, ac yn y cyf-amser cael eu ffieiddio gan Dduw, a'u casau a'u gwatwar gan ddynion call, ac yn y diwedd yn de-byg i gael eu cyssylltu gyd â'r rhai a edifarhânt yn rhy hwyr, ac a gwynant yn uffern ar osteg yn y geiriau hyn: Pa lês a wnaeth ein balchedd i ni? Pa elw a gawsom oddiwrth goeg-rodres cyfoeth? Fe aeth yr holl bethau hyn heibio fel cyscod: ond am rinwedd dda, erioed ni ddangosasom arwydd o honi: fel hyn yr ydys yn ein difa ni yn ein han-wiredd.

Os dywedi fod yn rhaid i ti ddilyn yr arfer, a bod arferon y byd yn dy gymmell i'r fath orwa-gedd; yna y gofynnaf i ti, arfer pwy a ddyleid ei ganlyn? ai arfer y rhai doethion, ai arfer y rhai ansynwyrol? os dywedi mai arferon y doeth, yna y dywedaf wrthit, canlyn dithau hwynt: o blegid pwy a ganlyne arfer ffyliaid, ond ffyliaid? Ystyria mai cyfundeb y doethion a ddyleid ei gyfrif yn lle arfer. Ac os arferir yn arfer annuwiol, bydd di'y cyntaf a dorro'r arfer honno: gwna dy orau ar ei lleihau a'i bwrw i lawr: a thi a ennilli fwy o glod ger bron Duw, a mwy o ganmoliaeth am hynny, nag am dy holl orwagedd a'th ormodedd.

Fal hyn y clywsoch ddangos i chwi allan o air Duw, pa beth y mae Duw yn ei ofyn yn ei air ynghylch cymmhedrol arfer ei greaduriaid. Dys-cwn eu harfer hwy yn gymmhedrol fel yr ordeini-odd Duw. Fe a ddyscodd Duw i ni i ba achos a

defnydd

defnydd y dylyem arfer dillad. Dyscwn ninnau ymddwyn yn ei harfer hwy, fel y gwedde i Gristionogion, gan fod byth yn ddiolchgar i'n Tâd nefol am ei fawr â'i drugarog ddoniau, yr hwn sydd yn rhoddi i ni ein bara beunyddiol, hynny yw, pob peth anghenrheidiol i'r bywyd anghenus hwn, i'r hwn y bydd rhaid i ni roddi cyfrif am ei holl ddoniau, yngogoneddus ymddangosiad ein Jachawdwr Christ, i'r hwn gyd â'r Tâd a'r Yspryd glân, y bô anrhydedd, moliant a gogoniant yn oes oesoedd. Amen.

## ¶ Pregeth neu Homili yng-hylch gweddi.



Id oes dim yn holl oes dŷn (fyngharedigion yn ein Jachawdwr Christ) mor anghenrhaid son am dano ac annog iddo beunydd, ac yw gweddi galonnog wressog ddwysol: yr hon sydd mor anghenrhaid wrthi, fal na ellir hebddi gael dim ar law Dduw, O herwydd fal y dywaid S. Jaco yr Apostol. Pob dawn daionus a phob rhodd berphaith oddi uchod y mae yn discyn oddiwrth dâd y goleuni, yr hwn a ddywedir ei fod yn gyfoethog ac yn hael tu ag at bawb a alwant arno: nid am na ddichon ef, neu am na fyn ef roi heb ei ofyn, ond am iddo osod gweddi yn gyfrwng arferol rhyngtho ef a ninnau.

Nid oes ammau nad yw ef yn gwybod yn wastad ein anghenrhaidiau ni, ac yn barod yn wastadol i roddi ini amledd o'r pethau sydd arnom eu heisiau. Etto er mwyn ini wybod mai fe yw rhoddwr

ddwr pob peth daionus, ac ymoddwyn yn ddiolchus tu ag atto am hynny, gan ei garu ef a'i ofni a'i addoli'n bur ac yn gywir, fal y dysgem: fe ordeiniodd yn fuddiol ac yn gall, fod ini yn amser ein anghenau ymostwng yn ei wydd ef, * arllwys dirgelion ein calonnau o'i flaen ef, a cheisio nerth ar ei law ef, â gweddi barhaus dwysol ddifrif.

Tywallt.

Psal. 50. Y mae ef yn dywedyd fal hyn trwy enau ei brophwyd sanctaidd duwiol Dafydd, Galw arnaf yn amser blinder, a mi a'th waredaf di. Mae fe 'n dywedyd hefyd yn yr Efengyl trwy enau ei anwyl fâb Christ, Gofynnwch a rhoddir i chwi, ceisiwch a chwi a gewch, curwch ac fe a agorir i

Math.7.7. chwi: cans pwy bynnac a ofynno a dderbyn, y neb a gais a gaiff, ac i'r hwn a guro yr agorir. Ac mae

1.Tim. 1.2,31. S. Pawl gan gytuno â hyn, yn erchi ini weddio ym-mhob mann a pharhau yn hyn, gan roddi diolch.

Iac.1.5. Ac nid ydyw'r Apostol bendigedig S. Iaco yn anghytuno â hynny, ond gan annog pawb yn ddifrif i weddi ddiwyd y mae fe'n dywedyd, Os bydd ar neb eisiau doethineb ceisied gan Dduw, yr hwn

Edliw. sydd yn rhoddi yn hael i bawb, heb * ddannod i

Iac.5.14,15. neb. Ac hefyd mewn lle arall, Gweddiwch, medd ef, bob un dros ei gilydd, fal y'ch iachaer, canys llawer a ddichon gweddi y cyfion os bydd hi ffrwythlon. Pa beth anigen a ddyscir i ni wrth y lleoedd hyn a'r fath leoedd, onid hyn yn unig, y myn yr Holl-alluog Dduw er ei ragwelediad a'i ddoethineb nefol, ini weddio arno: y myn ef ein bod ni mor ewyllysgar o'n rhan ni i geisio, ac yw yntef o'i ran ef i roddi. Ffol ac ynfyd am hynny yw rheswm a meddwl y dynnion hynny y rhai a feddyliant fod pob gweddi yn ofer, ac yn ddiffrwyth:

yth: am fod Duw yn chwilio 'r galon a'r arennau, ac yn gwybod meddwl yr yspryd cyn gofynnom.

O herwydd pe byddai y rheswm cnawdol hyn yn ddigon i ddiddymmu gweddi, pa ham y gwaeddodd ein Iachawdwr Christ mor fynych ar ei ddiscyblion, gan ddywedyd, Gwiliwch a gweddiwch? Pa ham y gosododd ef iddynt ffurf gweddi, gan ddywedyd? Pan weddioch chwi gweddiwch fal hyn, Ein Tâd yr hwn wyd yn y nefoedd, &c. Pa ham y gweddiodd ef ei hun mor fynych ac mor ddifrif o flaen ei ddioddeifaint? Yn ddiwethaf, pa ham yr ymgynnullodd y dyscyblon i'r un lle yn y man yn ol escynniad Christ, ac y parhausont hwy yno mewn gweddi dros hir amser. Naill ai mae 'n rhaid iddynt gondemnio Christ a'i Apostolion o ynfydrwydd annial, ai mae 'n rhaid iddynt ganiatau fod gweddi yn beth anghenrheidiol i bob dyn, bob amser ac ymmhob lle. Math.26.41. Luc.11.2. Act.1.14.

Siccr yw nid oes dim yn yr holl fyd mor fuddiol ac mor anghenrhaid i ddyn a gweddi. Gweddiwch yn wastad, medd S. Paul, a phob rhyw weddi, a gwiliwch yn hynny a phob ddiwydrwydd. Ac mewn man arall mae 'n erchi ini weddio 'n wastad heb orphwys, gan feddwl wrth hynny na ddylyem ni na llaesu na dyffygio mewn gweddi, ond parhau ynddi hyd diwedd ein hoes. Fe allid adrodd ymma lawer o leoedd i'r un defnydd fy meddwl i yw manegi anghenrhaid ac arfer gweddi. Coloss.4.2. Ephes.6.18.

Ond pa raid aml brawf ar beth golau? lle nad oes neb mor anwybodus na wyr ef, neb mor ddall na wel ef, fod gweddi yn beth anghenrhaid ym-

mhob ſtât a phob gradd o ddynion. O herwydd mai trwy ei nerth hi yn vnic yr ydym yn cael mwynhau y tryſorau nefol tragwyddol y rhai a gadwodd y Tâd nefol ac a oſododd ef i fynu i'w blant yn ei anwyl a'i garedig fab Iesu Grist gwe-
Ioan.16.23. dy cadarnhau a ſeilio'r ammod a'r addewid hon inni, os ni a ofynnwn y derbyniwn ni.

Yn awr a ni yn gwybod mawr anghenrhaid gweddi, er mwyn annog a chyffro'n meddyliau ni a'n calonnau yn fwy etto, yſtyriwn ar ychydig airiau pa rym a nerth rhyfedd ſydd ynddi i ddwyn i ben bethau mawr rhyfedd. Yr ydym ni yn dar-
Exod.7 11. llen yn llyfr Exod. i Iosua wrth ymladd yn erbyn yr Amaleciaid eu gorchfygu a'u gorthrechu hwy, nid cymmaint trwy rinwedd ei rym ei hun, a thrwy weddi barhaus ddiſtrif Moeſes: yr hwn yr hyd y daliai ef ddwylo i fynu tuag at Dduw ſe fyddai Iſrael yn goreſcyn, ond pan ydoedd ef yn deffygio ac yn goddef ei ddwylaw i gwympo, ſe fyddai Amalec a'i bobl yn goreſcyn, nes gorfod ar Aaron a Hur y rhai oeddynt gydag ef yn y mynydd, gynnal ei ddwylaw ef i fynu, nes myned yr haul i lawr, oni buaſai hynny fe orfuaſid ac a orchfygaſid pobl Dduw y dydd hwnnw'n hollol. Yr ydym ni mewn man arall yn darllen hefyd am Iosua ei hun, y modd, pan oeddid yn gwarchau Gibeon, gan wneuthur ei ddyfyngeddol weddi at yr holl-alluog Dduw, y gwnaeth ef i'r haul
Iosu.10.12. a'r lleuad attal eu rhedegfa, a ſefyll yn llonydd ynghenol y nef dros ddiwrnod cyfan, nes i'r bobl gael cwbl ddial ar eu gelynnion.

2.Cro.20.22. Ac onid oedd grym mawr yngweddi Iehoſaphat pan wnaeth Duw ar ei ddeiſyfiad ef i'w elynnion ef ymladd â'u gilydd, a dinistr eu gilydd yn ewyllyſgar.

llysgar. Pwy a ddichon ryfeddu am ffrwyth a rhinwedd gweddi Elias, yr hwn ac yntef yn ddyn, 1.Bren.18.45.
o blegid gwendid, o'n dull ninnau, a weddiodd ar yr Arglwydd na lawiai hi, ac ni lawiodd hi ar y ddayar dros dair blynedd a chwe mis. Ailwaith fe a weddiodd ar iddi lawio, ac fe gwympodd glaw lawer fal y dygodd y ddayar ei ffrwythau yn llwyddiannus.

Rhy hir fyddai adrodd am Judith, Hester, Susanna a llawer o wyr a gwragedd duwiol eraill, pa faint yn eu holl weithredoedd a ennillasant hwy wrth roddi eu holl fryd yn ddifrif ac yn ddwyfol ar weddio. Gwasanaethed ar hyn o ennyd gyssoni'r cwbl â geiriau Awstin a Chrysostom, o'r rhai y mae un yn galw gweddi yn *allwydd nef, a'r llall yn dywedyd yn oleu nad oes dim yn y byd a ddichon bod yn gryfach na gŵr a ymroddo i weddi ddifrif.

August. serm. de tempore.
* Agoriad.
Chryso. super Math. 22.

Yn awr, fyngharedigion, gan fod gweddi mor angenrheidiol ac mor fymmus ger bron Duw, byddwn, fal y'n dyscir trwy siampl Christ a'i Apostolion, ddifrif a diwyd i alw ar enw'r Arglwydd. Na laesswn, na ddyffygiwn ac na pheidiwn, ond beunydd a phob awr, yn forau ac yn hwyr, mewn amser ac allan o amser, byddwn ddyfal mewn myfyriadau a gweddiau duwiol. Beth onid chawnni ein gweddiau ar y cyntaf? Etto na lwfrhawn ond gwaeddwn a galwn ar Dduw yn wastadol: fe a wrandy arnom yn siccr yn y diwedd, pe ni byddai hynny am un achos arall, ond am ein taerder ni.

Cofiwn ddammeg y barnwr anghyfiawn a'r weddw dlawd, pa fodd y gwnaeth hi iddo trwy ei thaerder wneuthur â hi gyfiawnder yn erbyn ei gor-

Luc. 18.1. V.7.

gorthymmudd; er nad ofnai na Duw na dŷn. Ac medd ein Iachawdwr Christ, oni ddial Duw yn fwy ei etholedigion sydd yn llefain arno nos a dydd. Fal hyn y dyscodd ef ei ddiscyblon ac yn ddynt hwy yr holl wir Gristionogion i weddio 'n wastad, heb orphwys na dyffygio. Cofiwn siampl y wraig o Canaan pa fodd y gwrthodwyd hi gan Grist, ac y galwyd hi yn gi, megis un an-nheilwng i dderbyn donniau ar ei law ef, etto ni pheidiodd hi, ond hi a'i canlynodd ef yn wastad gan waeddi a galw arno am fod yn drugarog ac yn dda wrth ei merch hi: ac yn y diwedd drwy ei thaerder, hi a fwynhaodd ei damuniad.

Math.15.16.

Oh dyscwn drwy y siamplau hyn fod yn ddiffrif ac yn wresog mewn gweddi, gan ein sicrhau ein hunain pa beth bynnac a ofynnom ni i Dduw Dâd yn enw ei fab Christ Iesu, ac yn ôl ei ewyllys ef, y canniata fe hynny ini yn ddiammau. Efe yw y gwirionedd ei hun ac mor gywir ac yr addawodd, felly fe gyflawna 'n gywir.

Ioan 6.23.

Duw o'i fawr drugaredd a weithio felly ynom ni trwy ei Yspryd sanctaidd, fal y bo ini yn wastad wneuthur ein gostyngedig weddiau arno, fal y dlyem, a mwynhau bob amser y pethau a fythom yn eu ceisio, trwy Iesu Grist ein Harglwydd i'r hwn gyda'r Tâd a'r Yspryd glân y bytho holl anrhydedd a gogoniant yn oes oesoedd. Amen.

¶ Yr

## ¶ Yr ail rhan o'r bregeth ynghylch gweddi.



CHwi a glywsoch yn y rhan gyntaf o'r bregeth hon sanegi a phrufo i chwi cystadl wrth lawer o dystiolaethau pwysig a bagad o samplau daionus o'r Scruthyrau sanctaidd, fawr anghenrheidrwydd a mawr rym gweddi deilwng ddifrif. Yn awr gwrandewch ar bwy y dlyech alw, ac at bwy y dlyech gyfeirio eich gweddiau. Fe'n dyscir ni yn eglur yn y Testament sanctaidd mai'r holl-alluog Dduw yw unic ffrwd a ffynnon pob daioni, a'n bod ni'n derbyn ar ei ddwylaw ef pa beth bynnac sydd gennym yn y byd hwn: J'r defnydd hyn y gwasanaetha y lle yn S. Iaco, Pob dawn daionus a phob rhodd berffaith oddi uchod y mae yn discyn oddiwrth Dâd y goleuni. J'r defnydd hyn gwasanaetha tystiolaeth Pawl mewn llawer o leoedd yn ei lythyrau, gan dystiolaethu fod Yspryd doethineb, Yspryd gwybodaeth, ac Yspryd gweledigaeth, ie a phob rhodd nefol dda, megis ffydd, gobaith, cariad, rhad a heddwch yn dyfod yn unic oddiwrth Dduw. Gan ystyriaid yr hyn bethau mae fe'n torri allan i'r ymadroddion dislymmwth hyn, gan ddywedyd, Beth sydd gēnitti o ddŷn ar nas derbynniaist? Am hynny pan fytho arnom ddiffyg neu eisiau dim ac a berthyn nac at y corph nac at yr enaid, rhaid yw ini redeg at Dduw yn unic, yr hwn yn unic yw rhoddwr pob peth daionus. Iac.1.17. 1.Cor.4.7.

Mae'n Iachawdwr Christ wrth ddyscu yn ei efengyl i'w ddiscyblon weddio, yn eu danfon hwy Ioan.16.23.

at

at ei Dâd yn ei enw ef, gan ddywedyd, yn wir yn
Math.6.5. wir meddaf i chwi, pa beth bynnac a ofynoch i'm
Luc.11.2. Tâd yn fy enw i efe a'i rhydd i chwi. Ac mewn
man arall, Pan weddioch, y gweddiwch fal hyn,
Ein Tâd yr hwn wyd yn y nefoedd, &c. Ac mae
Psal.50.15. Duw ei hun trwy enau ei brophwyd Dafydd yn
gorchymmyn ac yn peri ini alw arno fe. Ac mae
'r Apostol yn dymuno rhâd a heddwch i bawb oll
ac a alwant ar enw'r Arglwydd a'i Tad ef Iesu
Ioel 2.32. Grist. Ac mae'r Prophwyd Ioel yn dywedyd, Y
Act.2.21. bydd i bwy bynnac a alwo ar enw'r Arglwydd
fod yn gadwedig.

Fal hyn wrth hynny y mae'n oleu wrth an-
nhwyllodrus air y gwirionedd a'r bywyd, y dyl-
em ni yn ein holl anghenau redeg at Dduw, cy-
feirio ein gweddiau atto ef, a galw ar ei sanctaidd
enw ef, deisyf cynhorthwy ar ei law ef, ac nid ar
law neb arall. Am yr hyn os mynnwch etto ych-
waneg rheswm ystyriwch yr hyn a ganlyn. Mae
rhyw gynneddfau angenrheidiol eu bod mewn
pob un ac a weddier arno, y rhai oni chair yn yr
hwn y bythom yn gweddio arno: yno ni thyccia
ein gweddi ni ddim ini, ond hi a fydd yn ofer ho-
llol. Y cyntaf yw bod yr hwn y bythom yn gwe-
ddio arno yn alluog, ac yn abl i'n helpu ni. Yr ail
yw, ei fod ef yn ewyllysgar i'n cynorthwyo ni. Y
trydedd yw, ei fod ef yn gyfryw un ac a all glywed
ein gweddiau ni. Y pedwaredd yw, ei fod yn de-
all yn well nâ ni ein hunain pa gymmaint y mae
yn rhaid ini wrth gynhorthwy, a pha beth sydd
arnom ei eisiau.

Os cair y pethau hyn mewn neb arall ond yn-
nuw yn unic, yno y gallwn yn gyfraithlon alw
ar eraill heblaw Duw. Ond pwy sydd mor ddwl

neu Batriarch neu Brophwyd ym-hlith y meirw,
Iere.17.10. Psal.7.9. Gweled. 2.23. 1.Par.8 9. yr hwn a all deall neu wybod meddwl y galon?
Mae 'r Scruthyrau yn dywedyd mai Duw yn
unic sydd yn chwilio'r galon a'r arennau, ac mai
efe yn unic a wyr galonnau meibion dynnion. Am
y saint, mae eu gwybodaeth hwy mor fychan yn-
nirgelion y calonnau, fal yr ydoedd llawer o'r
Ammeu. hen dadau yn * dowtio 'n fawr pa un a wnânt ai
gwybod dim ai peidio o'r pethau a wnair ar y
ddayar.

Ac er bod rhai yn tybied eu bod hwy yn gwy-
Lib.de cura pro mor.agen. cap.13. De vera relig.cap.22. bod; etto mae S. Awstin doctor o awdurdod a
henafiaeth mawr, yn tybied na wyddant hwy
beth yr ydym ni yn ei wneuthur ar y ddayar, yn
well nag y gwyddom ninnau beth y maent hwy
* Profi. yn eu wneuthur yn y nef. Er * prufo hyn mae
fe'n dodi drosto airiau y prophwyd Esai, lle mae
Esai.63.16. fe'n dywedyd na wyr Abraham oddiwrthym ni ac
nad edwyn Israel mo honom. Ei feddwl ef am
hynny yw na byddai i ni dybiaid fod eu haddoli
hwy, neu weddio arnynt, yn rhan o'n crefydd, ond
bod i ni eu hanrhydeddu hwy wrth ganlyn eu by-
Lib.22.de ciuit.Dei.c.10. wyd rhinweddol duwiol hwy. O herwydd fal y
mae fe'n testiolaethu mewn man arall, Yr oedd
merthyron a gwyr duwiol yr amseroedd gynt, yn
arfer ar ol eu marwolaeth o gael eu cofio a'u
henwigan yr offeiriaid ar wasanaeth, ond nid oe-
ddid erioedd yn arfer o alw nac o weddio arnynt.
A pha ham hynny? O blegid, medd ef, mai offei-
riad Duw yw'r offeiriad, ac nid eu hoffeiriad hwy:
am hynny y mae efe yn rhwymedig i alw ar
Dduw ac nid arnynt hwy.

Fal hyn y gwelwch nad ydyw awdurdod yr
scruthyrau nac awdurdod S. Awstin yn cenhadu

i ni weddio arnynt. Oh na ddarllenai ddynion ac na chwiliient hwy yr Scrythyrau yn ddiescaelus: yno ni foddid hwy mewn anwybodaeth, ond hwy a ddeallent y gwirionedd yn hawdd, am yr athrawaeth hyn ac am bob peth arall. O herwydd yno y mae'r Yspryd glân yn ein dyscu i ni yn oleu: mai Christ yw ein unic ddadleuwr a'n cyfryngwr ni gyda Duw, na ddlyem ni nac ymgais na rhedeg at neb arall. Os pecha neb, medd Ioan Sant mae i ni ddadleuwr gyd a'r Tâd Iesu Grist y cyfion, ac ef yw'r iawn dros ein pechodau. Mae S. Paul yn dywedyd hefyd mai un Duw sydd, ac un cyfryngwr rhwng Duw a dyn, sef y dyn Christ Iesu. 1.Ioan.2.1,2. 1.Tim.2.5.

A'r hwn y cytuna testiolaeth ein Iachawdwr ei hun gan destiolaethu na ddaw neb at y Tâd ond yn unic trwyddo ef: o herwydd mai efe yw'r ffordd, y gwirionedd a'r bywyd: ie a'r unic ddrws trwy'r hwn y gall vn fyned i deyrnas nef: o blegyd mai ynddo fe yn unic ac nid yn neb arall y mae Duw yn fodlon. Am yr hyn achos y mae fe'n gweiddi ac yn galw arnom ar i ni ddyfod atto ef, gan ddywedyd, dewch attafi hawb ac sydd flinderog ac yn llwythog a mi a esmwythaf arnoch. A fyn Christ fod mor angenrheidiol i ni ddyfod atto, ac a adawn ni ef yn anniolchus, a rhedeg at arall? Ioan.14.6. Ioan.10.17. Math.3.7. Math.11.28.

Dymma'r hyn y mae Duw yn achwyn rhagddo'n gymmaint, trwy y Prophwyd Ieremi, gan ddywedyd, fe wnaeth fymhobl ddau fai fawrion: hwy a'm gwrthodasont i ffynnon dwfr y bywyd, ac a gloddiasont iddynt eu hunain byllau tyllog y rhai ni ddalant ddim dwfr ynddynt.

Onid ydyw hwnnw yn wr angall, meddwch

chwi,

chwi, yr hwn a red i geisio dwfr i'r gofer bychan, ac yntef yn gallel myned yn gystadl i lygad y ffynnon? Felly y gellir ammau ei synwyr yntef yr hwn a rêd at y saint yn amser anghenrhaid, pan allo fyned yn * eofn a dangos ei ddolur yn ddiofn, a chyfeirio ei weddi at yr Arglwydd ei hunan. Pe byddai Dduw yn ddieithr ac yn * enbaid ymddiddan ag ef, yno y gallem ni gael achos i dynnu yn ein hol ac i ymgais a rhyw un arall. Ond mae'r Arglwydd yn agos at bawb a alwant arno, sef yr holl rhai a alwant arno mewn gwirionedd. Ac fe fu weddi ostyngedig yn gymmeradwy bob amser yn ei olwg ef.

* Hyf.
* Berigl.

Beth os ydym ni bechaduriaid, oni weddiwn ni ar Dduw am hynny? neu a wanobeithiwn ni gael dim ar ei law efe? paham yntef y dyscodd Christ ni i ofyn meddauant o'n pechodau, gan ddywedyd, maddau ini ein dyledion fal y maddauwn ninnau i'n dyledwyr? A dybygwn ni fod y saint yn fwy eu trugaredd i wrando pechaduriaid nag yw Duw? Mae Dafydd yn dywedyd, Trugarog a graslawn yw'r Arglwydd hwyrfrydig i lid a mawr o drugarogrwydd. Mae S. Pawl yn dywedyd ei fod ef yn gyfoethog o drugaredd i bawb a alwant arno. Ac mae efe ei hun yn dywedyd trwy enau ei Brophwyd Esai, Dros ennyd fechan y'th wrthodais, ond â thrugaredd mawr y'th gynullais: dros funyd yn fy llid y cuddiais fy wyneb oddiwrthyd, ond a thrugaredd tragwyddol y tosturiais wrthyd.

Psal. 113.8.
Ephes. 2.4.
Esai. 54.7,8.

Am hyn ni ddylyai bechodau un dŷn ei attal ef oddiwrth weddio ar yr Arglwydd Dduw; ond os efe fydd gwir etifeiriol a diogel mewn ffydd, bid diogel gantho y bydd yr Arglwydd trugarog wrtho

tho ac y gwrandy efe ei weddiau ef.

Oh ni faiddiaſi, medd rhyw vn, drwblo Duw yn waſtad â'm gweddiau: yr ydym ni yn gweled mewn tai a llyſoedd brenhinioedd na oddefir neb i ddyfod i ymddiddan â'r brenin nac i fwynhau y peth y mae yn ei geiſio, oni chais ef yn gyntaf help rhyw bennaeth neu ŵr mawr. Mae S. Ambros yn atteb y rheſwm hwn yn dda iawn ar y bennod gyntaf at y Rufeiniaid. Am hynny, medd ef, yr arferwn o fyned at frenhinioedd trwy ſwyddogion a phendefigion, am fod y brenin yn farwol ac ni wyr ef i bwy y rhydd lywodraeth y gwledydd: ond i gael gan Dduw ein caru oddiwrth yr hwn nid oes dim cuddiedig, nid rhaid ini wrth vn helpwr i'n cynorthwyo â'i air da, ond yn vnic meddwl bucheddol duwiol. Ac os rhaid ini wrth rai i eiriol drosom, paham na byddwn bodlon i'r vn cyfryngwr hwnnw yr hwn ſydd yn eiſtedd ar ddeheulaw Dduw Dâd, i fod yn eiriolwr droſom yn dragywydd? Megis y prynodd ac y glanhaodd gwaed Chriſt ni ar y groes oddiwrth ein pechodau: felly y mae ei waed ef yn a lluog i gadw pawb a ddelont at Dduw trwyddo ef. O herwydd mae i Griſt yn y nef offeiriadaeth dragwyddol, ac mae fe'n gweddio'n waſtad ar ei Dâd dros y rhai ydynt wir edifeiriol gan haeddu ini trwy rinwedd ei archollion (y rhai ydynt yngolwg Duw'n waſtadol) nid yn vnic gwbl ollyngdod o'n pechodau, onid hefyd pob pethau anghenrheidiol a fo rhaid ini wrthynt yn y byd hwn. Fal y mae'r vnic gyfryngwr hwn yn ddigonol yn y nef, ac nid rhaid iddo wrth neb i'w helpu.

Ambros ſuper 1. ad Rom.

Heb. 10. 12.

Fe allai y gofynnai rhyw vn, ymma, paham wrth hynny y gweddiwn ni bawb dros ei gilydd

yn

yn y bywyd hwn? Yr wir yrydys yn gorchym-
myn ini wneuthur felly wrth orchymmyn eglur
Christ a'i ddiscyblon, i fanegi yn hynny cyfladl y
Math.6.11 &c. ffydd sydd genym ynghrist tuag at Dduw, a'r ca-
Iaco.5.14. riad y mae pob vn honom yn ei ddwyn at ei gi-
Coloss 4.3. lydd, wrth dosturio am flinderau'n brodyr a
1.Tim.2.1. gwneuthur ein gostyngedig ymbil ar Dduw
drostynt. Ond am weddio ar y saint, nid oes gen-
nym na gorchymmyn yn yr holl scruthyr, nac vn
siampl yr hon a allwn ni ei chanlyn yn ddiogel.
Megis os gwnair hynny heb awdurdod gair
Duw nid oes iddo sail ffydd, ac am hynny ni ddi-
chon fod yn gymmeradwy ger bron Duw. O her-
Heb.11.1. wydd pa beth bynnac nid yw o ffydd pechod yw.
Ruf.14.23. Ac mae'r Apostol yn dywedyd fod ffydd yn dyfod o
Ruf.10.14. wrando, a gwrando o air Duw.

Os gosodi yn fy erbyn etto fod y saint yn y nef
yn gweddio drosom ni, a bod eu gweddi hwy yn
dyfod o gariad difrif, yr hwn sydd ganthynt at eu
brodyr ar y ddayar. I hyn y gellir atteb yn dda.
Yn gyntaf na wyr neb pa vn a wnânt ai bod yn
gweddio ai nad ydynt, ac os cais neb prwfo eu bod
hwy, wrth naturiaeth cariad, gan daeru am eu
bod hwy yn gweddio dros ddynion pan oeddynt
ar y ddayar, am hynny yn awr y gwnânt hwy
hynny yn fwy o lawer, a hwythau yn y nef. Wrth
yr vn rheswm y gellir dywedyd eu bod hwy yn
wylo yn y nef pan fychom ninnau yn wylo ar y
ddayar: o herwydd siccr a diogel yw, yr hyd yr oe-
ddynt ar y ddayar eu bod hwy yn gwneuthur fel-
ly. Ac am yr hyn a scrifennir yn llyfr gweledig-
eth Ioan, fod yr Angel yn offrwm gweddiau'r
saint ar yr allor aur: yr ydys yn deall y lle hwn-
nw ac fe ddylid ei ddeall ef am y saint sydd fyw ge-
to

ta ar y ddayar, ac nid ain y rhai a fuont feirw: ac ond ê pa raid suasai i'r Angel offrwm eu gweddi-au hwy a hwy eisoes yn y nef ymlaen wyneb yr holl-alluog Dduw?

Ond cannatäer fod y saint yn gweddio drosom ni, etto ni wyddom ni pa fodd: pa un ai yn enwe-dig dros y rhai a alwant arnynt hwy, ai yn gyffre-dinol dros bawb, gan ewyllysio daioni i bob dyn fal i gilydd. Os ydynt hwy yn gweddio'n enwe-dig dros y rhai a alwant arnynt, yno tebyg yw eu bod hwy yn clywed ein gweddiau ni ac yn gwy-bod dirgelion ein calonnau ni: ond fe brwfwyd eisoes cattadl wrth yr scruthyrau ac awdurdod Austin nad ydyw hyn ddim yn wir.

Na rown ninnau hyder ac ymddiried ar y saint, a'r merthyrion a fuont feirw. Na alwn arnynt, ac na cheisiwn un cymmorth ganthynt: ond yn wastad cyfodwn ein calonnau at Dduw yn enw ei fab Jesu Grist er mwyn yr hwn fal yr addawodd Duw wrando'n gweddiau; felly yn siccr y cwblha efe hyny. Peth yn perthyn i Dduw yw gweddi, yr hon os rhoddwn i'r saint mae'n myned yn warth iddynt, ac ni allant hwy oddef hynny yn dda ar ein dwylo ni. Pan darodd i Pawl ia-chau rhyw un clôff yr hwn oedd efrydd o'i draed Act.14.14.
yn Lystra, fe fynnasai y bobl aberthu iddo ef a Barnabas: yr hyn beth a wrthodasant hwy, gan rwygo ei dillad a'u hannog hwy i addoli y gwir Dduw.

Felly yngweledigaeth Joan, pan gwympodd Joan wrth draed yr Angel i'w addoli ef, ni odde-fodd yr Angel iddo wneuthur felly: ond fe orchym-mynodd iddo addoli Duw. Yr hon siampl sydd yn manegi ini na fyn y saint a'r angylion yn y nef ini

ini wneuthur iddynt hwy vn anrhydedd sydd ddy-
ledus a pherthynasol i Dduw. Efe yn vnic yw y
Tâd, efe yn vnic sydd holl-alluog, efe yn vnic a
ddichon ein cynhorthwyo ni bob amser, ac ymhob
lle: mae fe'n goddef i'w haul ddiscleirio ar y da a'r
drwg: mae fe'n porthi cywion y cigfrain pan le-
font arno: mae fe'n cadw dŷn ac anifail: ni oddef
i flewyn o wâllt ein pennau ni syrthio: ond mae
fe'n barod i nerthu ac i gadw pawb a ymddire-
dant ynddo, fal yr addawodd ef gan ddywedyd,
Cyn y galwont misi attebaf, yr hyd y byddont yn
dywedyd misi a wrandawaf, na wan-ymddire-
dwn am hynny i'w ddaioni ef, nac ofnwn ddyfod
ger bron gorseddfaingc ei drugaredd ef, na cheisiwn
nerth na chynhorthwy y saint, ond deuwn ein hu-
Hyf. nain yn *eofn heb ammau nas gwrendy Duw ni
er mwyn Christ, yn yr hwn y bodlonir ef, heb vn
cyfryngwr, ac y cyflawna ef ein deisyfiad ni ym-
mhob peth ac sydd gyfun â'i ewyllys sanctaidd ef.
Chrys. hom. 6. Felly y mae Chrysostom hên ddoctor o'r Eglwys
da profect. yn dywedyd, ac felly y mae'n rhaid i ninnau gre-
Euangelij. du, nid am ei fod ef yn dywedyd felly, ond yn fwy
o lawer o herwydd mai athrawaeth ein Iachaw-
dwr Christ ei hun yw hynny. Yr hwn a addawodd
os ni a weddiwn ar y Tâd yn ei enw ef, y cawn ni
yn ddiddau ein gwrando cystadl er cymmorth yn
ein hangenrheidiau, ac i Iechadwriaeth ein he-
neidiau, y rhai a brynodd ef ini, nid ag aur nac a-
rian ond â'i werthfawr waed, yr hwn a dywall-
todd ef vnwaith dros bawb ar y groes.

Iddo ef am hynny gydâ'r Tâd a'r Yspryd glân,
tri pherson ac vn Duw, y bytho holl anrhydedd
moliant a gogoniant yn oes oesoedd. Amen.

¶ Y dry-

## ¶ Y dryvedd ran o'r bregeth o blegid gweddi.



FE a'ch dyscwyd chwi yn y rhan
arall o'r bregeth hon, ar bwy
y dylech gyfeirio eich gweddi
mewn amser angen a chyfyng-
dra: Hynny yw nid at angylion
na saint, ond at y tragwyddol a'r
byth-fywiol Dduw: yr hwn am
ei fod yn drugarog sydd yn barod yn wastad i'n
gwrando ni, pan alwom arno mewn gwirionedd
a ffydd berffaith: ac am ei fod ef yn holl-alluog fe
ddichon yn ebrwydd gyflawni a chwblhau y peth
yr ydym ni yn ei ddeisyf ar ei ddwylaw ef. Ammau
ei allu ef a fyddai anffyddlonder eglur, ac yn er-
byn athrawaeth yr Yspryd glân, yr hwn sydd yn
dangos ei fod ef oll yn oll. Ac am ei ewyllys da ef
yn hyn o beth, mae i ni destiolaethau golau yn yr Psal.6.9.
scruthur y cynnorthwya ef ni os ni a alwn arno
mewn amser blinder. Megis o blegid y ddau a-
chos hyn y dylem alw arno ef yn hytrarch nag ar
neb arall: ac ni ddylai neb ofni dyfod at Dduw yn
* eofn am ei fod yn bechadur. O herwydd fal y dy- Hyf.
waid y Prophwyd Dafydd, Trugarog a gra-
slawn yw'r Arglwydd, ie ei drugaredd ef a'i dda- Psal.103.8.
ioni sydd yn dragywydd.

O ni wrendy efe bechaduriaid yr hwn a ddan-
fonodd ei fab ei hun i'r byd i gadw pechaduriaid:
os â chalon wir edifeiriol a ffydd ddiogel y gweddi- 1.Tim.1.15.
an arno? Os cydnabyddwn ein pechodau mae
Duw yn ffyddlon i faddau i ni ein pechodau ac i'n
glanhau ni oddiwrth ein anwiredd, fal y dangosir 1.Ioan.1.9.
i ni yn olau wrth siampl Dafydd, Petr, Mair

ini wneuthur iddynt hwy vn anrhydedd sydd ddy-
ledus a pherthynasol i Dduw. Efe yn vnic yw y
Tâd, efe yn vnic sydd holl-alluog, efe yn vnic a
ddichon ein cynhorthwyo ni bob amser, ac ymhob
lle: mae fe'n goddef i'w haul ddisclerio ar y da a'r
drwg: mae fe'n porthi cywion y cigfrain pan le-
font arno: mae fe'n cadw dŷn ac anifail: ni oddef
i flewyn o wâllt ein pennau ni syrthio: ond mae
fe'n barod i nerthu ac i gadw pawb a ymddire-
dant ynddo, fal yr addawodd ef gan ddywedyd,
Cyn y galwont mifi attebaf, yr hyd y byddont yn
dywedyd mifi a wrandawaf, na wan-ymddire-
dwn am hynny i'w ddaioni ef, nac ofnwn ddyfod
ger bron gorseddfaingc ei drugaredd ef, na cheisiwn
nerth na chynhorthwy y saint, ond deuwn ein hu-
Hyf. nain yn *eofn heb ammau nas gwrendy Duw ni
er mwyn Christ, yn yr hwn y bodlonir ef, heb vn
cyfryngwr, ac y cyflawna ef ein deisyfiad ni ym-
mhob peth ac sydd gyfun â'i ewyllys sanctaidd ef.
Chrys. hom. 6. Felly y mae Chrysostom hên ddoctor o'r Eglwys
da profect. yn dywedyd, ac felly y mae'n rhaid i ninnau gre-
Euangelij. du, nid am ei fod ef yn dywedyd felly, ond yn fwy
o lawer o herwydd mai athrawaeth ein Iachaw-
dwr Christ ei hun yw hynny. Yr hwn a addawodd
os ni a weddiwn ar y Tâd yn ei enw ef, y cawn ni
yn ddiddau ein gwrando cyfladl er cymmorth yn
ein hangenrheidiau, ac i Iachad wriaeth ein he-
neidiau, y rhai a brynodd ef ini, nid ag aur nac a-
rian ond â'i werthfawr waed, yr hwn a dywall-
todd ef vnwaith dros bawb ac y groes.

Iddo ef am hynny gyda'r Tâd a'r Yspryd glân,
tri pherson ac vn Duw, y bytho holl anrhydedd
moliant a gogoniant yn oes oesoedd. Amen.

¶ Y dry-

## Y dryedd ran o'r bregeth o blegid gweddi.



Fe a'ch dyscwyd chwi yn y rhan arall o'r bregeth hon, at bwy y dylech gyfeirio eich gweddi mewn amser angen a chyfyngdra: Hynny yw nid at angylion na saint, ond at y tragwyddol a'r byth-fywiol Dduw: yr hwn am ei fod yn drugarog sydd yn barod yn wastad i'n gwrando ni, pan alwom arno mewn gwirionedd a ffydd berffaith: ac am ei fod ef yn holl-alluog fe ddichon yn ebrwydd gyflawni a chwblhau y peth yr ydym ni yn ei ddeisyf ar ei ddwylaw ef. Ammau ei allu ef a fyddai anffyddlonder eglur, ac yn erbyn athrawaeth yr Yspryd glân, yr hwn sydd yn dangos ei fod ef oll yn oll. Ac am ei ewyllys da ef yn hyn o beth, mae ini destiolaethau golau yn yr scruthur y cynnorthwya ef ni os ni a alwn arno mewn amser blinder. Psal.6.9. Megis o blegid y ddau achos hyn y dylem alw arno ef yn hytrach nag ar neb arall: ac ni ddylai neb ofni dyfod at Dduw yn * eofn am ei fod yn bechadur. Hyf. O herwydd fal y dywaid y Prophwyd Dafydd, Trugarog a grasslawn yw'r Arglwydd, ie ei drugaredd ef a'i ddaioni sydd yn dragywydd. Psal.103.8.

O ni wrendy efe bechaduriaid yr hwn a ddanfonodd ei fab ei hun i'r byd i gadw pechaduriaid: os â chalon wir edifeiriol a ffydd ddiogel y gweddian arno? 1.Tim.1.15. Os cydnabyddwn ein pechodau mae Duw yn ffyddlon i faddau ini ein pechodau ac i'n glanhau ni oddi wrth ein anwiredd, fal y dangosir ini yn oleu wrth siampl Dafydd, Petr, Mair 1.Ioan.1.9.

Magdalen, y Publican, a llawer eraill.
Ac lle mae'n rhaid ini gael nerth rhyw gyf-
ryngwr ac eiriolwr, byddwn fodlon iddo ef yr
hwn yw gwir gyfryngwr a dadleuwr y Testa-
ment newydd, sef ein Harglwydd a'n Iachaw-
dwr Iesu Grist. O herwydd fal y dywaid Ioan
1.Ioan.2.1. S. Os pecha neb mae ini eiriolwr gyda'r Tad, Ie-
su Grist y cyfiawn ac efe yw'r iawn dros ein pe-
chodau. Ac mae S. Pawl yn ei Epistol cyntaf at
Timothi yn dywedyd fod un Duw ac un cyfryn-
gwr rhwng Duw a dyn, sef y dyn Christ Iesu, yr
hwn a'i rhoddes ei hun yn bridwerth i bawb ac yn
destiolaeth yn ei lawn bryd.

Yn awr gwedy cadarnhau yr athrawaeth hon,
fe a'ch cyfarwyddir chwi am ba bethau, a thros
pa fath dynniõ y dylyech chwi weddio ar Dduw.
Rhan pawb cyn gweddio yw ystyriaid yn dda ac
yn ddiescaelus pa beth y maent yn ei ofyn ac yn
ei geisio ar law Dduw: rhag os hwy a ddymu-
nant y peth nis dlyent, fyned eu deisyfiad hwy
yn ofer ac yn ddiffrwyth. Fe ddaeth unwaith at
frenin Agesilaus ryw ymbiliwr taer, yr hwn a
geisiai gantho ryw beth yn daer; gan ddywedyd,
Syre, os gwel eich grâs chwi fod yn dda chwi a
addawsoch hynny unwaith i mi, gwir yw, eb y
brenin, os cyfiawn y peth yr wyt yn ei geisio, ac
onid ê ni wnaethym onid dywedyd heb addo. Ni
chymmerai'r dyn ei atteb felly gan y brenin, ond
fe a ganlynodd arno yn-mhellach gan ddywedyd,
fe weddai i frenin gyflawni y gair lleiaf a ddywe-
dai ie pe byddai heb ond amneidio â'i ben. Nid
mwy eb y brenin nag y gweddai i'r dyn a ddawai
at frenin ddywedyd wrtho neu geisio gantho be-
thau onest cyfion. Fal hyn y trodd y brenin ym-
maith

maith yr ymbiliwr taer anrhesymmol hwnnw.

Yn awr os rhaid bod cymmaint ystyr pan benliniom ni ger bron brenin daearol: pa faint mwy y dylyai fod pan benliniom ni ger bron y brenin nefol, yr hwn a fodlonir yn unic â chyfiawnder ac iniondeb, ac ni dderbyn un ddeisyfiad ofer ynfyd anghyfiawn: Da am hynny a buddiol fydd i ni ystyried yn gwbl ac edrych ynom ein hunain pa bethau a allwn yn gyfraithlon eu gofyn oddiar law Dduw, heb ofn cael * nâg: ac hefyd pa fath ddynion yr ydym ni rhwymedig i'w gorchymmyn i Dduw, yn ein gweddiau beunyddol. Pall.

Dau beth yn enwedig a ddylid eu ystyried yngweddi pob dyn duwiol da: ei anghenrhaid ef ei hun a gogoniant yr Holl-alluog Dduw. Mae anghenrhaid naill ai oddifaes o ran y corph, ai oddifewn o ran yr enaid.

Yr hon rhan o ddŷn am ei bod yn werthfawroccach ac yn odidawgach nâ 'r rhan arall: am hynny y dylyem ni geisio yn gyntaf y pethau a berthynant at Iechadwriaeth y rhan honno, megis rhôdd etifeirwch, rhôdd ffydd, a rhôdd cariad, gweithredoedd da, gollyngdod a maddauant o'n pechodau, dioddefgarwch mewn adfyd, gostyngeiddrwydd mewn hawddfyd, ac eraill o fath ffrwythau'r Yspryd: megis gobaith, cariad, lawenydd, tangneddyf, ymaros, cymwynascarwch, daioni, mwyneidd-dra, dirwest, yr hyn y mae Duw yn ei ofyn ar ddwylaw pawb a gymmerant arnynt fod yn blant iddo ef, gan ddywedyd wrthynt yn y modd hyn, llewyrched eich goleuni ger bron dynion fal a gwelont eich gweithredoedd da chwi, ac yr anrhydeddant eich Tâd yr hwn sydd yn y nefoedd. Gal.5.22. Mat.5.16.

Ac mewn man arall mae fe'n dywedyd, Yn gyntaf ceisiwch deyrnas Duw a'i gyfiawnder, a'r holl
Math.6.33. bethau eraill a roddir i chwi. Trwy hyn y mae fe'n dwyn ar gof i ni y dlyai ein gofal mwyaf ni fod am y pethau a berthynant at iechyd a chadwedigaeth yr enaid. Am nad oes ini ymma, fal y dy-
Heb.13.14. waid yr Apostol, ddinas barhaus eithr yr ydym yn ceisio'r hon a fydd yn y byd a ddaw.

Yn awr gwedy darffo ini weddio digon am bethau a berthynant at yr enaid, ni a allwn yn gyfraithlon â chydwybod dda weddio am ein anghenau corphorol, megis bwyd, diod, dillad, iechyd y corph, ymwared o garchar, llwyddiant yn ein negesau beunyddol, fal y byddo rhaid. Am yr hyn pa siampl well a allwn ni i chanlyn na siampl Christ ei hun, yr hwn a ddyscodd i'w ddiscyblon, ac yndynt hwythau i bob Christion, yn gyntaf weddio am bethau nefol, ac yn ol hynny am bethau
Math.6.9. dayarol: fal y gellir gweled yn y weddi a adaw-
Luc.11.2. odd ef i'r Eglwys, yr hon a elwir gweddi'r Arglwydd.

Mae'n scrifennedig yn y cyntaf o lyfrau y Brenhinoedd a'r trydedd Bennod, i Dduw ymddangos i frenin Salomon liw nos mewn breuddwydd gan ddywedyd, Gofyn i mi y peth a fynnych ac mi a'i rhoddaf iti: fe wnaeth Salomon felly, ac a ofynnodd galon gall ddeallus, fal y gallai farnu'r bobl a deall gwahaniaeth rhwng drwg a da: pa beth a fyddai dduwiol a pha beth a fyddai annuwiol, pa beth a fyddai gyfiawn a pha beth a fyddai anghyfiawn yngolwg yr Arglwydd.

A bodlon iawn y fu gan Dduw iddo ofyn y peth hyn, ac fe ddywad Duw wrtho, Am iti ofyn y peth hyn ac na ofynnaist iti ddyddiau lawer, ar y ddayar

ar ac na ofynnaist iti olyd ac na cheisiest waed dy elynnion, eithr ceisiaist iti ddeall i fedru gwneuthur barn: wele gwneuthym yn ol dy airiau rhoddais iti galon ddoeth a deallus, fal na bu dy fa'th oth flaen ac na chyfyd dy fath ar dy ol di. Hefyd heblaw hyn mi a rhodais yr hyn ni ofynnaist, sef golyd a gogoniant hefyd: fal na byddo un o'r fath ymmysc y brenhinioedd dy holl ddyddiau di. Act.3.19.

Merciwch y siampl hon pa fodd na ofynnodd Salomon ac yntef yn cael ei ddewis gan Dduw bethau ofer gwaeg, ond ichel a nefol drysor ddoethineb. Ac er mwyn iddo wneuthur felly mae fe'n mwynhau megis yn wobr gyfoeth ac anrhydedd. Wrth yr hyn y gallwn weled y dlyem ni yn enwedig uwchlaw pob peth ofyn pethau a berthynant at deyrnas Dduw, a Iachadwriaeth ein eneidiau, heb ammeu na roddir yr holl bethau eraill i ni: yn ol addewid ein Iachawdwr Christ.

Ond ymma mae'n rhaid i ni synned nad anghofiom y diwedd arall y sonniwyd o'r blaen am dano: hynny yw gogoniant Duw, yr hwn oni feddyliwn am dano ac oni osodwn ger bron ein llygaid pan fythom yn gweddio, nid oes ini dybied y cawn ni ein gwrando na derbyn dim gan yr Arglwydd. Fe ddaith mam Meibion Zebedeus at yr Iesu yn yr 20. Bennod of Efengil Mathew, Math.20.20.
gan ei addoli ef a dywedyd; dyweid am im dau fab hyn gael iste un ar dy ddeheulaw a'r llall a'r dy law asswy yn dy deyrnas. Nid ydyw hi yn yr arch hyn yn gofalu am ogoniant Duw, ond n ac hi yn dangos yn oleu ei balchedd a gwag ogoniant ei meddwl, am yr hyn nid heb achos y trodd hi yn ei gwrthol ac y cafas hi ei cheryddu ar law yr Arglwydd.

glwydd. Yn yr vn modd yr ydym ni yn darllen yn Actau'r Apostolion am vn Simon Magus swynwr, yr hwn pan gwelodd fod yn rhoddi yr Yspryd glan wrth osodiad dwylo'r Apostolion, a gynnigodd iddynt arian, gan ddywedyd: Rhoddwch i minnai hefyd yr awdurdod hon, fal ar bwy bynnac y gosodwyf fy nwylaw y derbynio ef yr
Act.8.19. Yspryd glan. Wrth wneuthur y deisyfiad hwn ni cheisiodd ef ogoniant Duw a'i anrhydedd: ond ei ennill a'i elw ei hun, gan obeithio cael llawer o arian trwy y gelfyddyd hon, ac am hyn y dywedwyd yn gyfiawn wrtho, Bydded dy arian gyda thi i ddistryw, am dy fod yn tybied y meddiannir dawn Duw trwy arian.

Trwy'r siamplau hyn ar fath siamplau eraill ein dyscir ni, pan wnelom ein gweddi ar Dduw, vwchlaw pob peth i ofalu am anrhydededd a gogoniant ei enw ef. Am yr hyn mae ini y gorchymmyn cyffredinol hwn gan S. Pawl, Pa vn
1.Cor.10.31. bynnac a wneloch ai bwyta ai yfed ai vn peth arall gwnewch bob peth er gogoniant i Dduw. Yr
Coloss.3.17. hyn beth y wnawn ni yn orau i gyd, os canlynwn siampl ein Iachawdwr Christ: yr hwn pan ydodd yn gweddio ar fyned cwppan chwerw angau
Math.26.36. oddiwrtho ef, ni fynnai gael cyflawni ei ewyllys
Luc.22.42. ei hun, ond rhoi'r cwbl oll ar ewyllys a bodd ei Dad.

Ac hyd hyn am y pethau a allwn ni yn gyfraithlon ac yn eofn eu gofyn gan Dduw.

Yn awr y canlyn bod i ni fanegu pa rhyw ddynion yr ydym ni yn rhwymedig mewn cydwybod
1.Tim.2.1. i weddio drostynt. Mae S. Pawl gan scrifennu at Timothi, yn ei gynghori ef: ar fod ymbil a gweddio dros bob dyn, heb ddieithro neb pa radd bynnac

hynnac neu stat y sont hwy ynddo. Yn yr hwn le mae fe'n son yn enwedig am frenhinoedd a lliwiawdwyr y rhai ydynt mewn awdurdod: gan ddwyn ar gof ini trwy hynny mor fuddiol yw i'r wlad weddio'n ddiescaelus dros y galluoedd goruchaf.

Ac nid heb achos y mae yn ei holl lythyrau yn gofyn gweddiau pobl Dduw drosto ei hun. O herwydd wrth wneuthur felly mae fe'n manegi mor addas ac mor anghenrheidiol yw galw ar Dduw heunydd dros wenidogion ei sanctaidd air ef a'i Sacramentau, a'r iddynt gael drws ymmadrodd yn agored, fal y gallont yn gywir ddeall yr scruthyrau ai pregethu hwy i'r bobl, a dwyn eu ffrwythau hwy allan er siampl i bawb erail. Rus.15.10. Col.4.3. 2.Thes.3.1. Ephes.6.19.

Yn y modd ymma yr ydodd y gynulleidfa yn gweddio'n wastad dros Peter yn Jerusalem a thros Pawl ymhith y cenhedloedd, er mawr lwyddiant a chynnydd efengil Christ: ac os ni a ganlynwn yn hyn eu siamplau da hwy, ac a fefyrwn wneuthur yn yr un modd, yn ddiammau ni wnawn fawrles ini ein hunain, ac a fodlonwn Dduw hefyd. Fe fyddai rhy hir imi adrodd a rhedeg dros bob gradd o ddynion, am hynny ar ychydig airiau cymmerwch hyn i gau y cwbl. Pwy hynnac yr ydym rhwymedig wrth orchymmyn Duw iw caru, dros y rhai hynny oll yr ydym rhwymedig yn ein cydwybod i weddio. Ond yr ydym ni yn rhwymedig wrth orchymmyn Duw i garu pawb fal ein hunain: ac am hynny yr ydym yn rhwymedig i weddio dros bawb oll cystal a throsom ni ein hunain: er ein bod yn gwybod eu bod yn elynnion marwol ini. Act.12.12.

O herwydd felly y mae ein Iachawdwr Christ

yn dangos yn eglur yn yr efengil gan ddywedyd,
Math.5.44. Yr ydwyf yn dy wedyd wrthych cerwch eich gely-
nion, bendithiwch y rhai a'ch melltithiant, gwne-
wch dda i'r sawl a'ch casant, a gweddiwch dros
y rhai a eich herlidiant, fal y byddoch blant eich
Luc.6.27. Tâd yr hwn sydd yn y nefoedd. Ac fal y dyscodd ef
ei ddyscyblon, felly yr arferodd ef ei hun, yn ei fy-
wyd gan weddio dros ei elynion ar y groes, a deisif
ar ei Dad faddau iddynt, o herwydd na wyddent
Luc.23.34. pa beth oeddynt yn ei wneuthur: felly hefyd y gw-
Act.7.60. naeth y merthyr sanctaidd S. Stephan pan la-
byddiwyd ef i angau yn dra chreulon, gan yr I-
ddewon afrywiog gwargaledion, er siampl i bawb
a ganlynant yn gywir ac yn ddiffuant siampl eu
Harglwydd a'u meistr Christ yn y bywyd blin mar-
wol hwn.

Yn awr i draethu am y question hwn. A ddylem
ni weddio dros y rhai a ymadawsont o'r byd
hwn ai na ddylem. Yn yr hwn os glynwn ni yn
unic wrth air Duw, mae'n rhaid ini gydnabod
nad oes gennym un gorchymmyn i wneuthur
felly. O herwydd nid ydyw'r Scruthyr yn cyd-
nabod ond dau le ar ol y bywyd hwn. Yr un yn
perthynasol i fendigedig a dewisol Duw, a'r llall
i'r eneidiau damnedig gwrthodedig: fal y gellir
Luc.16.26. cynull yn hawdd wrth ddameg Lazarus a'r gwr
cyfoethog, wrth agored yr hwn le y dywaid S.
Austin fal hyn ar y geiriau y ddywad Abraham
wrth y gwr cyfoethog yn yr efengil: sef na ddi-
chon y cyfion fyned ir lleoedd hynny lle'r ydys yn
Li.2.Euang. quest. 1.cap. 38. cospi'r annuwiolion. Pa beth y mae hyn yn ei
arwyddoccau ond na ddichon y cyfion o herwydd
barn Duw yr hon ni ellir ei galw yn ol, ddangos
un weithred o drugaredd i gynorthwyo y rhai y-

dynt

dynt yn ol y bywyd hwn gwedy eu tafli i garchar hyd nes talu honynt y ffyrlling eithaf: fal y mae y geiriau hyn yn gwrthwyneb yr athrawiaeth am gynorthwyo y meirw trwy weddi: felly y maent hwy hefyd yn dinistr, ac yn tynnu yn lan ymmaith yr amryfysedd am y purdan, yr hwn a wreiddir ar y geiriau hyn o'r efengil, ni chai di fyned oddi yno nes iti dalu y ffyrlling eithaf.

Yn awr mae S. Awstin yn dywedyd na ellir mewn modd yn y byd gynorthwyo y rhai yn ol y bywyd hwn ydynt gwedy eu tafli i garchar, er cymmaint y mynnem eu nerthu hwy. A pha ham? am fod barn Duw yn anniwidiol ac na ellir ei galw hi yn ei hol. Na thwyllwn am hynny mo honom ein hunain gan dybied y gallwn gynorthwyo eraill, neu y gall eraill ein cynorthwyo ninnau a'r ol hyn trwy eu gweddiau da cariadus, o blegid fal y dywaid y pregethwr, Pa un bynnac ai i'r dehau ai i'r gogledd ai pa le bynnac y cwympo'r pren yno y trig efe: gan feddwl wrth hynny fod pob dyn marwol yn marw mewn stat cadwedigaeth neu ddamnedigaeth: fal y mae geiriau'r efengylwr Ioan yn dangos yn eglur, gan ddywedyd, Yr hwn sydd yn credu ym Mab Duw mae iddo fywyd tragwyddol: a'r hwn sydd yn anghredu yn y Mab ni wel ef y bywyd, eithr mae digofaint Duw yn aros arno ef. Eccl. 11.3. Ioan. 3.36.

Pa le wrth hynny y mae'r trydydd lle yr hwn y alwant purdan? Neu pa le y nertha ein gweddiau ac a cynorthwyant hwy y meirw? Mae S. Awstin yn cydnabod yn unic ddau le yn ol y bywyd hwn nef ac uffern, am y drydedd mae fe'n gwadu'n oleu na ellir cyfarfod ac ef, yn yr holl Scruthyrau. Lib. 5. Hypugno.

Mae Chrysostom hefyd o'r meddwl hwn, Oni olchwn ni ein pechodau ymmaith yn y byd hwn na chawn ni ar ol hynny ddim diddanwch. Mae S. Cyprian hefyd yn dywedyd: Y bydd edifeirwch trisdwch a phoen yn ol angau yn ddiffrwyth, y bydd wylo'n ofer a gweddi'n wag, am hynny y mae'n cynghori pawb i ddarparu drostynt eu hunain yr hyd y gallont, o herwydd yn ol eu myned o'r byd hwn nid oes un lle i edifaru nac i wneuthur iawn.

Chry. in Heb. a hom. 5.

Cypr. contr. Demetrian.

Gwasanaethed y lleoedd hyn a lleoedd eraill i dynnu ymmaith y camsynnaeth blin ynghylch purdan allan o'n pennau ni: ac na freiddwydiwn mwy y gellir cynorthwyo eneidiau'r meirw trwy'n gweddiau ni. Ond fal y mae'r Scruthur yn ein dyscu ni felly credwn fod enaid dŷn pan elo efe allan o'r corph yn myned yn y man y naill ai i'r nef âi i uffern: y naill nid rhaid iddo wrth weddi ac i'r llall nid oes ymwared.

Yr unic burudd trwy'r hwn y mae ini obaith cael ein cadw yw angau a gwaed Christ, yr hwn os cymmerwn afael arno a gwir a diogel ffydd fe'n pura ac a'n glanha ni oddiwrth ein holl bechodau, cystal a phe byddai fe yn awr yn crogi ar y groes. Gwaed Jesu Grist, medd S. Joan sydd yn ein glanhau ni oddiwrth bob pechod. Gwaed Jesu Grist, medd S. Pawl, a burodd ein cydwybod ni oddiwrth weithredoedd meirwon i wasanaethu y Duw byw. Ac fe a ddywaid mewn man arall hefyd: yr ydym gwedy ein sancteiddio a'n glanhau trwy offrymmiad corph Jesu Grist unwaith. Je mae fe'n cydsyllu ychwanegu gan ddywedyd. Ddarfod iddo ag un offrwm berffeiddio yn dragwyddol y rhai sydd gwedy eu sancteiddio.

1. Ioan. 1. 7.

Heb. 9. 14.

Heb. 10. 10. v. 14.

Dymma

Dymuns am hyn y purudd yn yr hwn y mae'r holl Gristionogion yn gobeithio ac yn ymddired: heb ammau dim os hwy a wir edifarant am eu pechodau ac a fyddant feirw mewn ffydd berffaidd, yr ant hwy yn y man o farwolaeth i fywyd. Oni wasanaetha y puredd hyn ni obeithiant y cânt hwy ymwared wrth weddiau dynnion eraill pe parhaent hwy yndynt hyd diwedd y byd.

Yr hwn ni allo gael ei gadw trwy ffydd yngwaed Christ, pa fodd yr edrych ef am gael ei gadw trwy gyfryngiad dyn? Ydyw Duw yn edrych yn fwy ar ddyn ar y ddayar, nag a'r Grist yn y nefe? Os pecha neb (medd Ioan sant) mae ini ddadleuwr gyda'r Tad Iesu Grist y cyfiawn, ac efe yw'r iawn dros ein pechodau. Ond rhaid yw ini edrych am alw ar y dadleuwr hwn ymrhyd tra caffom ennyd yn y bywyd hwn, rhag gwedy'n meirw unwaith na bytho un gobaith iechyd gwedy ei adel ini.

O herwydd fal y mae pawb yn cysgu yn ei ddadl eu hun, felly y cyfodir pawb yn ei ddadl ei hun. Ac edrychwch mewn pa stat y bu ef farw, yn yr un stat y barnir ef hefyd, pa un bynnac ai i Iechydwriaeth ai i ddamnedigaeth. Na freiddwydwn am hynny am burdan nac am weddi dros eneidiau y rhai a fuont feirw. Ond gweddiwn yn ddifrif ac yn ddiescalus dros y rhai y gorchymmynnir ini yn oleu yn yr Scruthyr weddio drostynt: Hynny yw dros frēhinoedd a llywiawdwyr, dros wenidogion gair Duw a'i sacramentau, dros saint y byd hwn, y rhai hefyd a elwir y ffyddloniaid: ac ar ychydig o airiau dros bob dyn byw, er maint gelynion y fythont hwy i Dduw a'i bobl, megis Iddewon, Twrciaid, Paganiaid, Anghredadwy

dadwy, Hereticciaid, ac yno y cyflawnwn ni yn gywir orchymmyn Duw yn y pethau hyn, ac y dangoswn ni yn eglur ein bod ni yn wir blant ein Tad nefol, yr hwn sydd yn goddef i'w haul dywynnu ar y da a'r drwg: a'r glaw i lawio ar y cyfion a'r anghyfion. Am yr hyn ac am bob donniau eraill y roddodd ef yn amllawn i ddynnion er y dechreuad, rhoddwn iddo ef fawr ddiolch fal yr ydym ni rhwymedig a moliannwn ei enw ef yn dragywydd. Amen.

## ¶ Pregeth am le ac amser gweddi.



E greodd Holl-alluog Dduw yn y dechreuad, trwy ei allu ei ddoethineb ai dduwioldeb nef a dayar, yr haul y lluad a'r ser, ehediaid yr awyr, anefeiliaid y ddayar, pyscod y mor a'r holl greaduriaid eraill, er bud alles iddyn: yr hwn hefyd a greasai fe ar ei ddelw a'i lun ei hun: ac a rhoddodd iddo ef reolaeth a llywodraeth oddiarnynt hwy oll, er mwyn iddo ef eu harfer hwy yn y modd y harchasai ac y gorchymmynasai Dduw iddo ef: ac er mwyn iddo ef hefyd ei ddangos ei hun yn ddiolchus ac yn ostyngedig yn yr holl ddonnian hyn, y rhai a rhoddwyd iddo ef mor hael ac mor rasllawn heb ei haeddiant ef yn hollol, mewn hyn o beth. Ac er y dylyem ni bob amser ac ymhob lle fod yn ddiolchus ein harglwydd grasawl, fal y mae 'n scrifennedig. Mi a fawrhaf yr Arglwydd bob amser. (Psal.3.1.) Ac ailwaith pa le bynnac y bytho 'r Arglwydd yn teyrnasu o fy enaid bendithia'r Arglwydd. (Psal.103.1.)

Etto eglur yw mae ewyllys Duw yw in ymgynull

gynull ynghyd a'r rhyw amseroedd nodedig, ac mewn rhyw leoedd nodedig, o fwriad ar glodfori ei enw ef, a chyhoiddi ei ogoniant ef ynghynulleidfa ei saint ef.

Am yr amser y osododd yr Holl-alluog Dduw iw bobl ymgynull ynghyd yn gyhoedd mae 'n eglur wrth bedwarydd gorchymmyn Duw: Cofia medd Duw gadw 'n sancteiddio y dydd Sabaoth. Ar yr hwn ddiwrnod fal y mae 'n olen wrth Actau 'r Apostolion yr oedd y bobl yn arferedig o ddyfod ynghyd, ac yn gwrando 'n ddiescaelus y gyfraith a'r Prophwydi a ddarllened yn eu mysc hwy. Ac er nad ydyw y gorchymmyn hwn yn rhwymo Christionogion mor galed, i gadw ac i gynnal Gwbl-ceremoni y dydd Sabaoth, fal y rhoed ef i'r Iddewon, am ymgadw oddiwrth waith a thrafaelu mewn angenrhaid mawr; ac ynghylch cadw y saithfed dydd yn gymmwys yn ol arfer yr Iddewon. O blegyd yn awr yr ydym ni yn cadw y dydd cyntaf o'r wythnos yr hwn yw ein dydd Sul ni, ac yr ydym yn gwneuthur hwnnw yn Sabaoth ini, hynny yw yn ddydd gorphwysfa ini, er anrhydedd ein Iachawdwr Christ, yr hwn ar y dwthwn hwnnw a gyfododd o feirw i fyw, ac a orchfygodd angau yn orfoleddus. Etto pa beth bynnac a geffir yn y gorchymmyn hwnnw, megis yn perthyn at gyfraith nattur. Fe ddylai bob pobl Gristionogaidd gadw a chynnal hwnnw megis peth duwiol iawn, peth cyfion iawn, peth angenrheidiol iawn i osod allan ogoniant Duw.

Ac am hyn wrth y gyrchymmyn hwn fe ddylai fod gennym yr amser megis un diwrnod yn yr wythnos, yn yr hwn y dylyem orphwys, ie oddiwrth ein gweithredoedd cyfraithlon rheidiol. O

Herwydd

herwydd fal y mae'n eglur wrth y gorchymmyn hwn na ddylai neb dros chwech diwarnod fod yn segur ac yn ddiog, ond trafaelu'n ddiescaelus yn yr stat y gosododd Duw ef yndi. Felly y rhoddodd Duw orchymmyn goleu ar y dydd Sabaoth, (hynny yw ein dydd sul ni yn awr) fod iddynt orphwys oddiwrth yr holl drafael a arferir trwy'r wythnos, ac ar ddyddiau gwaith, o fwriad megis y gwaithodd Duw chwech diwarnod, ac a gorphwysodd ar y saithfed dydd a bendigodd ac a sancteiddiodd ef, gan ei sancteiddio ef i lonyddwch a gorphwyssa oddiwrth bob llafyr: felly y dylyai vfydd bobl Duw arfer y dydd sul yn sanctaidd, a gorphwys oddiwrth eu llafyr, ac ymroi yn hollol i arferon gwir grefydd, a gwir wasanaeth Duw.

Fal na orchymmynnodd Duw yn vnic gynnal y dydd sanctaidd hwnnw: Ond fe'n annogodd ac ein cyffrodd ni hefyd wrth ei siampwl ei hun i gadw hwnnw yn ddiescaelus. Fe fydd plant naturiol da nid yn vnic vfydd i orchymmynion eu Tadau: ond fe fydd ganthynt lygaid diwall ar eu gweithredoedd hwy hefyd, ac yn llawen y canlynant y rhai hynny. Felly os ni a fyddwn blant ffyddlon ein Tad nefol, rhaid ini fod yn ofalus i gadw dydd Sabaoth y Christionogion, yr hwn yw'r sul: nid yn vnic er mwyn gorchymmyn eglur Duw; ond hefyd er mwyn ein dangos ein hunain yn blant caredig, gan ganlyn siampl ein grasol Arglwydd a'n Tad.

Fal hyn y mae'n eglur fod ewyllys Duw a'i orchymmyn ar osod amser gyhoeddus a diwarnod nodedig o'r wythnos, yn yr hwn y gallai y bobl ddyfod ynghyd, a chofio ei ddonniau rhyfedd

ef,

ef, ac i rhoddi diolch iddo am danynt megis y mae 'n gymhesyr i bobl garedig addfwyn bydd. Fe ddechreuodd y bobl Gristionogaidd ganlyn y siampl hon a gorchymmyn Duw, yn y man yn ol esgynniad ein Harglwyd Christ, ac hwy a ddechreuasont ddewis diwarnod gosodedig o'r wythnos i ymgynull ynghyd arno: etto nid y saithfed dydd yr hwn y gad we r' Iddewon, ond dydd yr Arglwydd, dydd ailgyfodiad yr Arglwydd. Y dydd yn ol y saithfed dydd, yr hwn yw 'r dydd cyntaf o'r wythnos.

Am yr hwn ddydd mae S. Pawl yn son fal hyn. Pob dydd cyntaf o'r wythnos rhodded pob un honoch heibio wrtho ei hun i'r tylodio̅, yr hyn y mae fe yn ei feddwl. Wrth y diwarnod cyntaf o'r wythnos y dealltir ein dydd sul ni: yr hwn yw'r dydd cyntaf ar ol Sabaoth yr Iddewon. Ac mae etto yn oleuach yngweledigaeth Ioan, lle mae fe'n dywedyd: yr oeddwn yn yr Yspryd ar ddydd yr Arglwydd. 1.Cor.16.2. Gwel.1.10.

Er yr amser hynny yr arferodd pobl Dduw yn wastad ymhob oes, o ddyfod ynghyd yn ddiwrthwyneb ar ddydd sul, i glodfori ac i foliannu enw'r Arglwydd, ac i gadw y dydd hwnnw yn ofalus, mewn llonyddwch a gorphwysfa, gwyr a gwragedd, plant, gweision a dieithraid. Am droseddi a thorri yr hwn ddiwarnod fe ddangosodd Duw ei fod yn ddig dros ben: fal y gellir gweled wrth yr hwn am gynull briwydd a'r y dydd Sabaoth a labyddiwyd i farwolaeth. Ond och er hyn oll blin yw edrych ar eofnder annuwiol llawer o rai, ac a fynnant ei cyfrif yn bobl Dduw, y rhai ni ofalant byth am gadw'r sul.

Mae'r bobl hyn a ddau fath, y naill or bydd

 gan-

ganthynt vn neges i'w wneuthur, ni arbedant hono er y sul: er na bo anghenrhaid mawr, rhaid iddynt farchogaeth ac ymdaith ar y sul, rhaid iddynt gywain a chludo ar y sul, rhaid iddynt rwyfo a myned dros afonydd a'r y sul, rhaid iddynt brynu a gwerthu ar y sul, rhaid iddynt gadw ffairiau a marchnadoedd ar y sul: yn ddiwethaf maent yn arfer pob dydd yn gyffelyb, mae dyddiau gwyl a dyddiau gwaith yn yr vn modd.

Mae'r fath arall etto yn waeth, o herwydd er na fynnant drafaelu na llafurio ar y sul fal y maent hwy'n gwneuthur ddiwarnodau genol wythnos, etto ni orphwysant hwy mewn sancteiddrwydd megis y mae Duw yn gorchymmyn: ond maent yn gorphwys mewn annuwioldeb a brynti, gan ymhoywi ac ymrodresu yn eu balchedd, gwingo ac ymbingcio, peintio a lliwio eu hunain i fod yn
Bert. wych ac yn *DDillyn, maent hwy'n gorphwys mewn gormodd a rhylanw, mewn glodineb a meddwdod, megis moch a llygod, maent yn gorphwys mewn ymdaeru ac ymryson, mewn cwarelu ac ymladd: maent yn gorphwys mewn drythyllwch a choegchwedleua, ac mewn cnawdolrwydd brwnt: fal y mae yn rhy eglur fod yn dianrhydeddu Duw yn fwy, ac yn gwasanaethu'r diawl yn well ddie sul nag ar vn diwarnod o'r wythnos heb ei law ef. A byddwch siccr fod yr anifeiliaid y rhai y gorchymmynnir iddynt orphywys ar y sul yn anrhydeddu Duw yn well na'r bobl ymma.

O herwydd nid ydynt hwy yn digio Duw nac yn torri'r dyddiau gwyl. Am hynny o chwi bobl Dduw gosodwch eich dwylaw ar eich calonnau, edifarhewch a gwellhewch yr annuwioldeb blin-

Sabath hwn: ofnwch orchymmyn Duw a chanlynwch siampl Duw ei hun yn llawen: na fyddwch anufyddgar i dduwiol drefn Eglwys Grist, a arferwyd ac a gadwyd o amser yr Apostolion hyd y dydd heddyw: ofnwch ddigofaint a chyfiawn bla-au yr holl-alluog Dduw, os chwi a fyddwch esceulus ac heb wachelyd trafaelu a llafurio ar y Sabaoth neu'r dydd sul, heb arfer o ymgynull ynghyd i fendithio ac i fawrygu bendigedig enw Duw mewn fynctectiddr wydd esmwyth, a pharch duwiol.

Yn awr am y lle yn yr hwn y dylyai bobl Dduw ymgynull ynghyd, ac yn yr hwn y dylyent yn enwedig gynnal a chadw a sancteiddio'r Sabaoth, hynny yw y sul, dydd gorphwysfa sanctaidd: fe elwir y lle hwnnw yn deml neu Eglwys Dduw: am fod cynulleidfa bobl Dduw (yr hon yn briodol a elwir yr Eglwys) yn ymgynull yno ar y dyddiau gosodedig i'r cyfryw ymgynull a chyfarfod. Ac yn gymmaint a darfod i'r holl-alluog Dduw osod amser nodedig i'w anrhydeddu arno, fe ddylyai fod lle gosodedig i'r bobl ymma i ymgynull a chyfarfod i wasanaethu eu Duw grasol a'u Tad trugarog.

Gwir yw nad oedd gan y Patriarchau sanctaidd dros lawer o flynyddoedd na theml nac Eglwys i fyned iddi. Yr achos oedd am nad oedd ganthynt arhosfa yn un lle, ond mewn pererindod a chrwydrad parhaus yr oeddynt, fal na allent yn gyfaddas wneuthur un Eglwys. Ond er cynted y daroedd i Dduw ryddhau ei bobl o ddwylaw eu gelynnion, a'u gosod mewn peth rhydddid yn yr anialwch, fe a osododd i fynu iddynt dabernacl gwerthfawr gwych, yr hwn oedd megis

gis yr Eglwys blwyf, yn lle i'r holl gynulleidfa
yngyfarfod, i wneuthur eu haberthau yndo, ac
i arfer cadwedigaethau a deddfau eraill.

Hefyd gwedy i Dduw yn ol gwirionedd ei a-
ddewid, osod ei bobl yn llonydd yn nhir Canaan,
yr hon a elwir yn awr Iudæa, fe a orchymmyn-
nodd i frenin Salomon wneuthur iddo deml
fawr odidawg, o'r fath na welwyd onid weith-
au: teml gwedy ei threwsio a'i harddu mor wych
ac mor deg, ag oedd weddus a chyfaddas i bobl yr
amser hynny: y rhai ni lithed ac ni chyffroed a dim
yn gymmaint ac a'r fath bethau gwychion hardd
oddifoes. Hon yr amser hynny oedd deml Dduw,
gwedy ei chyfoethogi a llawer o roddion, a ha-
giad mawr o addewidion, hon oedd Eglwys blwy-
yf a mam Eglwys yr holl Iddewaeth.

Ymma yr anrhydeddid ac a gwasanaethid
Duw. Ymma yr oedd holl drigolion teyrnas yr
Israeliaid yn rhwymedig i ddyfod ar dair gwyl
arbennig yn y flwyddyn, i wasanaethu eu Harg-
lwydd Dduw ymma. Ond awn yn ein blaen,
nid oedd etto yn amser Christ a'i Apostolion ddim
Temlau neu eglwysydd i Gristionogion iddyn
ddynt. O herwydd paham? yr oeddynt yn wastad
fynychaf mewn erlidfa trallod a blinder, fal na
allent gael na rhydd-did na chennad i'r defnydd
hwnnw. Etto yr ydoedd yn hoff iawn gan Dduw
eu bod hwy yn fynych yn yngyfarfod ynghyd i
un lle. Ac am hynny yn ol ei ascenniad ef hwy a
arhosasant weithiau ynghyd mewn ystafell oddiu-
chod, weithiau hwy aethont i'r Deml, weithiau i'r
Synagogau, weithiau yr oeddynt yngharchar,
weithiau yn eu tai, weithiau yn y maesydd, &c.

Ac fe barhaodd hyn nes i ffydd Grist Iesu dde-

chreu amlhau mewn rhan fawr o'r byd. Yn awr gwedy cadarnhau llawer o deyrnasoedd mewn gwir grefydd Duw a chwedy i Dduw roddi iddynt heddwch a llonyddwch, yno y dechreuodd brenhinioedd penaethiaid a'r bobl gwedy eu cyffro a zeal a chynhesrwydd duwiol wneuthur eglwysydd a themlau, i'r rhai y gallai y bobl ymgrynhoi yn well ynghyd, i wneuthur eu dyled tuag at Dduw ac i gadw yn sanctaidd y dydd Sabaoth, diwarnod eu gorphwyssa.

Ac i'r Temlau hyn yr arfere y Christionogion oddyfod o amser yn amser, megis i leoed cyfathas lle gallent yn gytun ymarfer o foliannu ac o fawrhau enw Duw, gan rhoddi iddo ddiolch am y donniau y mae fe beunydd yn eu harllwys arnynt yn drugarog ac yn aml: lle gallent hefyd wrando darllen agoryd a phregethu ei sanctaidd air ef yn gywir, a derbyn ei sanctaidd Sacramentau ef a finistred iddent yn bur ac yn ddyledus.

Gwir yw mai Temlau enwediccaf ac odidawgaf Duw yn y rhai y mae ef yn ymlawenychu fwyaf ac yn hoffaf gantho drigo yndynt, ydyw cyrph ac eneidiau gwir Gristionogion, a dewisol bobl Dduw: yn ol athrawiaeth yr Scruthyrau sanctaidd y fanegwyd trwy S. Pawl. Oni wyddoch chwi medd ef mai Teml Dduw ydych chwi a bod Yspryd Duw yn aros ynoch, mae Teml Dduw yn sanctaidd yr hon ydych chwi. 1.Cor.1.3.

Athrachefn yn yr un Epistol. Oni wyddoch mai Teml yr Yspryd glân ydyw eich cyrph chwi yr hwn sydd yn aros ynoch, os o Dduw yr ydych, ac nad ydych eiddo chwi eich hunain. Etto er hyn mae Duw yn fodlon i'r deml ddefnyddiol yr hon a wnair a chalch a cherrig (cy fynyched ac y delo y 1.Cor.6.

bobl ynghyd i foliannu ei enw sanctaidd ef) i fod yn dy iddo ef ac yn lle yn yr hwn yr addawodd Duw fod yn bresennol a gwrando gweddiau y rhai a alwant arno.

Yr hwn beth y mae Christ a'i Apostolion a phawb eraill o'r tadau sanctaidd yn ei fanegi trwy hyn yn oleu: o achos er eu bod hwy yn gwybod yn hyspysol y gwrandawid eu gweddiau hwy, pa le bynnac y gwnelid hwy, pe byddai hynny mewn gogofau, mewn coedydd ac yn yr anialwch, etto cyn fynyched ac y gallent, hwy arferent ddyfod i'r Temlau defnyddiol i ymgydsylltu yno gyda'r gynulleidfa mewn gweddi a gwir addoliad. Y sawl am hynny o honoch fy anwyl garedigion a sydd yn addef bod eich hunain yn Gristionogion, ac yn ymogoneddu yn yr enw hwnnw, na ddiystyrwch ganlyn siampl eich meistr Christ, yscolheigion yr hwn yr ydych yn dywedyd eich bod: dangoswch eich bod yn debyg i'r rhai y cymmerwch arnoch fod yn gydmeithion yscol iddynt: hynny yw Apostolion a discyblion Christ. Cyfodwch i fynu ddwylaw pur a chalonnau glân ymhob lle a phob amser. Ond gwnewch hynny hefyd yn y Temlau a'r Eglwysydd ar y dydd Sabaoth. Nid arbedodd ein blaenoriaid duwiol ni, a'n hên dadau ni o'r brif Eglwys gynt ei da i adail Eglwysydd, ie mewn amseroedd erlid nid arbedasant eu bywyd, ie a fentro eu gwaed er mwyn ymgynull ynghyd i'r Eglwysydd.

Ac y arbedwn ni ychydig o boen i ddyfod i'r Eglwysydd? Oni chyffro na'i siampl hwy, n'a'n dlyed ni, na'r ennill a gawn ni o hynny ni? os dangoswn fod ynom wir ofn Duw, os dangoswn ein hunain yn wir Gristionogion, os by-

ddwn

ddodaſ gantynwyr ein meiſtr Chriſt a'r tadau du-
wiol y rhai a fuont o'n blaen ni, ac yn awr a
dderbynaſant wyr gwir Griſtionogion ffydd-
lon, mae'n rhaid ini yn ewyllyſgar ac yn ddiſrif
ac yn barchus ddyſod i'r Egliwyſydd a'r Temlau
deſnyddiol i weddio: megis i leoedd gweddaidd
gwedy eu goſod i'r deſnydd hynny, a hynny a'r y
dydd Sabaoth: megis yr amſer weddulaf i bobl
Dduw orphwys oddiwrth eu holl lafur corphorol
bydol: ac i'w rhoi eu hunain i orphwyſfa ſanc-
taidd a duwiol fefyrdod, a'r y pethau a berthy-
nant i waſanaeth holl-alluog Dduw: trwy'r hyn
y gallwn ein cymmodi ein hunain a Duw, bod
yn gyfranogion oi Sacramentau parchus ef, ac
yn wrandawyr duwiol oi ſanctaidd air ef, er mwyn
cael felly ein cadarhau mewn ffydd tuag at
Dduw, mewn gobaith yn erbyn pob gwrthwy-
neb, ac mewn cariad at ein cymydogion. Ac wrth
rhedeg fal hyn ein rhedegfa, megis pobl ddaionus
Griſtionogawl y gallom yn y diwedd feddiannu
gobrwy gogoniant tragwyddol, trwy haeddiant
ein Iachawdwr Ieſu Griſt: i'r hwn gyda'r Tâd
a'r Yſpryd ſanctaidd y bytho holl anrhydedd a
gogoniant. Amen.

¶ Yrail rhan o'r bregeth am le
ac amſer gweddi.



E ddangoſwyd i chwi bobl
Griſtionogaidd ddaionus yn y
bregeth a ddarllenwyd i chwi o'r
blaen, ar pa amſer ac ymha le y
dylyech ddyſod ynghyd i folian-
nu Duw.

Yn awr yr ydwyf yn bwriadu

 goſod

gosod ymlaen eich llygaid yn gyntaf mor gyflawn o wael ac mor ewyllysgar y dlyech fod i ddyfod i'r Eglwys.

Yn ail faint yw digofaint Duw yn erbyn y thai a ddiystyrant ac sydd fychan ganthynt am ddyfod i'r Eglwys ar sanctaidd ddiwarnod yr orphwysfa. Y mae'n eglur wrth yr Scrythyrau i lawer o'r Israeliaid duwiol a hwy yn awr mewn cathiwed am eu pechodau ym hlith y Babiloniaid chwennych a dymuno'n fynych eu bod yn Jerusalem ailwaith: ac ar eu dyfodiad hwy yn eu hol trwy ddaioni Duw, er bod llawer o'r bobl yn esgaelus: etto yr oedd y tadau yn dduwyfol iawn i adailadu y deml, fal y galle bobl Dduw ddyfod yno i'w anrhydeddu ef.

Ddeol. A phan oedd Dafydd gwedy ei * alltudio o'i wlad ei hun, o Jerusalem y ddinas sanctaidd, o'r gyssegrfa a'r lle sanctaidd, ac o Babell Duw: pa ddamuniad, pa wres oedd ynddo tuag at y lle sanctaidd hwnnw? Pa ddeisyfiadau, pa weddiau y wnaeth ef at Dduw ar gael bod yn drigiannol ynhŷ yr Arglwydd? Un peth a geisiais gan yr Ar-

Psal.132. glwydd a hynny y ddymunaf sef gallu myned i dŷ yr Arglwydd yr hyd y byddwyf byw. Ac ailwaith llawenychais pan ddywedent wrthyf awn i dŷ

Psal.138.2. yr Arglwydd.

Ac mewn mannau eraill o'r Psalmau mae fe'n manegi pa fwriad a pha fryd sydd gantho, wrth ddymuno mor chwannog ddyfod i deml ac i Eg-

Psal.63.2. lwys yr Arglwydd: Ymgrymmaf medd ef ac addolaf tua'th demi sanctaidd. Ac ailwaith mi a ddaethym i'th gyssegrfa yno y gwelais dy allu a'th ogoniant, yno y gwelais dy fawrhydi a'th ogoniant. Ac yn ddiwethaf mae fe'n dywedyd manegaf dy

enw-

enw i'm brodyr ynghenol y gynulleidfa yth folaf.
Paham am hynny yr ydoedd gan Ddafydd y fath ddymuniad mawr ar dŷ yr Arglwydd? Psal.21.22.

Yn gyntaf er mwyn cael yno addoli ac anrhydeddu Duw.

Yr ail yno y mynnai syllio ac edrych ar allu a gogoniant Duw.

Yn drydedd yno y moliannai enw Duw gyda holl gynulleidfa ei bobl ef. Y fath achosion y rhai y mae y bendigedig Brophwyd yn eu cofio a ddylent ein cyffro ninnau, ac ennynnu ynom y fath ddymuniaid sanctaidd difrif, am ddyfod i'r Eglwys, yn enwedig ar ddiwarnodau gorphwyffa sanctaidd, i wneuthur yno ein dyled ac i wasanaethu Duw, er mwyn cofio yno pa fodd y mae Duw o'i drugaredd ac er gogoniant ei enw yn gweithio yn alluog ein cadw ni mewn Iachadwriaeth a duwioldeb ac oddiwrth greulondeb a chyndairiogrwydd ein gelyn creulon, ac yno'n llawen ym-hlith rhifedi ei bobl ffyddlon ef i glodfori ac i fawrygu ei enw sanctaidd ef.

Gosodwch ymlaen eich llygaid yr hên dâd Simeon am yr hwn er ei fawr glod ef ac er ein hannog ninnau i'r fath beth y dywed yr Scruthyrau sanctaidd hyn. Wele yr oedd gwr cyfion duwiol yn Jerusalem a'i enw Simeon yn discwyl am ddiddanwch yr Israel a'r Yspryd glan oedd arno ac yr ydoedd gwedy ei rhebyddio gan yr Yspryd glan na wele fe angau cyn iddo weled Christ yr Arglwydd: fe ddaith trwy'r Yspryd i'r deml.

Yn y deml y cyflawnwyd yr addewid, yn y deml y gwelodd ef Grist ac a'i cymmerodd yn ei freichiau, ac yn y deml y torrodd ef allan i fawr foliant Duw ei Arglwydd. Ac nid oedd Anna hen

Prophwydes weddw, yn myned allan o'r deml, gan ymroi i weddi ac ympryd ddydd a nos, a hi yn dyfod hefyd yngylch yr vn amser a gyfarwydd-wyd gan yr Yspryd ac a gyffesodd ac a ddywedodd am yr Arglwydd, wrth bawb a edrychent am bryn-nedigaeth Israel. Ni thorrwyd a'r gwr a'r wraig fendigaid hon am y mawr ffrwyth, ennill, a di-ddanwch, yr hwn a ddanfonodd Duw iddynt, trwy eu dyfal ddyfodiad hwy i sanctaidd Deml Dduw. Yn awr y cewch glywed mor ddig y fu Dduw wrth ei bobl am ddiystyru ei deml ef a'i dirmygu neu chamarfer hi yn gas.

Yr hyn beth sydd yn ymddangos yn oleu wrth y plaau a'r poenedigaethau hynod y osododd Duw ar ei bobl: yn enwedig wrth hyn, iddo gy-ffro eu gwrthnebwyr hwy i ffusto i lawr, ac i ddi-nistr yn llwyr ei deml sanctaidd ef, ag anghyfa-neddrwydd tragwyddol.

Och pa sawl Eglwys gwlad a theyrnas, eiddo Gristionogawl bobl yn hwyr o amser, a dynnwyd i lawr, a rhedwyd drostynt, a adawad yn anghy-fannedd, a blin ac aneirif dyronaeth a chreulon-deb gelyn ein Harglwydd ni Christ y twrc mawr: yr hwn * a fflangellodd y Christionogion mor gy-ffredinol na chlywad er ioed son, ac na ddarllen-wyd am y fath? Er ynghylchon pedwar igain mlynedd fe a orescynnodd y Twrc mawr ac a or-mesiodd ac a ddug dan ei lywodraeth a'i gaethi-wed igain o deyrnasodd Christionogaidd, gan drof 'r bobl o ffydd Grist a'u gwenwyno hwy a chrefydd ddiawlig Mahomet felltigedig, a chan y naill ai distrywio eu eglwysydd hwy yn hollol, a eu ca-marfer hwy yn frwnt, a'i gamsynnaeth melltigedig cas ef.

* Whippodd.

Ac yn awr mae'r Twrc mawr hwn y fflangell chwerw dost hon o ddial Duw, yn gyfagos i'r rhan hon o Gristionogaeth hefyd, yn Europ ar gyffiniau Itali, ar gyffiniau Germani, yn agor ei enau yn barod i'n llyncu ni, i orescin ein gwlad ni, ac i ddistriwio ein eglwysydd ninnau hefyd, onid edifarhawn ni am ein bywyd pechadurus, a dyfod i'r Eglwys yn ddiescaelusach, i anrhydeddu Duw, i ddyscu ac i gyflawni ei ewyllys bendigedig ef.

Fe annogodd yr Iddewon yn eu hamser hwy yn gyfion lid Duw yn eu herbyn, o herwydd iddynt mewn rhan gamarfer ei Deml sanctaidd ef, a delw-addoliad cas y cenhedloedd, ac ofergoelus ofereddau eu dychmygion hwy eu hunain yn erbyn gorchymmyn Duw. Ac mewn rhan o herwydd eu bod hwy yn arfer o ddyfod iddi megis ragrithwyr gwedy llygru a'u trabaeddu a'u halogi'n anferth, a phob rhyw ddrygioni, a bywyd pechadurus: ac mewn rhan yr oedd llawer honynt yn diystyru 'r Deml sanctaidd, ac nid oedd waeth ganthynt pa un a wnelent ai dyfod yno ai peidio.

Ac oni annogodd y Christionogion yn hwyr o amser, ie ac yn ein dyddiau ni hefyd, yn yr un modd ddigofaint a llid yr Holl-alluog Dduw? Mewn rhan am iddynt anurddo a halogi eu Eglwysydd, a chamarferon cenhedlaidd Iddewaidd, a delwau ac eulynod: a llawer o allorau gwedy eu camarfer yn ofergoelus ac yn aruthr, a chamarfer yn annial, a llygru yn angharhuaidd, sanctaidd Swpper yr Arglwydd, bendigedig Sacrament ei gorph ef a'i waed, a rhifedi aneirif o wagedd ac oferedd o'u dychmygion hwy eu hunain, i wneuthur go-

lwg

lwg deg wych oddi allan, ac i anffurfio gostyngedig ddilynwi a phur grefydd Christ Iesu: mewn rhan maent yn dyfod i'r Eglwys fal ragrithwyr yn llawn o anwiredd a bywyd pechadurus, a meddwl a chred ofer enbaid ganthynt, os hwy a ddaw i'r Eglwys ac a *dascir arnynt ddwfr bendigaid, o gwrandawant offeren, ac o bendigir hwy a'r caregl, er na ddeallant vn gair o'r gwasanaeth ac er na chlywant vn cyffro i etifeirwch yn eu calonnau, etto fod pob peth yn dda ddigon.

*Dacnellir.

Ffi ar y fath watwar a dirmyg a'r sanctaidd ordeiniaeth Duw. Fe wnaethpwyd eglwysydd er defnydd arall, hynny yw i ddyfod yno i wasanaethu Duw yn gywir, i ddyscu ei sanctaidd ewyllys ef, i alw a'r ei alluog enw efe, i arfer i sanctaidd Sacramentau ef, i ymegnio ac i fod mewn cariad perffaith a'th gymydog, i gofio yno dy gymydog tlawd anghenus, ac i fyned oddi yno yn well ac yn dduwiolach nag y daethosti yno.

Yn ddiwethaf fe annogwyd ac a annogir beunydd lid Duw, am nad gwaeth gan lawer o bobl am ddyfod i'r Eglwys, naill ai am eu bod gwedy eu dallu mor ffin na fedrant ddeall dim am Dduw na duwioldeb, ac nad gwaeth ganthynt er rhwystro eu cymydogion trwy siampl ddiawlig, neu am eu bod hwy yn gweled yr Eglwys gwedy ei hyscubo o'r olwg wych yn y rhai yr ymhoffe eu ffansiau hwy yn fawr, am eu bod hwy yn gweled gau grefydd gwedy ei throi heibio, a gwir grefydd gwedy ei hadferu ailwaith: yr hyn y sydd beth diflas i'w hanflasus flas hwy: fal y mae'n eglur wrth yr hyn y ddywad rhyw wraig wrth ei chymydoges. Och gofib beth a wnawn ni yn yr Eglwys yn awr, gan fod yr holl saint gwedy eu tyn-

nu

nu ymmaith, gan fod yr holl olwg hardd yr oe-
ddynt arferedig o'i gweled gwedy myned ymma-
ith, gan na chawn ni glywed y fath ganu a chware
a'r yr Organ a glywsom ni cyn hyn.

Ond fyngharedigion mae i ni achos mawr i
lawenychu ac i rhoddi diolch i Dduw, fod ein he-
glwys gwedy i rhyddhau oddiwrth yr holl bethau
ac a anfodlonent Dduw, ac a nurddent ei dy san-
ctaidd ef a lle gweddi, mo'r wradwyddus, am yr
hyn y dinistrodd ef yn gyfion lawer o genhedlae-
thau, yn ol dywedydiad S. Pawl. Os llygra neb 1.Cor.3.17.
deml Dduw fe a'i llygra Duw yntef.

Ac fal hyn y dylem ni folianu Duw yn fawr-
am ddarfod diddymmu yn hollol fal y haeddant yn
gywir yr holl arferon delw-addolaidd ofergoe-
lus, y rhai oeddynt yn llwyr ddrwg ac a ddifwy-
nent ogoniant Duw: ac etto fe gadwir yn we-
ddaidd yn yr Eglwysydd yn arferol y pethau oll
trwy y rhai yr anrhydeddir Duw, neu yr adeila-
dir ei bobl ef. Ond yn awr am eich bod chwi yn
deall mai ewyllys Duw yn hollol yw y chwi
ddyfod i'r Eglwys, a'r ddiwarnodau gorphwysfa
fancteiddi, yn gyttunaint ac bod yn clywed pa ddi-
gofaint y mae Duw yn ei gymmeryd, a pha blasu
y mae'n eu harllwys ar ei bobl anufyddgar: lle
yr ydych yn gweled pa fendithion y mae Duw yn
eu rhoddi, a pha radau nefol sydd yn dyfodi'r fath
bobl, ac a arferant o ddyfod i'w eglwysydd yn e-
wyllysgar. Ac mewn zeal gan fod yn awr yn eich
gwahodd chwi, yn garedig ac yn eich galw chwi
yn gytun: gwagelwch na ddiogwch wneuthur
eich dyled na edwch i ddim eich rhwystro chwi ar
ol hyn i ddyfod i'r Eglwys, ar yr amseroedd a oso-
dir ac a orchymmynir i chwi ddyfod.

Mae

Luc 14.16. Mae'n Iachawdwr Christ yn dywedyd mewn dammeg ddarfod arlwy gwledd fawr a gwahodd llawer, i lawer escuso eu hunain ac na ddawent. Yr ydwyf yn dywedyd wrthych medd Christ na chaiff yr un o'r gwyr hynny a wahoddwyd brofi o'm swpper i. Y wledd fawr hon yw gwir grefydd yr holl-alluog Dduw â'r hon y myn ef ei addoli, a dyledus dderbyniad ei Sacramentau, a gwir bregethiad a gwrandawiad ei sanctaidd air, ac arfer o'u gwneuthur mewn ymarweddiad duwiol. Yr ydys yn awr yn arlwyo'r wledd hon yn yr Eglwys, ty gwledd yr Arglwydd. Yr ydys yn eich galw ac yn eich gwawdd chwi ynghyd yno: os gwrthodwch ddyfod ac os chwi a wnewch escuson, fe wnair yr un atteb ichwi ac a wnaethpwyd iddynt hwythau.

Dewch am hynny yn awr fyngharedigion, a dewch heb oedi, a dewch i mewn yn llawen i ddygweddi Duw, a byddwch gyfranogion o'r donniau a arlwyodd ac a ddarparodd ef i chwi. Ond edrychwch eich bod yn dyfod ymma a'ch trwsiad gwyl, nid a gwrthwynebrwydd megis pe byddai well gennych beidio na dyfod. pe byddych ar eich dewis. O herwydd mae Duw yn casau ac yn cospi y fath ffugiol ragrithwyr, fal y mae yn eglur wrth ddammeg Christ yn y blaen. Y cyfaill medd

Math 22.12. Duw pa fodd y doethost i mewn ymma heb gennid wisc briodas am danad, ac am hynny fe orchymmynnodd i'w weision rwymo ei draed ef a'i ddwylo, a'i daflu i'r tywyllwch eithaf, lle bydd wylofain ac yscyrnygu dannedd. Am hynny fal y galloch wagelyd y fath enbeidrwydd ar law Dduw, dewch i'r Eglwys y diwarnodau gwyl a dewch yn eich gwisc briodas, hynny yw dewch a meddwl

llawen

llawen duwiol, dewch i geisio gogoniant Duw, ac i fod yn ddiolchus iddo ef, dewch i fod yn un a'ch cymydogion ac i fyned i gyfaillach a chariad a hwynt hwy.

Ystyria fod dy holl orchwylion yn drewi ger bron Duw, oni byddi mewn cariad a'th gymydogion. Dewch a chalon gwedy ei charthu a'i glanhau oddiwrth bob chwantau a dymuniadau bydol cnawdol. Yscydiwch ymmaith bob meddyliau ofer y rhai a allant eich rhwystro chwi oddiwrth wir wasanaeth Duw. Mae'r aderyn pan hedfano'n escydwyd ei hadanedd. Ymmyscyd wa, darpara dy hun i hedfan yn uwch nâ holl adar yr awyr, fal yn ol gwneuthur dy ddyled yn ddyledus yn y deml ar Eglwys ddayarol hon, y gallech hedfan i fynu a chael dy dderbyn i ogoneddus deml Duw yn y nef, trwy Jesu Grist ein Harglwydd, i'r hwn gydâ'r Tâd a'r Yspryd glân y bytho holl ogoniant ac anrhydedd, yn oes oesoedd. Amen.

## ¶ Pregeth yn yr hon y manegir y dylyid ministro gweddi gyhoeddus a'r Sacramentau mewn iaith a ddealler gan y gwrandawyr.



Mhlith aml arferon pobl Dduw Gristionogion anwyl, nid oes un anghenrheitiach i bob stat ac i bob amser nâ gweddi gyhoeddus, a dyledus arfer y Sacramentau: o herwydd yn y cyntaf yr ydym yn ceisio oddiar law Duw yr holl bethau y rhai heb hyn, ni allen gael mo honynt.

nynt. Ac yn ail y mae fe yn ein breicheidio ni, ac yn ei gynnig ei hun i ninnau i'w fraicheidio.

Am hynny a ni yn gwybod fod y ddwy arfer hynny mor angenrhaid ini, na thybyg'wn fod yn anweddus ini ystyried, yn gyntaf pa beth yw g'weddi a pha beth yw ſacrament: ac yno pa ſawl rhyw a'r weddi ſydd, a pha ſawl Sacrament, ac felly y dealltwn ni yn well pa fodd y iawn arferwn ni hwynt. Er g'wybod pa beth ydynt mae S. Awstin yn y llyfr am yr Yspryd a'r enaid yn dywedyd fal hyn am weddi. Gweddi, medd ef, yw dwysfoddeb y meddwl: hynny yw ymchwel at Dduw trwy ddymunad duwiol gostyngedig: yr hon ddymuniad yw diogel ac ewyllysgar a melus ogwyddiad y meddwl ei hun at Dduw. Ac yn ei ail lyfr yn erbyn g'wrthwynebwyr y gyfraith a'r Prophwydi y mae fe'n galw y Sacramentau yn arwyddion ſanctaidd. Ac wrth ſcrifennu at Bonifacius am fedydd plant bychain y dywaid: oni bai fod yn y Sacramentau Rhyw gyffelybaeth i'r pethau y maent yn Sacramentau honynt ni byddent Sacramentau m'wy. Ac o'r gyffelybaeth honno maent o'r rhan fwyaf yn derbyn enwau y pethau eu hunain y maent yn eu harwyddoccau. Wrth y gairiau hyn o S. Awstyn mae'n eglur ei fod ef yn fodlon i ddeffiniad neu ddeſcribiad arferol Sacrament, hynny yw, ei fod ef yn arwydd weledig o rad anweledig, hynny yw yr hon ſydd yn gosodd allan i'r llygaid a'r ſynwyrau eraill oddi allan o'ch'wyl trugaredd rad Duw, ac ſydd megis yn ſelio yn ein calonnau ni addewidion Duw.

Aug. de ſpirit. & anima.

Aug. li. 2. cont. aduerſ. legis & prophetar.

Auguſt. ad Bonifac.

Ac felly yr ydoedd yr enwaediad yn Sacrament, yr hwn a bregethodd i'r ſynhwyrau oddi allan

enwa-

[illegible] y galon ddifrifion, ac a i selodd ac a ddi-
ogelhaodd ynghalonnau 'r enwaededig, addewi-
dion Duw ynghylch yr hâd a addawsid ac a ddy-
ched am dano.

Yn awr edrychwn pa sawl rhyw a'r weddi sy, a
pha sawl Sacrament y sydd. Yr ydym ni yn darllen
yn yr Scruthur am ddau rhyw o weddi, o'r rhai y
mae vn'n neullduol ac vn yn gyhoeddus.

Y cyntaf yw'r hon y mae Pawl yn son am deni
yn ei Epistl at Timothi gan ddywedyd: Mi a fyn-
awn i wyr weddio ymhob man gan dderchafu
dwylo purion heb ddigter nag ymryson. A hon 1.Tim.2.8.
yw gwir a dyfal gyfodiad y meddwl at Dduw heb
draethu blinder a dymunad y calonnau trwy la-
ferudd yn gyhoeddus. O'r weddi hon y mae 'r si-
ampl yn llyfr Samuel am Hannah mam Sa- 1.Sam.1.13.
muel, pan weddioedd hi yn y deml yn hrymder ei
chalon, gan ddymuno cael ei gwneuthur yn ffrw-
ythlon. Wedd y dext yr ydodd hi yn gweddio yndi
ei hun a'i llaferudd ni chlywyd. Yn y dull hyn y
dylye'r holl Gristionogion weddio, nid unwaith
yn yr wythnos, neu unwaith yn y dydd, ond fal y
dywaid Pawl wrth scrifennu at y Thessaloniaid 1.Thes.5.7.
heb orphwys. Ac fal y mae S. Iaco 'n scrifennu, Iaco.5.16.
Llawer y ddychon gweddi 'r cyfion os ffrwythlon
y sydd hi.

Yr ail rhyw o weddi y sonnir am deni yn S.
Mathew, lle y dywedir fal hyn, Pan weddiech Math.6.6.
dos i'th stafell a chwedy cau dy ddrws gweddia ar
dy Dad yr hwn sydd yn y dirgel, a'th Dad yr hwn
a wel yn y dirgel a'th obrwya di yn yr amlwg. O'r
rhyw hon o weddi mae llawer siampl yn yr Scry-
thyrau sanctaidd: ond digon i ni adrodd un yr hon
sydd scrifennedig yn Actau 'r Apostolion. Mae

Cornelius gwr sanctaidd cantwriad o'r Italaidd
Act.10.30. fyddin, yn dywedyd wrth yr Apostol Peter, ag
yntef yn ei dy yn gweddio ynghylch y nawfed awr
ymddangos iddo fe un mewn dillad gwynnion,
&c. Fe weddiodd y gwr hwnnw at Dduw yn y dir-
gel, ac a obrwywyd yn yr amlwg. Dymma'r
ddwy rhyw weddiau dirgel. Y naill yn y meddwl,
hynny yw dwyfol dderchafiad y meddwl at
Dduw, a'r llall yn y llaferydd, hynny yw dirgel
adrodd blinderau a dymuniadau 'r galon mewn
geiriau, ond etto mewn stafell ddirgel; neu rhyw
le neullduol.

Yr ail rhyw o weddi sydd gyffredinol neu gyho-
eddus. Am y weddi hon y son ein Iachawdwr
Christ, pan mae fe 'n dywedyd. Os cytuna dau o
hanoch ar y ddayar am ddim oll beth bynnac a
ddeisyfant rhoddir iddynt gan fynhad yr hwn sydd
yn y nefoedd. Canis ymhale bynnac yr ymgynu-
llo dau neu dri yn fy enw i, yno yr ydwyf fi yn eu
mysc hwynt. Er i Dduw addo 'n gwrando ni pan
weddiom yn y dirgel trwy wneuthur hynny yn
Psal.50.15. ffyddlon ac yn dduwiol: O herwydd mae fe 'n dy-
wedyd galw arnafi yn nydd trallod yno mi a'th
wrandawaf.

Ac medd S. Iaco ac Elias yn wr marwol fe
Iac.5.17. weddiodd ac ni bu law dros dair blynedd a chwe-
mis, ac fe a weddiodd drachefn ac fe rhoddes y nef
ei glaw. Etto mae 'n eglur wrth histoziau y bibl
fod gweddi gyffredinol yn rymmusach ger bron
Duw, ac am hynny y dylyed galaru yn fawr na
wnair rhagor gyfrif honi hi, yn ein mysc ni y rhai
ydym yn addef ein bod yn un corph ynghrist.

Pan fygythwyd dinistr dinas Niniui o fewn
deigain diwarnod. Fe gydsylltodd y brenin a'i
bobl



bobl eu hunain mewn gweddi ac ympryd; ac hwy a waredwyd. Fe orchymmynodd Duw yn y Prophwyd Ioel gyhoeddi ympryd, ac i'r bobl hen a iauainc, gwyr a gwragedd, ymgynull ynghyd, a dywedyd ac un llaferydd: arbed dy bobl Arglwydd ac na ddyro dy etifeddiaeth i warth: a phan oeddid er fedr difa'r Iddewon oll mewn undiwarnod trwy genfigen Haaman, wrth orchymmyn Hester hwy a ymprydiasant ac a weddiasant, ac hwy a waredwyd: pan warchaeodd Holophernes Bethulia, wrth gyngor Iudith hwy ymprydiasant ac a weddiasant ac hwy a rhyddhawd. Pan ydoedd yr Apostol Peter yngharchar fe ymgyssylltodd y gynulleidfa ynghyd mewn gweddi ac fe waredwyd Peter mewn modd rhyfedd. Ionas.3. Ioel.2.12,16. Hest.4.16,17. Iudith.8.14. Act.12.5.

Wrth yr historiau hynny mae'n eglur fod gweddi gyffredinol gyhoeddus yn rymmus iawn i fwynhau trugaredd, ac ymwared oddiar law ein Tad nefol. Am hynny fymrodyr yr atolygaf i chwi er mwyn tirion drugaredd Duw, na fyddwn mwy yn escaelus yn hyn o beth: ond megis pobl a fyddant ewyllysgar i dderbyn ar law Duw y fath bethau, y rhai y mae gweddi gyffredinol yr Eglwys yn eu ceisio, ymgyssylltwn ynghyd yn y lle a osodwyd i weddi gyhoeddus, ac ag un galon ceisiwn gan ein Tad nefol yr holl bethau a wyr ef eu bod yn anghenrhaid ini.

Nid ydywyf yn gwahardd gweddiau dirgel i chwi, ond yr ydwyf yn eich annog i wneuthur cymmaint cyfrif a gweddi gyhoeddus ac y mae hi'n haeddu. Ac ymlaen pob peth byddwch sicer yn y tair rhyw hon o weddi fod eich meddyliau gwedy eu cyfodi yn ddwyfol at Dduw, ac onid ef ni bydd eich gweddiau onid diffrwyth, ac fe wir-

Esa.29.13.
Math.15.8.

hairynoch rhiwl yr ymadrodd hyn: mae y bobl hyn yn nesau attaf a'u genauau a'u calonnau ymhell oddi wrthyf. Nedd hyn am y fath rhyw gweddi am y rhai y darllenwn yn yr Scrythur lân.

Yn awr a'r un fath neu fal o airiau y cewch glywed pa sawl Sacrament sydd gwedy i ein Iachawdwr Christ eu gosod, ac a ddylent barhau a'u derbyn gan bob Christion mewn amser a threfn dyledus, ac am yr achos y mynnai ein Iachawdwr Christ im eu derbyn hwy. Ac am eu rhifedi hwy pe d ystyrid hwy yn ol gwir arwyddocad Sacrament: sef am yr arwyddion gweledig y rhai a orchymmynnir yn oleu yn y Testament newydd a'r rhai y cydsylltir addewid maddauant o'n pechodau yn rhad a'n sancteiddrwydd a'n cyssylltiad ni ynghrist: nid oes onid dau, bedydd a swpper yr Arglwydd. O herwydd er bod i ollyngdod addewid maddeuant pechodau etto nid oes wrth airiau eglur y Testament newydd, un addewid gwedy ei chlymmu a'i rhwymo a'r arwydd weledig yr hon yw gosodiad dwylaw.

O herwydd nid ydys yn y Testament newydd yn gorchymmyn yn oleu arfer gosod dwylo mewn gollyngdod fal yr ydys yn gorchymmyn yr arwyddion gweledig mewn bedydd a swpper yr Arglwydd: ac am hynny nid yw gollyngdod y fath sacrament ac yw bedydd a'r cymmyn. Ac er bod i wneuthurdeb offeiriad ei harwydd weledig a'i haddewid, etto mae erni ddiffyg addewid maddauant o bechodau: fal a'r yr holl Sacramentau eraill heblaw y rhai hyn, am hynny nid ydyw na honnag un Sacrament arall y fath Sacrament ac ydyw y bedydd a'r cymmyn. Ond mewn cymmeriad cyffredinol fe ellir rhoi enw Sacrament i

bob

holl peth trwy a hwnt yr arwyddocaant hyn pethau sanctaidd. Yn yr hwn gyfryw pethau yr hen [illegible] yr enw [illegible] nid yn unic i'r pump eraill, y rhai yn hwy o amser a gymmerid yn lle Sacramentau i wneuthur faith, ond hefyd i lawer o Ceremoniau eraill megis i olew, golchiad traed, a'r fath bethau, heb feddwl trwy hynny eu cyfrif hwy yn Sacramentau, yn yr ystyr ac y mae y ddau Sacrament a ddywedasom ni o'r blaen. Dionysius. Bernard de cœna Dom. & ablutione pedum.

Ac am hynny mae S. Awstin gan ystyried gwir ystyr ac iniawn ddeall y gair Sacrament, wrth scrifennu at Ianuarius, ac yn ei drydydd llyfr hefyd am yr athrawiaeth Gristionogawl, yn dywedyd fod Sacramentau y Christianogion yn amhell mewn rhifedi, ac yn odidawg mewn ystyr, ac yn y ddau le hynny mae fe'n eglur yn sôn am ddau, Bedydd, a Swpper yr Arglwydd. Aug. ad Ianuar. & De doct. Chri.

Ac er bod yn cynnal trwy drefn eglwys Loegr, heblaw y ddau hyn, ryw arferon a Ceremoniau ynghylch gwneuthur offeiriaid, priodas, a bedydd escob, gan holi plant am eu gwybodaeth mewn pyngciau ffydd, a chan gyssylltu â hynny weddiau'r Eglwys drostynt, ac hefyd am ymweliad y clâf: etto ni ddylyai neb gymmeryd y rhai hyn yn lle Sacramentau, yn yr ystyr a'r deall y cymmerir Bedydd a Swpper yr Arglwydd, ond naill a'i yn alwedigaethau duwiol o fywyd, angenrhaid yn Eglwys Grist, ac am hynny yn deilwng i'w gosod allan trwy weithred gyhoeddus gyffredinol gan wenidawg yr Eglwys: yntau a fernir eu bod yn gyfryw ordeiniaethau, ac a allant gynnorthwyo i athrawiaethu, diddanu, ac adailad Eglwys Ghrist.

Yn awr a ni gwedy deall pa beth yw gweddi, a

pha beth yw Sacrament, a pha sawl rhyw o weddi y sydd, a pha sawl Sacrament hefyd a osododd ein Iachawdwr Christ: edrychwn bellach a oddef yr Scruthyrau a siampl y brif-Eglwys gynt, weddi llaferydd (hynny yw, pan yw'r genau yn traethu rhyw ddeisyfiadau â'r llaferydd) neu finistro rhyw Sacramentau neu un rhyw weithred, neu Caeremoni gyffredinol gyhoeddus arall, yn perthyn at fudd ac adailadaeth y gynulleidfa dlawd, mewn tafod anghydnabyddus, yr hwnn ni ddeall na'r gwenhidawg na'r bobl: neu a ddylai un dyn arfer yn neilltuol weddi laferydd mewn iaith nis deall.

I'r cwestiwn hwn rhaid imi atteb, nas dylyai. Ac yn gyntaf am weddi gyffredinol a ministrad y sacramentau, er y perswadai rheswn ni yn hawdd (pe cai ein rheoli ni) y dlyem ni weddio'n gyhoeddus, a ministro y Sacramentau mewn iaith a ddealler, o herwydd mai gweddio'n gyffredinawl, yw bod i gynulleidfa bobl ofyn un peth, ag un llaferydd a chyfundeb meddwl; a ministro Sacramentau yw trwy'r gair a'r arwydd oddi allan, pregethu i'r derbynwyr anweledig ras Duw oddifewn: ac hefyd am osod yr arferon hyn, a'u bod fyth yn parhau, er mwyn dwyn ac gal i'r gynulleidfa o amser i amser, eu hundeb ynghrist, ac y dlyent fal aelodau o un corph mewn gweddi a phob modd arall geisio a chwenychu bod yn fudd ei gilydd, ac nid eu budd eu hunain heb ennill eraill. Etto nid rhaid imi redeg at reswn i brwfo y peth hyn, o herwydd bod gennym airiau eglur goleu'r Scruthur, ac hefyd gyfundeb yr scrifennyddion hynaf a dyscediccaf, yn cannoli gweddiau y gynulleidfa yn yr iaith a ddealler. Yn

gyntaf

[illegible] S. Pawl at y Corinthiaid yn erchi gwneuthur pob peth er adailadaeth: yr hyn ni [illegible] oni bydd y gweddiau a ministrad y Sacramentau mewn tafod cydnabyddus i'r bobl. O herwydd pan draetho'r offeiriad weddi, neu ministro y Sacramentau mewn geiriau na ddeallir gan y rhai sydd bresennol, ni ellir eu hadeiladu hwy. 1.Cor.14.26.

O herwydd megis os yr utcorn yn y maes, a rydd sain anhynod, ni all neb er wy hynny ymbaratoi i ryfel. Ac megis pan fytho offeryn cerdd yn gwneuthur sain ddiwahanol, ni wyr neb pa beth a genir. Felly pan fytho gweddi neu finistrad y Sacramentau mewn iaith anghynabyddus i'r gwrandawyr, pwy o hanynt a gyffroir i gyfodi ei feddwl at Dduw i geisio gyda'r gwenidawg gan Dduw y pethau y mae'r gwenidawg yn ei airiau a'i weddi yn eu gofyn? Neu pwy wrth finistro'r Sacramentau a ddeall pa rad anweledig a ddylyai y gwrandawyr ddymuno cael ei weithio yn y dyn oddufewn? yn wir neb. O herwydd fal y dywaid S. Pawl mae'r hwn a ddywedo mewn tafod anghydnabyddus yn estron i'r gwrandawyr, yr hyn sydd anweddus iawn mewn cynulleidfa Gristionogaidd.

O herwydd nid ydym estroniaid i'w gilydd, ond cyd-ddinaswyr â'r saint, ac o dylwydd Duw, ac aelodau yr un corph. Ac am hynny yr hyd y bytho'r gwenidog yn adrodd y weddi a wnair yn ein henwau ni i gyd, rhaid yw ini roddi clust i'r geiriau y mae fe'n eu hadrodd, ac yn ein calonnau ofyn ar law Duw, y pethau y mae fe mewn geiriau yn eu gofyn: ac i arwyddoccau ein bod, yn gwneuthur felly, yr ydym yn dywedyd Amen, ar ddiwedd Ephes.2 6.19. 1.Cor.10.7. 1.Cor.14.11.

ydd allu, a'i dodi yn eu gweddi Amen.

Mae y geiriau hyn a'u hamgylchiau, os ystyrir hwy yn dda, yn dangos yn olau, fod ym hyn unic yn darllen gweddi cyffredinol mewn iaith a ddeallid, ac fod yn gyffredin arfer y weddi yn yr eglwys yn amser faon yn amser Iustin.

Fe osododd Basilius Magnus, ac felly y gwnaeth Ioan Chrysostom hefyd yn eu hamseroedd, drefnau cyhoeddus ar weddigaeth gyhoeddus, y rhai a alwent Litturgie, ac yn y rhai hynny hwy a osodasant ar y bobl atteb i weddiau 'r gweinidogion weithiau Amen, weithiau Arglwydd trugarha wrthym, weithiau a chyd a'th yspryd dithau, ac Mae'n calonnau ni gwedi eu cyfodi at yr Arglwydd, &c. Yr hwn atteb ni fedrase'r bobl ei wneuthur mewn amser dyledus, oni buasai fod y weddi mewn iaith a ddeallent hwy. Mae'r un Basil wrth scrifennu at eglwyswyr Neocæsaria, yn dywedyd fal hyn am arfer gweddi gyffredinol, gan appwyntio rhai i ddechreu'r caniad, ac eraill i ganlyn, ac felly gan dreulio'r nos mewn llawer o ganiadau a gweddiau, maent ar y wawr ddydd oll ynghyd (megis ag un genau ac un galon) yn canu i'r Arglwydd ganiad o gyffes, pob un yn gosod iddo ei hun airiau cymhesur o edifeirwch.

Chrysostom.

Epistol. 63.

Mewn man arall mae fe'n dywedyd: os bydd y mor yn deg, pa faint mwy y mae ynghynulliad y gynulleidfa 'n deccach, yn yr hon y danfonir allan sain cyssylltedig gwyr, gwragedd, a phlant (megis tonnau 'n ffusto ar lan y mor) o'n gweddiau ni at Dduw. Ystyriwch ar ei airiau ef, sain (medd ef) gyssylltedig gwyr, gwragedd, a phlant: yr hyn ni ddichon bod oni byddai eu bod hwy oll yn deall yr iaith yn yr hon yr adroddid y weddi.

Basil Ruf 4.

Ac

Ac fe a ddywaid Chrysostom ar eiriau S. Pawl. Ey gynted ag y clywo y bobl y geiriau hyn, yn oes oesoedd, y maent hwy oll yn y man yn atteb, Amen. Yr hyn ni allent hwy ei wneuthur, oni bai eu bod hwy'n deall yr hyn a ddywedai'r offeiriad. 1.Cor.14.

Mae Dionysius yn dywedyd fod yr holl dyrfa bobl yn canu caniadau, wrth ffinistro y cymmun. Dionys.

Mae S. Cyprian yn dywedyd fod yr offeiriad yn darparu meddyliau y brodyr â rhag-ddywediad au ymlaen y weddi, gan ddywedyd derchefwch eich calonnau: ac yno'r atteb y bobl yr ydym yn eu dyrchafu hwy at yr Arglwydd. Cyprian.ser. 6.de oratione Dominica.

Ac mae S. Ambros wrth scrifennu ar eiriau S. Pawl yn dywedyd, Hyn yw'r peth y mae fe'n ei ddywedyd, fod yr hwn a ddywaid mewn tafod ddieithr, yn dywedyd wrth Dduw, yr hwn sydd yn gwybod pob peth, ond nid ydyw dynion yn gwybod, ac am hynny nid oes ffrwyth o'r peth hynny.

Athrachefn ar y geiriau hyn, os bendigi di neu roddi diolch â'r yspryd, pa fodd y dywaid yr hwn sydd yn lle'r annyscedig, Amen, ar dy ddiolchiad di, gan na wyr ef pa beth yr ydwyd yn ei ddywedyd? Hynny yw, medd S. Ambros, os ti a fanegi foliant Duw mewn iaith nis gwypo y gwrandawyr. O herwydd pan glywo'r annyscedig yr hyn nis deallo, nid edwyn ddiwedd y weddi, ac ni fedr ddywedyd Amen. Yr hwn air yw cymmaint ac yn wir, neu bydded wir, fal y cadarnhair y fendith, neu y rhoddiad diolch. O herwydd gan y rhai a attebant, Amen, y cyflawnir cadarnhâd y weddi, fal y cadarnhair pob peth a ddywedir ymmeddyliau y gwrandawyr, trwy dystiolaeth y gwirionedd. 1.Cor.14.

Ac gwedi llawer o airiau pwysig fe a'u defnydd, mae fe'n dywedyd, y cawn yno hyn: na wneler dim yn yr Eglwys yn ofer, ac mai'r peth hyn yn enwedig a ddylid llafurio am dano, sef ar fod i'r anyscedig allel cael lles iddo, rhag bod un rhan o'r corph yn dywyll trwy anwybodaeth. Ac rhag tybied o neb ei fod ef yn meddwl hyn oll am bregethu, ac nid am weddi: mae fe'n cymmeryd achos ar y gairiau hyn ei S. Pawl, (oni bydd cyfieithydd, tawed yr hwn sydd ac iaith ddieithr yn yr Eglwys) i ddywedyd, fal y canlyn: Gweddied yn ddirgel, neu ddywedeed wrth Dduw, yr hwn
1.Cor.14.28. sydd yn clywed yr holl bethau mudion. O herwydd yn yr Eglwys rhaid i hwnnw ddywedyd, yr hwn a wna lles i bawb oll.

Mae S. Jerom wrth scrifennu ar y geiriau
Vers.16. hyn ei S. Pawl, pa fodd y dywaid yr hwn sydd yn lle'r anyscedig Amen, &c. yn dywedyd, y gwr llyg yw'r hwn y mae S. Pawl yn dywedyd ymma ei fod yn lle yr ânnyscedig, yr hwn nid oes gantho un swydd Eglwysig, pa fodd yr atteb ef Amen, ar weddi yr hon nid ydyw yn ei deall? Ac yn y
Vers.6. man ar ol hynny sef ar airiau Pawl pe llafarwn a thafodau, &c. Mae fe'n dywedyd fal hyn. Hyn yw meddwl Pawl: Os llafara neb mewn tafodau dieithr, anghydnâbyddus, fe wnair ei feddwl ef yn ddiffrwyth, nid iddo ei hun, ond i'r gwrandawyr: o herwydd beth bynnac a ddywedir, nid yw ef yn ei wybod. Ac mae S. Awstin wrth scri-
Psal.18. fennu a'r y ddaunawfed Psalm, yn dywedyd: ni a ddlyem ddeall pa beth yw hyn, fal y gallom ganu a rheswm dŷn, ac nid a thrydar adar. O herwydd mae dylluanod, cawciod, cigfrain, piod, a'r fath adar eraill, gwedy eu dyscu gan dynnion i

*glegru,

*eglur, ni wyddont pa beth. Ond canys trwy ddeall o rhodd wybodaeth ewyllys sanctaidd Duw i natur dyn. Ac ailwaith, mae S. Awstin yn dywedyd. Nid rhaid wrth vn llaferydd pan fythom ni 'n gweddio, ond fal y mae 'r offeiriaid yn gwneuthur, i ddangos eu meddwl, nid fal y gallo Duw, ond fal y gallo dynion eu clywed hwy. Ac felly gan ei cofio wrth gytuno a'r offeiriaid y gallont orhwyso a'r Dduw. Drydar.

De Magist.

Fal hyn ein dangosir trwy 'r Scrythyrau a'r hen ddoctoriaid, na ddylyid wrth weddio neu finistro Sacramentau, arfer vn iaith nas deallo 'r gwrandawyr. Megis i fodloni cydwybod Christion, nad rhaid ini drewllo chwaneg amser yn hyn o beth. Ond etto e 'r attal safnen gwrthwynebwyr, y rhai sydd yn sefyll ormod ar ordeiniaethau cyffredinol, da yw tydsyllu at y testiolaethau hyn o'r Scruthyrau a'r hen Ddoctoriaid, vn ordeiniaeth y wnaeth yr Ymherodr Iustinian, yr hwn oedd Ymherodr Rufain ynghylch pymp cant mlynedd a saith mlynedd a'r igain yn ol Christ, yr ordeiniaeth yw hon: Yr ydym yn gorchymmyn i'r holl Escobion ac offeiriaid finistro 'r offerwin sanctaidd, ac arfer gweddiau yn y bedydd sanctaidd, nid gan ddywedyd yn yssel, ond a llaferudd eglur, vchel, yr hon a all y bobl oll ei chlywed, fal trwy hynny y cyffroir meddyliau y gwrandawyr a mawr ddwysoldeb, wrth adrodd gweddiau 'r Arglwydd Dduw, O herwydd felly y mae 'r Apostol sanctaidd, yn yr Epistol cyntaf at y Corinthiaid yn dangos, gan ddywedyd, Os bendigi di neu os rhoddi di ddiolch yn yr Yspryd yn dda, pa fodd y gall yr hwn sydd yn lle 'r annyscedig, ddywedyd, Amen, ar dy ddiolchad di? O herwydd

Nouel constit. 23.

wydd ni wyr efe pa beth yr ydwyd yn ei ddywedyd. Yn wir yr ydwyt yn rhoddi diolch yn dda, ond nid ydys yn ei adailadu efe.

Ac an waith, fe a ddywaid yn ei Epistol at y Rhufeiniaid. A'r galon y credir i gyfiawnder, a'r genau y cyffesir i Iechadwriaeth. Am hynny o blegid yr achosion hyn, ymmysc gweddiau eraill, mae'n gymhesur i'r Escobion a'r offeiriaid crefyddgar, draethu a dywedyd hefyd y rhai a ddywedir yn yr offrwm sanctaidd, Yn Harglwydd Iesu Grist ein Duw ni, gyda'r Tad, a'r Yspryd glan, a llaferudd uchel. A gwybydded y crefyddgar offeiriaid hyn, os hwy a escaelusant y pethau hyn, y gorfudd arnynt rhoddi cyfrif am danynt, yn echrydus farn y Duw mawr, a'n Iachawdwr Iesu Grist: a phan wypom ninnau hynny, ni orphwyswn ni, ac ni oddefwn hynny heb ei ddial. Yr ydoedd yr Ymherodr hwn (fal y dywaid Sabelicus) yn ffafro Escob Rufain, ac etto ni a welwn pa fath ordeiniaeth oleu y wnaeth ef, am weddio a ministro Sacramentau mewn iaith gydnabyddus, er mwyn cyffro defosiwn da y gwrandawyr trwy wybodaeth, yn erbyn barn y rhai a fynnant mai anwybodaeth sydd yn gwneuthur defosiwn da, mae fe hefyd yn ei wneuthur ef yn beth dannedig wneuthur y pethau hyn mewn iaith nis deallo'r gwrandawyr. Cauwn hyn am hynny trwy gyfundeb Duw a dynnion da na ddylaid gweddio yn gyhoeth na ministro Sacramentau mewn iaith nis deallo y gwrandawyr. Yn awr gair neu ddau am weddi neilltuol mewn iaith ni ddeallir.

Ni a gymmerasom arnom pan dechrauasom son am y peth hwn, brwfo, nid yn unic, na ddylaid ministro gweddi gyffredinol neu Sacrament, mewn iaith

iaith

iaith nis deall y gwrandawyr, ond hefyd na ddylai neb weddio'n ddirgel, mewn iaith ni byddai fe ei hun yn ei deall. Yr hyn ni bydd anhawdd iwr ei wneuthur, oni ollyngwn yn angof pa beth yw gweddi. O herwydd os defosiwn y galon yw gweddi, yr hwn sydd yn gyrru'r galon i ymgyfodi at Dduw, pa fodd y gellir dywedyd fod hwnnw yn gweddio, yr hwn nid yw yn deall y geiriau y mae ei dafod yn eu traethu mewn gweddi? Ie pa fodd y gellir dywedyd ei fod ef yn dywedyd? o herwydd dywedyd yw traethu meddwl y galon trwy lleferydd y genau.

Ac nid ydyw llaferudd y draetho dŷn wrth ddywedyd, ddim ond cennadwr y meddwl, i ddwyn allan wybodaeth, am y peth oni bai hynny, a orwedde'n ddirgel yn y galon, ac ni ellir ei wybod: yn ol yr hyn a scrifenna S. Pawl, Pwy a wyr medd ef y pethau sydd mewn dyn, ond yspryd dyn yn unic, yr hwn sydd ynddo? Ni ellir am hynny yn iniawn ddywedyd, ei fod ef yn dywedyd, yr hwn nid yw yn deall y laferudd y mae ei dafod yn ei draethu, ond yn dynwared dywedyd, fal y gwna'r perot, neu'r fath adar, sydd yn dynwared llaferudd dynnion. Ni feiddo neb am hynny ac a fytho yn ofni digofaint Duw yn ei erbyn ei hun, son am Dduw yn rhy ehud, heb feddwl am ddeall parchus yn ei wydd ef, ond fe ddarpara ei galon cyn rhyfygu dywedyd wrth Dduw. Ac am hynny yn ein gweddi gyffredinol, mae'r gwenhidawg yn dywedyd yn fynych gweddiwn: gan feddwl wrth hynny rhybyddio'r bobl i ddarparu eu clustiau i wrando, ar y peth y mae er fedr ei erchi ar law Dduw, a'u calonnau i gytuno a hynny, a'u tafodau ar y diwedd i ddywedyd, Amen.

Fal hyn y darparodd y Psalmydd Dafydd ei
galon, pan ddywedodd ef, parod yw fyngalon o
Psal.57.7. Dduw, parod yw fyngalon, canaf a chanmolaf.
Fe ddarodd i'r Iddewon hefyd, yn amser Iudith,
cyn iddynt ddechreu gweddio, ddarparu eu calon-
nau felly, pan weddiasant hwy a'u holl galonnau,
ar i Dduw ymweled a'i bobl Israel. Fal hyn y
darparasai Menasses ei galon, cyn iddo weddio, a
2.Cro.33.12. dywedyd: yr ydwyf yn gostwng gliniau fyngha-
lon, gan ofyn iti rann o'th drugarog hwynder. Pan
fytho'r galon gwedy ei darparu fal hyn, mae'r
llaferudd a draethir o'r galon, yn beraidd yngghlu-
stiau Duw, ac heb hyn ni ystyria ef hi i'w derbyn.
Twrddan. Ond o herwydd fod y dyn sydd yn * dadwrdd ge-
riau diddeall yngwydd Duw, yn dangos nad y-
dyw ef yn ystyriaid mawrhydi Duw, wrth yr hwn
y mae fe'n dywedyd: mae Duw yn cymmeryd
hwnnw megis un yn diystyru ei fawrhydi ef, ac
yn rhoddi iddo ei wobr ymhlith rhagrithwyr, y
rhai sydd yn ymddangos yn sanctaidd dduwiolaeth;
a'u calonnau yn llawn meddyliau ffiaidd, ie yn
amser eu gweddiau.

O herwydd y galon y mae'r Arglwydd yn e-
drych erni, fal y scrifennir yn historî y brenhinoedd.
Os mynnwn ninnau am hyn na byddo ein gwe-
ddiau yn ffiaidd bethau, ger bron yr Arglwydd
Dduw, darparwn ein calonnau cyn gweddio, ac
felly deallwn y pethau yr ydym yn gweddio am-
danynt, fal y gallo ein calonnau a'n llaferudd, gyd-
seinio yngghlust mawrhydi Duw: ac yno ni ffae-
lwn dderbyn ar ei ddwylaw ef, y pethau yr ydym
yn eu gofyn, fal y gwnaeth gwyr da o'n blaen ni,
y rhai a dderbyniasant o amser yn amser y pethau
a ddamunent er iechyd i'w heneidiau.

Fe

fe dybygid fod S. Awstin yn cyd-ddwyn yn y pe-
thau hyn, o herwydd fal hyn y dywaid ef am y rhai
a ddysgir hwynt mewn gramadeg, neu rhethoreg,
ac a ddoant at Grist, ac am hynny sydd rhaid eu dys- De catechisandis rudibus.
gu ynghrefydd Grist: Gwybyddant hefyd medd
S. Awstin nad y llafarudd ond meddylfryd y ga-
lon sydd yn dyfod i glustiau Duw. Ac yno y bydd,
os digwydda iddynt glywed, fod yr Escob neu'r
gwenhidiawg yn yr Eglwys, yn galw ar Dduw a
geiriau anghyflon ac anhrefnus, neu y rhai na
bônt hwy yn eu deall, neu eu bod hwy yn cyfran-
nu yn anhrefnus y geiriau y maent yn eu traethu,
na watwarant ddim o honynt. Hyd yn hyn fe a
dybygid ei fod ef yn cyd-ddwyn gyda gwedio
mewn iaith ni ddeallir.

Ond yn yr ymadrodd nesaf mae fe'n agoryd ei
feddwl fal hyn. Nid am na ddylid gwella y pethau
hyn fal y gallo y bobl ddywedyd Amen i'r hyn y
maent yn ei ddeall yn dda: ond etto rhaid yw dw-
yn gyda'r holl bethau duwiol hyn, ar ddwylo y ca-
techeiswyr ymma ac athrawon y ffydd: fal y ga-
llont ddeall megis mewn dadleudy, y mae daioni
y ddadl yn sefyll yn y sain, felly ei fod yn yr Eglwys
yn sefyll mewn defosiwn. Fal nad ydyw ef yn
fodlon i neb weddio mewn iaith nis deallo: ond
mae fe'n dyscu y dadleuwr neu araithiwr cyfa-
rwydd, i ddwyn gyda thafod annyscedig, anghyfa-
rwydd y gwenhidiawg crefyddgar, diddrwg: I
grynhoi y cwbl os gwna diffyg deall y geiriau a
ddywedir yn y gynulleidfa fod y geiriau yn an-
ffrwythlon i'r gwrandawyr: pa haws na wna yr
un peth y geiriau a ddarllenir yn anffrwythlon i'r
darllenydd?

Trugarog ddaioni Duw a ganiatao ini rad

an-nhwyllodrus, i dynnu ymmaith trwy rym y
Beibl sanctaidd oddiwrth y bobl, y rhai hefyd o
wir genfigen a ddinistrasant ac a ddifasant y lly-
frau hynny achan yn lludw: gan gymmeryd ar-
nynt yn dwyllodrus, fod mynych wrando a darllen
gair Duw yn achos o heresiau a chnawdol rydd-
did, a llwyr ddinistr pob trefn ddaionus ym-mhob
gwlâd a dinas hyd-drefn. Os achos o ddrygioni yw
adnabod Duw yn gywir, yno mae'n rhaid i ni a-
ddef fod gwrandaw a darllen yr Scruthyrau sanc-
taidd yn achosion heresi, rhydd-did cnawdol, a
llwyr ddistryw pob trefn ddaionus. Ond mae ad-
nabod Duw a ni ein hunain mor bell oddiwrth
fod yn achos drygioni, ac y mae yn ffordd barottaf
fe ac yn unic llwybr i ffrwyno ein holl rydd-did
cnawdol ni, ac i ladd holl wyniau ein cnawd ni.

A'r llwybr arferol i gael y cydnabyddiaeth hyn
yw gwrando a darllen yn ddiesceulus yr Scru-
thyrau sanctaidd. O herwydd fal y dywaid Pawl, 2.Timoth.3.16.
mae'r holl Scruthyrau gwedy eu rhoddi gan Y-
spyrydoliaeth Duw. Ac a dybygwn ni, Gristiono-
gion, y gallwn ni ddyscu adnabod Duw a ni ein
hunain, yn gynt neu yn well yn scrifennadau un
dŷn daiarol, nac yn yr Scruthyrau sanctaidd, a
scrifennwyd trwy yspyrydoliaeth yr Yspryd glân?
O herwydd ni ddygwyd yr Scruthyrau attom
ni trwy awenydd dŷn, eithr dynnion sancta-
idd Duw a ddywedasant megis y cynhyrfwyd 2.Pet.1.21.
hwy gan yr Yspryd glân. A'r Yspryd glân yw athro
y gwirionedd yr hwn sydd, fal y dywaid ein Iach-
awdwr Christ, yn tywys ei scholheigion i bôb gwi-
rionedd. A phwy bynnac ni ddyscir ac ni thywy- Ioan.16.13.
sir gan yr athro ymma, ni ddichon ef na chwympo
i gamsynniaid dwfn, er mor dduwiol y bydd yn

 cym-

cymmeryd arno fod, pa wybodaeth a dyscu hynny
a fytho gantho ym-mhob gweithredoedd ac scri-
fennadau eraill er tecced y fytho'r olwg ar ei a-
thrawiaeth ef, ac e'r tebycced fo i wirionedd ym-
marn y byd.

Os dywaid neb y dymunai gael gweled gwir
ddull a phortreiad perffaith ar fywyd iniawn cym-
meradwy gan Dduw, pa le dybygwch chwi, y ga-
llwn ni gael gwell portreiad na bywyd Iesu Grist
a'i athrawaeth, neu gyffelyb iddynt, yr hwn y mae
yr Scruthyrau yn paentio ac yn gosod allan ei
ymddygiad rhinweddol a'i fywyd duwiol mor eg-
lur ymlaen ein llygaid ni, fal wrth edrych ar y por-
*ffurfio. treiad hwnnw y gallom lunio a *diwygadu ein by-
wyd cyn nesed ac y gellir yn gyflun a'i berffeiddrw-
1.Cor.11.1. ydd ef. Byddwch ddilynwyr i mi, medd S. Paul,
megis yr ydwyf i Grist. Ac mae Ioan S. yn dywe-
dyd y dlyai yr hwn a arhoso ynghrist felly rodio
1.Ioan.2.6. megis y rodiodd yntef. A pha le y dyscwn ni ddrefn
bywyd Christ ond yn yr Scruthyrau.

Un arall a fynnai gael meddiginiaeth i iachau
pob clefyd ac afiechyd yn y meddwl. A ellir cael
hynny mewn lle yn y byd ond yn llyfr Duw a'i
Scruthyrau sanctaidd ef? Fe ddangosodd Christ
hyn pan ddywad wrth yr Iddewō ystyfnig, Chwi-
Ioan.5.39. liwch yr Scruthyrau, o herwydd yndynt yr ydych
yn gobeithio cael bywyd tragwyddol. Os ydyw'r
Scruthyrau yn cynnwys yndynt fywyd tragwy-
ddol mae'n rhaid canlyn fod yndynt gyfarwyddyd
*Atal. hefyd yn erbyn pob peth ac sydd yn ein *rhaged
neu yn ein rhwystro ni i fywyd tragwyddol.

Os bydd wn yn chwenychu gwybod doethineb
nefol, pa ham mai gwell gennym ei dyscu hi gan
ddŷn na chan Dduw ei hun, yr hwn, fal y dywaid

S. Iaco, yw rhoddwr doethineb? Ie paham nas dyscwn hi o enau Christ ei hun, yr hwn a addawodd fod yn bresennol gyda ei Eglwys hyd diwedd y byd, ac sydd yn cyflawni ei addewid, nid yn unig am ei fod ef gydâ ni â'i râd a'i fawr drugaredd, ond hefyd am ei fod ef yn dywedyd yn bresennol wrthym yn ei scruthyrau sanctaidd, i fawr a didranc ddiddanwch pawb ac sydd a dim blas am Dduw yndynt? Ie mae fe'n awr yn ei Scruthyrau yn dywedyd yn fuddiolach ini o lawer nag y dywad ef â geiriau ei enau wrth yr Iuddewon cnawdol, pan ydoedd ef yn fyw gyda hwy ar y ddaiar. O herwydd ni fedrent hwy (yr Iddewon ydwyf yn eu meddwl) na chlywed na gweled y pethau a allwn ni yn awr eu clywed a'u gweled, os dygwn gydâ ni y clustiau a'r llygaid y clywir ac y gwelir Christ â hwy; hynny yw diescaelusrwydd i wrando ac i ddarllen ei Scruthyrau sanctaidd ef, a gwir ffydd i gredu ei ddiddanus addewidion ef. Iac.1.5.

Pe gallai un ddangos dim ond ol troed Christ, yr ydwyf yn tybied y cwympe lawer i lawr ac yr addolent: ond i'r Scruthyrau sanctaidd, lle os mynnwn y gallwn weled beunydd, nid ydwyf yn dywedyd ol ei draed ef yn unic, ond ei holl lun a'i fywiol agwedd ef, och nid ydym ni yn rhoddi ond ychydig neu ddim parch: pe dangosai neb bais Christ ini fe gymmerai lawer o honom boen fawr neu ninnau a fynnem ddyfod yn agos i edrych arni, ac i'w chusanu hi hefyd: ac etto ni all yr holl ddillad a wiscodd ef er ioed ei osod ef allan mor fywiol ac mor gywir ac y mae'r Scruthyrau.

Mae llawer er mwyn y cariad y maent yn ei ddwyn at Ghrist yn trwsio ac yn harddu delwau Ghrist, a wnair â choed a cherrig neu fettel, â


thly-

thlysau, ac aur, a meini gwerthfawr: ac oni bodly-
em ni, fy-mrodyr anwyl, yn fwy o lawer goflei-
dio a pherchi sanctaidd lyfrau Duw y Beibl cysse-
gredig, yr hwn sydd yn dangos llun Christ yn sy-
wiolach i ni nag y dichon un ddelw: ni ddichon
Dull, ffurf. delw ond dangos * diwgad a llun ei gorph ef, os
gall hi wneuthur hynny: ond mae'r Scruthyrau
yn gosod Christ allan yn y fath fodd ac y gallwn ni
weled Duw a dŷn, ni a allwn ei weled ef, meddaf,
yn dywedyd wrthym, yn iachau ein gwendid ni,
yn marw dros ein pechodau ni, yn cyfodi o feirw
er ein cyfiawnhau ni. Ac ar ychydig o eiriau ni a-
llwn yn yr Scruthyrau weled Christ oll ei gyd
mor gyflawn â llygaid ffydd, fal na allem ni byth
heb ffydd ei weled ef â'n llygaid corphorol mor gy-
flawn, pe byddai fe ymma yn ein mysc ni yn bre-
sennol.

Chwenyched am hynny a dymuned gwyr, gwra-
gedd a phlant yn eu holl galonnau yr Scruthyrau
sanctaidd: carent hwy, draicheidient hwy, goso-
dent eu ewyllys a'u meddyl-fryd ar eu gwrando
a'u darllen hwy, fal ar y diwedd y'n ffurfier ac y'n
troer ni iddynt hwy. O herwydd trysordy Duw
yw'r Scruthyrau sanctaidd, lle ceffir pob peth
rheidiol i ni ei weled, ei glywed, ei ddyscu a'i gre-
du, ac anghenrhaid i feddiannu bywyd tragwy-
ddol. Hynny a ddywedwyd er rhoddi ychwi ddamed
prawf o'r ennill a ellwch chwi ei dderbyn wrth
wrando a darllen yr Scruthyrau sanctaidd. O-
herwydd, fal y dywedais yn y dechreuad, ni ddi-
chon un tafod fanegi na thraethu'r cwbl. Ac er
bod yn eglurach na goleu'r dydd mai anwybod yn
Amryfysedd. yr Scruthyrau yw achos pob * camsynnaeth, fal y
dywad Christ wrth y Saduceaid, yr ydych mewn
amry-

amrysysedd am na wyddoch yr Scruthyrau. Ac mae'r amrysysedd hynny'n cadw'n ol ac yn tynnu dynnyon ymmaith oddiwrth wybodaeth Duw. Ac fal y dywaid S. Jerom, bod heb wybod yr Scruthyrau ydyw bod heb nabod Christ. Math.22.29.

Etto er hyn mae rhai yn tybied nad cymhesur i bob rhyw o ddynion ddarllen yr Scruthyrau, am eu bod hwy, fal y dywedant, mewn amryw leoedd yn fain trangwydd i'r an-nyscedig: yn gyntaf am fod ymadrodd yr Scrythur mor ddisyml mor * anghymmen ac mor blaen, fal y mae yn faen tramgwydd i lawer o synhwyrau escud dynion moethus. Hefyd am fod yr Scruthyr yn dywedyd i'r rhai a ganmoler megis plant Duw wneuthur llawer o weithredoedd a rhai o honynt yn erbyn cyfraith naturiaeth a rhai yn erbyn y gyfraith scrifennedig, a rhai a dybygid eu bod yn ymladd yn olen yn erbyn honestrwydd cyffredinol. Mae'r holl bethau hyn, meddant, yn achosion o dramgwydd mawr i'r diddrwg, ac yn peri i lawer dybied yn ddrwg am yr Scruthyrau ac i anghredu eu hawdurdod hwy. Drwscl, arw.

Mae rhai'n anfodlon i wrando ac i ddarllen yr Scruthyr lân o blegid amryw ddeddfau a Ceremoniau, aberthau ac offrymmau'r gyfraith. Ac mae gwyr call mewn synwyr bydol yn tybied fod rhoddi clust i reolau a gorchymmynion golau disyml ein Jachawdwr Christ yn yr Efangyl, yn rhwystrau mawr i lywodraeth lonydd synhwyrol eu gwledydd, megis yn digio pan glywant fod yn rhaid i ddŷn droi ei glust dehau at yr un a'i tarawo ar yr aswy, a chynnyg ei glôg i'r hwn a geisiai ddwyn ei bais oddiarno: a'r fath ymadroddion eraill o berpheiddrwydd ym-meddwl Christ. O

 her-

herwydd mae rheswm cnawdol, gan ei fod yn wastad yn elyn i Dduw ac heb ystyried y pethau ydynt o Yspryd Duw, yn casau y fath orchymmynion, y rhai pe deallid hwy yn dda ni wanhaent lywodraeth farnol na llywiawdwriaeth Christionogion.

Ac mae rhai pan glywant yr Scruthyrau yn peri ini fyw yn ddiofal heb fyfyrio na rhagfwriadu, yn gwatwaru eu disymldra hwy. Am hynny er mwyn symmud a throi heibio y fath rwystrau yn nessaf ac y gallom, mi a attebaf i'r gwrth-ymadroddion ymma, y naill ar ol y llall.

Yn gyntaf mi a adroddaf rai o'r lleoedd a dramgwyddir wrthynt o blegid disymlder ac anghymhēdod yr ymadrodd, ac a ddangosaf eu hystyr hwy.

Mae'n scrifennedig yn llyfr Deuteronomium i'r Holl-alluog Dduw wneuthur cyfraith, Os byddai wr farw yn ddieppil fod i'w frawd neu ei garwr nesaf briodi ei weddw ef, a bod yn galw y plentyn cyntaf a enid rhyngthynt hwy yn blentyn i'r hwn a fuasai farw, rhag delen enw y marw allan yn Israel. Ac os y brawd neu'r carwr nesaf a wrthodai briodi y weddw, yno bod iddi hi dynnu ei escid ef ymlaen llywodraethwyr y ddinas, a phoeri yn ei wyneb ef, gan ddywedyd, felly y gwneler i'r gwr nid adailado dŷ ei frawd. Ymma, fyngharedigion, Ceremoniau oedd dynnu ei escid ef, a phoeri yn ei wyneb ef, i arwyddhau i holl bobl y ddinas nad y wraig oedd ar y bai am dorri gorchymmyn Duw yn hyn o beth, ond bod y bai a'r cywilydd yn cwympo ar y gwr hwnnw yr hwn yn gyhoeddus ym-laen llywodraethwyr a wrthododd ei phriodi hi. Ac nid oedd hyn yn warth iddo ef yn unic, ond ar ei holl eppil yn ei ol

ef.

ef hefyd: o blegid hwy a elwid ar ol hynny byth, yr yr hwn a dynnwyd ei escid.

Lle arall o'r Psalmau sydd fal hyn, Torraf hefyd holl gyrn yrhai annuwiol a chyrn y rhai cyfiawn addercharir. Psal.75.10.

Wrth gorn yn yr Scruthur y deallir grym gallu, nerth ac weithiau rheolaeth a llywodraeth. Mae'r Prophwyd wrth hynny wrth ddywedyd, Torraf gyrn yr annuwiolion, yn meddwl na wanheir hwy yn vnig ac na wnair yn vnic yn egwnan nerth a grym a gallu gelynion Duw, ond yn dywedyd y torrir ac y distrywir hwy yn gwbl er bod Duw dros amser yn eu goddef hwy i orchfygu ac i gael y llaw orau er mwyn profi ei bobl yn well. Fe a ddywedir yn 132. Psalm, Mi a baraf i gorn Dafydd flaguro. Ymma y mae corn Dafydd yn arwyddoccau ei deyrnas ef. Am hynny wrth y fath ymadroddion y mae Duw yn addo rhoddi i Ddafydd oruwchafiaeth ar ei holl elynnion. Ac mae'n scrifennedig. Psal. 60. Moab yw fyngrochan golchi, ac ar Edom y taflaf fy escid, &c. Yn yr hwn le y mae'r prophwyd yn dangos mor rassol y gwnelsai Dduw â'i bobl plant yr Israel, gan roddi iddynt oruwchafiaeth fawr yn erbyn eu gelynnion o'u hamgylch. O herwydd er bod y Moabiaid a'r Idumeaid yn ddwy genhedlaeth fawrion, yn bobl failchion ystyfnig alluog, fe a'u darostyngodd hwy, ac a'u gwnaeth yn weision i'r Israeliaid, yn weision meddal i ymostwng iddynt, ac i dynnu eu hescidiau, ac i olchi eu traed hwy. Moab am hynny yw fy-nghrochan golchi, ac ar Edom y taflaf fy escid: yw cymmaint a phe dywedasai efe, er balched oedd y Moabiaid a'r Idumeaid yn ein herbyn ni yn yr anialwch, Psal.132.17.

hwy

hwy a wnaeth y wyd yn awr yn ddeiliaid, yn weision ie yn gaethion ini, i dynnu ein escidiau ac i olchi ein traed ni.

Yn awr adolwg, pa anweddeidd-dra sydd yn y fath ymadrodd ac yw hwn, sef hwn a arferir felly mewn arfer gyffredinol ym-mysc yr Hebreaid? Mae'n gywilydd fod Christionogion mor yscafn eu pennau, a gwatwaru megis coegwyr ar y fath ymadrodion, y rhai a adroddir gan yr Yspryd glân mewn ystyrd'wys da: Rhesymmolach fyddai i wyr ofer ddyscu perchi dull ymadroddion geiriau Duw, nâ'u gwatwar hwy felly i'w damnedigaeth eu hunain.

Mae rhai hefyd yn trangwyddo wrth glywed fod gan y tadau duwiol lawer o wragedd a gordderchadon. Er bod gordderch (yn ol ymadrodd yr Scruthyrau) yn enw honest: o herwydd yr oedd pob gordderch yn wraig gyfraithlon, er nad oedd pob gwraig yn ordderch. Fal y galloch ddeall hyn yn well gwybyddwch fod yn goddef i'r tadau o'r hên Destament gael er unwaith fwy o wragedd nag un: am ba achosion chwi a gewch glywed ar ol hyn. O'r gwragedd hyn fe a anesid rhai yn rhyddion a rhai oeddynt gaethwragedd a morwynion. Yr oedd i'r wraig rydd ragoriaeth oddiar y morwynion a'r caethwragedd: y wraig rydd o anedigaeth a wnaid trwy briodas yn llywodraethwraig ar y tŷ dan y gwr, a hi a alwid yn feistres neu wraig y tŷ, a thrwy ei phriodas yr oedd iddi deitul a chyfiawnder a pherchennogaeth yn holl dda yr hwn a'i priodasai hi. Morwynion a chaethwragedd eraill a roddid gan eu perchenogion nid ydwyf yn dywedyd bob amser, ond fynychaf i'w merched ar ddydd eu priodiosau i fod yn llawforwy-

wynion iddynt. Yn y modd hwn y rhoddodd Pharao brenhin yr Aipht Agar yr Aiphties i Sara gwraig Abraham i fod yn forwyn iddi. Felly y rhoddodd Laban Zilpha i'w ferch Lea ar ddydd ei phriodas i fod yn forwyn iddi. Ac i Rachel y ferch Gen.29.24. arall fe a roddodd Bilhah i fod yn llaw forwyn iddi.

A'r gwragedd y rhai oeddynt berchennogion ar eu llawforwynion a'u rhoddent hwy mewn priodas i'w gwyr ar amryw achosion: fe a roddes Sara ei morwyn Agar mewn priodas i Abra- Gen.16.1. ham. Yr un modd y rhoddes Lea i morwyn Zilpha i'w gwr Jacob: felly y rhoddes Rachel ei Gen.30.3,9. wraig arall ef Bilha ei llawforwyn hithau iddo ef, gan ddywedyd, dôs i mewn etti, a hi a blanta ar fyngliniau fi: fal pe dywedasai, cymmer hi yn wraig, a'r plant a ddygo hi mifi a'u cymmeraf ar fy arffed ac a wnaf iddynt megis pe byddynt plant imi fy hun.

Er gwneuthur y llawforwynion neu'r caethwragedd hyn yn wragedd trwy briodas, etto ni chawsont hwy fraint i reoli'r tŷ, ond yr oeddynt yn wastad tan wasanaeth ac mewn caethiwed i'w meistresi, ac ni alwyd hwy er ioed yn fammau'r tolwyth yn faestresi neu'n wragedd y tŷ: ond hwy a elwyd weithiau yn wragedd, weithiau yn ordderchadon.

Fe oddefwyd amledd o wragedd i dadau'r hên Destament trwy ragoriaeth ysprydawl, nid er mwyn cyflawni eu chwantau cnawdol, ond er mwyn cael amledd blant, o herwydd bod pob un o honynt yn gobeithio ac yn ceisio yn fynych yn eu gweddiau gan Dduw ar i'r hâd bendigaid a addawsai Dduw y dawai i dorri pen y sarph,

ddyfod

ddyfod a geni o'u llwyth hwy a'u tylwyth hwy.

Yn awr am y rhai a gymmerant achosion a chwant cnawdol a bywyd anllad wrth wrando a darllen yn llyfr Duw y pethau a oddefodd Duw yn y gwyr y mae eu clod yn yr Scruthyr, me-
2.Pet.2.5. gis i Noah, yr hwn y mae S. Petr yn ei alw yn
Gen.9.21. bregethwr cyfiawnder fod mor feddw ar wîn, fal yn ei gwsc y dinoethodd ef ei ddirgelion ei hun.

Gen.19.33,35 Fe a feddwodd Lot gyfion hefyd yn yr vn modd, ac yn ei feddwdod fe a orweddodd gyda'i ferched ei hun yn erbyn cyfraith nattur.

Gen.17.5. Ac fe fu i Abraham hefyd (yr hwn yr oedd ei ffydd gymmaint ac y bu ef deilwng o'i phlegid hi i'w
Ruf.4.17. alw trwy enau Duw ei hun yn Dâd llawer o genhedloedd ac yn Dâd y ffyddloniaid) heblaw ei
Gen.16.4. wraig Sara, gydnabyddiaeth gnawdol â Hagar llawforwyn Sara.

Gen.29. Yr oedd i'r Patriarch Iacob ddwy chwiorydd yn wragedd iddo ar yr vn amser. Ac yr oedd i'r Prophwyd Dafydd ac i'w fâb ef brenin Salomon lawer o wragedd a gordderchadon, &c. Yr hyn bethau a welwn eu gwahardd ini yn oleu wrth gyfraith Duw, ac ydynt yn wrthwyneb i honestrwydd cyffredinol.

Fe scrifennwyd y pethau hyn a'r fath bethau, fy-ngharedigion, yn llyfr Duw, nid er mwyn i ninnau wneuthur y cyffelyb, a chanlyn eu siamplau hwy, neu o blegid y dylem ni dybied fod Duw yn fodlon i'r fath bethau mewn dynion, ond ni a ddylyem gredu a barnu i Noah yn ei feddwdod ddigio Duw yn fawr, ac i Lott wrth gydorwedd â'i ferched wneuthur llosc-ach ffiaidd.

Wrthynt hwy am hynny y dylem ddyscu y wers fuddiol hon. Oni alle wŷr mor dduwiol ac

oeddynt

oeddynt hwy y rhai a glywent oddifewn sancta-
idd Yspryd Duw yn fflammychu yn eu calonnau,
gydag ofn a chariad Duw, ymgadw trwy eu grym
eu hunain oddiwrth wneuthur pechod * echryd- Erchyll.
dus, onid cwympo o honynt mor aruthrol, fal
heb fawr drugaredd Duw na allent lai na chael
colledigaeth dragywydd: pa faint mwy y dlyem
ni nychmeriaid truain, y rhai nid ydym oddifewn
yn clywed un cyffroad am Dduw, ofni yn wasta-
dol, nid yn unic rhag cwympo fal y gwnaethant
hwy, ond ein *gormeilio a'n boddi mewn pechod: Gorchfygu.
yr hyn nis gwnaethant hwy? Ac felly cymmeryd
achosion trwy eu cwymp hwy i gydnabod ein
llescedd a'n gwendid ein hunain, ac am hynny i
alw yn ddifrifach ar yr holl-alluog Dduw a gwe-
ddi daer ddiescaelus, am ei râd ef er ein cadarnhau
ni a'n amddiffyn oddiwrth bob drwg. Ac er dig-
wyddo ini gwympo ryw amser trwy wendid, etto
y gallwn trwy edifeirwch o'n calonnau a gwir
ffydd yn ebrwydd gyfodi ailwaith, heb gyscu ac
aros mewn pechod fal y gwna y drygionus.

Fal hyn (bobl dda) y gallwn ddeall y fath be-
thau a osodir yn yr Scruthyrau duwiol, fal na
thorer bwrdd sanctaidd gair Duw yn fagl, neu yn
llindag, neu yn faen tramgwydd, er ein drygu ni
trwy gamarfer ein deall. Ond gwnawn iddynt y
fath ostyngedig barch, fal y gallom gael ein hym-
borth angenrheidiol yndynt, i'n cryfhae ac i'n
cyfarwyddo ni, fal y gosododd Duw hwy o'i fawr
drugaredd, yn ein holl orchwylion rheidiol, fal y
bythom perffaith o'i flaen ef trwy holl dreigl ein
hywyd. Yr hyn a ganniatao ef i ni yr hwn a'n
prynodd ni, ein Harglwydd a'n Iachawdwr Ie-
su:

su Grist. I'r hwn gydâ'r Tâd a'r Yspryd glân
y bo holl anrhydedd a gogoniant yn oes oesoedd.
Amen.

## ¶ Yr ail ran o'r addysc i'r rhai a rwystrir o blegid rhyw leoedd o'r Scruthyr sanctaidd.



Chwi a glywsoch, bobl ddaionus, yn yr Homili ddiwethaf a ddarllenwyd i chwi, fawr fudd yr Scruthyrau sanctaidd. Chwi a glywsoch pa fodd y mae dynion anwybodus heb ddeall duwiol ynddynt yn ceisio cwerylon i'w distrywiu hwy. Chwi a glywsoch atteb rhai o'u rhesymmau hwy.

Ni awn yn awr yn ein blaen ac a soniwn am y gwyr call llywodraethus y rhai a rwystrir o blegid parablau Christ, y rhai a dybygir eu bod yn deleu pob trefn mewn llywodraeth, ac maent yn gosod yn lle siamplau rai o'r fath hyn.

Os tery neb di ar dy glust ddehau, tro'r asswy
Mat.5.39. atto ef hefyd. A phwy bynnac a ddygo dy bais
Mat.6.3. oddiarnad, dyro dy glog hefyd iddo. Na wyped
Mat.18.8,9. dy law asswy y peth y mae dy law ddehau yn ei
wneuthur. Os dy lygad dy law neu dy droed a'th
rhwystra di, tyn allan dy lygad, torr ymmaith
dy law, dy droed, a thafl oddiwrthyd. Os dy elyn
a newyna, medd S. Pawl, portha ef, os sycheda
Ruf.12.20. ef, dod iddo ddiod: canys os gwnai hyn ti a ben-
Rhysod. tyrri * farwor tanllyd am ei ben ef.

Fe

Fe a dybygid, bobl ddaionus, yngolwg gwr naturiol fod yr ymadroddion hyn yn anghyfleus ac yn wrthwyneb i bob rheswm. O herwydd, fal y dywaid S. Pawl, nid ydyw y gwr naturiol yn deall y pethau sydd o Yspryd Duw, ac ni ddichon ef yr hyd y bytho yr hen Adda yn aros ynddo. Mae Christ am hynny yn meddwl y mynnai ef ei weision fyddion mor bell oddiwrth ddial a gwrthladd camwedd, ac y mynnai yn hytrach iddynt fod yn barottach i oddef cam arall, na thorri cariad, a bod yn anoddefus. Fe fynnai fod ein holl orchwylion ni mor bell oddiwrth bob bwriadau cnawdol fal na fynnai ef fod ein cymmydeithion nesaf ni yn gwybod oddiwrth ein gorchwylion da ni, i ennill gwag-ogoniant: a phe byddai ein cyfeillion a'n ceraint mor anwyl gennym a'n llygaid a'n dwylaw dehau, etto os mynnent ein tynnu oddiwrth Dduw ni a ddylem ymadel â hwynt a'u gwrthod. 1 Cor.1.14.

Fal hyn os mynnwch fod yn wrandawyr ac yn ddarllenwyr buddiol o'r Scruthyrau sanctaidd, rhaid i chwi yn gyntaf, ymwadu â chwi eich hunain, a darostwng eich synhwyrau cnawdol, y rhai ni ddeallant ond y geiriau oddiallan, heb chwilio'r ystyr oddifewn. Rhodded rheswm le i sanctaidd Yspryd Duw: darostyngwch eich doethineb a'ch barn fydol, i'w ddoethineb a'i farn dduwiol ef. Ystyriwch mai gair y bywiol Dduw yw'r Scruthyr, mewn pa ymadrodd dieithr bynnag y traether hi. Dalwed hynny yn wastad i'ch cof chwi, yr hyn y mae y Prophwyd Esai mor fynych yn ei adrodd. Geneu'r Arglwydd, medd ef, a'i dywad, Yr holl alluog a'r tragwyddol Dduw

yr

yr hwn a'i unig air a wnaeth nef a daiar a'i cyfar-wyddodd ef: Arglwydd y lluoedd, ffyrdd yr hwn sydd yn y moroedd a'i lwybrau ymmhlith y dyfroedd, Yr Arglwydd a'r Duw trwy air yr hwn y gwnaethpwyd, y llywodraethir ac y cedwir yr holl bethau sydd yn y nef ac ar y ddaiar, a ddarparodd fod hyn felly. Duw y duwiau Arglwydd yr Arglwyddi ie y Duw yr hwn sydd unig Duw a nyunygyffred, holl-alluog, a thragwyddol, efe a'i dywad, ei air ef ydyw hyn: Ni ddichon am hynny fod amgen na gwirionedd yr hyn sydd yn dyfod oddiwrth Dduw'r holl wirionedd. Ni ellir na byddir gwedy gorchymmyn yn gall ac yn ddeallus y peth a ddychymmygodd yr Holl-alluog Dduw, er ofered y tybygom ac y barnom ni gaethwyr truain (o eisiau grâs) am ei sancteiddiaf air ef. Mae'r Prophwyd Dafydd wrth bortreio ini ddyn llwyddiannus yn dywedyd, Gwyn ei fyd

Psal.1.1. y gwr ni rodiodd ynghyngor yr annuwiolion, ac ni safodd yn ffordd pechaduriaid ac nid eisteddodd yn eisteddfa gwatwarwyr. Mae tri rhyw o bobl y rhai y myn y prophwyd i ŵr a fynno bod yn llwyddiannus ac yn gyfrannog o fendithiau Duw wachelyd ac ymgadw rhag eu cymdeithas.

Yn gyntaf, nid oes iddo rodio yn ol cyngor yr annuwiol.

Yn ail, nid oes iddo sefyll yn ffordd pechaduriaid. Ac yn drydydd, nid oes iddo eistedd yngeisteddfa gwatwarwyr.

Wrth y tri rhyw hyn o bobl, annuwiolion, pechaduriaid, a gwatwarwyr, yr arwyddocair ac y gosodir i lawr yn oleu bob math ar ddrygioni.

Wrth yr annuwiol y mae fe'n deall y rhai nid

yscry-

hwy i fynu i ddwylo eu gelynnion, ie i ddwylaw Nabuchadnazer Brenin Babilon yr hwn a yspeiliodd eu da hwy, a loscodd eu dinas hwy ac a'i * dug hwy a'u gwragedd a'u plant yn gaethion i Babilon. *Dygodd.*

Ni wnaeth y bobl ddrwg oedd y nhyddiau Noah ond gwatwar o air yr Arglwydd, pan ddywedodd Noah wrthynt y dialai yr Arglwydd arnynt am ei pechodau. Am hynny y daeth y diluw yn ddisyndod arnynt ac a'u boddodd hwy a'r holl fyd.

Fe bregethodd Lott i'r Sodomiaid ond etifarent y distriwyd hwy a'u dinas, Hwy a gyfrifasant ei ymmadroddion ef megis pethau ni allent fod yn wir, hwy a sennasant ac a watwarasant ei rhybyddion ef, ac a'i cyfrifasant ef megis hen ffol disynnwyr. Ond pan darodd i Dduw trwy ei angel sanctaidd, gymmeryd Lot a'i wraig a'i ddwy ferched o'u plith hwy, fe lawiodd o'r nef dan a brwmstan ac a loscodd y senwyr a'r gwatwarwyr hynny o'i sanctaidd air ef.

A pha gyfrif oedd o athrawiaeth Christ ymmysc yr scrifenyddion a'r Phariseaid? Pa wobr y gafas ef yn ei mysc hwy? Mae 'r efangil yn adrodd fal hyn: yr oedd y Phariseaid trachwantus yn ei watwar ef yn ei athrawiaeth. Oh wrth hyn chwi a welwch fod gwyr doethion bydol yn gwatwar athrawiaeth eu Iachawdwriaeth. Mae doethion y byd hwn yn gwatwar athrawiaeth Christ megis ffolineb yn eu deall hwy. Fe fu y gwatwarwyr hyn er ioed ac hwy a fyddant byth hyd ddiwedd y byd. O herwydd mae S. Peter yn prophwydoliaethu y bydd y fath watwarwyr yn y byd cyn y bydd diwethaf. 2.Pet.2.2.

Gwagelwch gan hyn fy-mrodyr, gwagelwch
gwagelwch, na fyddwch watwarwyr sanctaidd
air Duw, nag annogwch ef i arllwys arnoch o'i
ddigofaint, fal y gwnaeth ef ar y senwyr a'r gwat-
warwyr hynny. Na fyddwch leiddiaid ewyllys-
gar eich eneidiau eich hunain. Trowch at Dduw
yr ennyd y bo amser i drugaredd: onid ef chwi a
etifarhewch yn y byd a ddaw pan fytho yn rhy
hwyr, o herwydd yno y bydd barn heb drugaredd.

Fe allai hyn wasanaethu in chebyddio ni ac i
beri ini berchi sanctaidd Scruthyrau Duw: ond
nid oes ffydd gan bawb. Am hynny ni ddigona ac
ni fodlona hyn feddyliau pawb: ond fal y mae rhai
yn gnawdol felly y parhant ac y camarferant
2.Pet.3.16. Scruthrau Duw yn gnawdol, i'w rhagor ddamm-
nedigaeth.

Mae'r annyscedig a'r anwadal (medd ef) yn
gwyro'r scruthyrau er distryw iddynt eu hunain.
Ac mae Iesu Grist fal y dywaid S. Paul i'r I-
ddewon yn drangwydd ac i'r cenhedloedd yn ffoli-
1.Cor.1.23. neb: ond i'r Iddewon a'r cenhedloedd y rhai a
alwyd yn nerth ac yn ddoethineb Duw. Mae'r
Luc.2.34. gwr sanctaidd Simeon yn dywedyd ei fod ef yn
gwymp ac yn gyfodiad i lawer yn Israel. Fal y
mae Christ Iesu yn gwymp i'r gwrthodedig y rhai
er hynny a gollir trwy eu beiau eu hunain, felly y
mae ei air ef a'i holl lyfr yn achos damnedigaeth
iddynt, trwy eu hanghredyniaeth. Ac fal nad
ydyw ef gyfodiad i neb ond i blant Duw trwy
Ddewisiad. *mabwys, felly y mae ei air ef a'r holl Scruthy-
rau yn nerth Duw i Iachadwriaeth yn unig i'r
rhai a'u credant. Mae Christ ei hun a'r Pro-
phwydi o'i flaen ef, a'r Apostolion ar ei ol ef, a

holl

holl wir wendidogion sanctaidd air Duw, ie pob gair yn llyfr Duw yn arogl angau i angau i'r gwrthodedigi. Mae Christ, y Prophwydi, yr Apostolion a holl wir wendidogion y gair, ie pob gronyn a thitul o'r scruthur sanctaidd ac fe fu er ioed ac fe fydd byth yn arogl bywyd i fywyd i'r rhai oll y burodd Duw eu calonnau trwy ffydd.

Gwiliwn yn ddifrif na wnelom watwargerdd o lyfrau 'r Scruthyrau sanctaidd. Pa tywyllaf a pha anhyweithaf fyddo 'r ymadroddion yn ein deall ni: tybygwn ein bod ein hunain ymhellach oddiwrth Dduw a'i Yspryd glan eu hawdur hwy. Ymrowm i chwilio allan y ddoethineb a fydd guddiedig dan rifcul yr Scruthyr oddifaes. Ac oni fedrwn ddeall ystyr a rheswm yr ymadrodd, etto na fyddwn watwarwyr, fenwyr a dynwaredwyr. O herwydd dyna 'r arwydd a'r argoel eithaf o un gwrthodedig, o elyn cyhoedd i Dduw a'i ddoethineb. Nid chwedlau ofer i'w gwatwar ydyw y pethau hyn y mae Duw yn eu cyhoeddi mor ddifrifol: am hynny cymmerwn hwy fal pethau difrif.

Ac er bod yn gosod allan mewn amryw leoedd o'r Scruthyrau, amryw ddeddfau a Ceremoniau, offrymmau ac aberthau: etto na rhyfeddwn ddim o'u plegid, ond trown hwynt at yr amseroedd a'r bobl i'r rhai a gwasanaethent, er nad ydynt yn anfuddiol i wyr dyscedig i'w ystyriaid, ond i'w deongl megis arwyddion a chyscodau pethau a phersonau y rhai a eglurwyd ar ol hynny yn y Testament newydd.

Ac er nad ydyw cyfrif gwehelyth ac achau'r tadau yn adailadaeth fawr i'r bobl gyffredinol annyscedig: etto nid oes dim gwedy ei adrodd mor

amherthynasol yn holl lyfr y beibl na wasanaetha i ddefnydd ysprydol mewn rhyw fodd, i bawb ac a lafurant i chwilio 'r yscr. Nid oes i ni ddiystyru y rhai hyn, am na wasanaethant ein deall ni a'n adailadaeth. Ond trown ein trafael i ddeall ac i ddwyn gyda ni y fath ymmadroddion a historiau ac ydynt gymmesurach ein deall ni a'n haddysc. Ac lle 'r ydym yn darllen yn Psalmau Dafydd pa fodd y dymunodd ef i wrthwynebwyr Duw weithiau cywilydd, cerydd a gwaradwydd, weithiau diepiliaeth, weithiau ar eu dyfod i ddistryw a dinistr disymmwth, fal y dymunodd ef i benaethiaid y Philistiaid. Gwna, medd ef, luched a gwascar hwynt, gyr dy saethau a difa hwynt: ar fath regau eraill.

Psal. 144. 6.

Etto ni ddlyaid rhwystro mohanom am y fath weddiau eiddo Dafydd, ac yntef yn Brophwyd, a Duw yn ei garu yn odidawg, a chwedy ei gynhyrfu yn yr yspryd a zeal wresog i ogoniant Duw; fe a'i dywaid hwy nid o genfigen ddirgel nag o gasineb yn erbyn y dynnion, ond fe a ddymunodd yn ysprydol ddistryw yr holl fath amryfysedd a baiau llygredig y rhai a deyrnasant yn yr holl bobl ddiawlig ac a ymosodant yn erbyn Duw.

Yr ydodd ef o'r un meddwl ac oedd S. Pawl, pan roddodd ef Hymeneus ac Alexander a'r goddinebwyr cyhoeddus i satan, er eu gwarth bydol, fal y byddai 'r Yspryd yn gadwedig a'r ddydd yr Arglwydd. A phan ydyw Dafydd yn addef ei fod yn casau yr annuwiol: etto mae fe 'n dywedyd mewn man arall ei fod yn eu casau hwy nid a chasineb cenfigennus i wneuthur eniweid i'r enaid, ond a chasineb perffaith. Yr hwn berffeiddrwydd

ddrwydd

ddrwydd yspryd am na ellir ei gyflawni ynom ni, a ni gwedy'n llygru yn ein gwyniau fal yr ydym, ni ddlyem ni yn un achos priodol arfer y cyfryw ddull a'r airiau, o herwydd na allwn gyflawni mewn yftyr y cyffelyb airiau.

Na rwystrir ni am hynny onid chwiliwn yftyr y fath airiau heb ein rhwystro, fal y gallom farni am y fath airiau a mwy barch: er eu bod hwy yn ddieithr in deall cnawdol ni, etto gan y rhai ydynt wir ysprydol fe a fernir ddarfod eu cyhoeddi hwy o zeal ac yn dduwiol. Duw am hynny er mwyn ei fawr drugaredd a burhao ein meddyliau ni trwy ffydd yn ei fab Iesu Grist, ac a ddifero ddafnau ei rad nefol in calonnau caregog ni, i'w meddalhau hwy, fal na byddom ddiyftyrwyr a gwatwarwyr ei anhwylllodrus air ef: ond bod ini a phob gostyngeiddrwydd meddwl a pharch Christionogaidd ymroi i wrando ac i ddarllen yr Scruthyrau fanctaidd, ac felly i ymborth arnynt oddifewn, fal y byddo mwyaf ddiddanwch in eneidiau a fancteiddrwydd ei fanctaidd enw ef: i'r hwn gyda'r mab a'r Yspryd glân, tri pherson ac un hywiol Dduw y byddo pob clod anrhydedd a moliant yn oes oesoedd.

Amen.





# Y drydedd ran o lyfr y Pregethau cyhoedd.



## ¶ Pregeth am elusenau a thrugarogrwydd tuag at y tlawd a'r anghenus.



YMhlith yr aml ddyledion y mae r' holl-alluog Dduw yn edrych am danynt gan ei weision ffyddlon, y gwir Gristionogion, trwy y rhai y mynnai ogoneddu ei enw a manegi siccrwydd ei galwedigaeth hwyntau, nid oes un yn fwy cymmeradwy gantho fe, nac yn fuddiolach iddynt hwythau, nâ gweithredoedd trugaredd a thosturi a ddangosir at y tlawd, yr hwn a fliner ag unrhyw gyfyngder. Ac etto er hynny cyfryw ydyw anescud ddiogi ein anian hurt ni, at yr hyn sydd dduwiol a daionus, nad ydym ni

mewn dim haechen, yn yscaelusach ac yn ddiofa-
lach nag yn hynny.

Peth angenrhaid am hynny yw i bobl Dduw ddyhuno o'u meddyliau * cyscadur, ac ystyried eu dlyed yn hyn o beth. A gweddus yw i bob gwir Gristion ymofyn a dyscu yn ewyllysgar pa beth y mae Duw yn ei sanctaidd air yn ei ofyn ganthynt yn hyn o beth: fal gwedy yn gyntaf wybod eu ddlyed (yr hyn y mae llawer o blegid eu yscaelusrwydd yn dangos eu bod heb ei wybod) y gallont a'r ol hyn yn ddiescaelusach gyflawni hynny: trwy'r hyn y gellir eofnhau y dynnion duwiol caredig, i fyned yn eu blaen ac i barhau yn eu trugarog orchwilion o roddi cardodau i'r tylodion, ac fal y gallo hefyd y rhai hyd hyn a escaelusasant ac a ddiystyrasant hynny, (gwedy clywed mor berthynasol yw hyn iddynt) yn awr yn y diwedd yn ystyriol ei ystyried ef, ac ymroi yn rhinweddol i hynny.

* cysclud

Ac er mwyn i bob un o honoch ddeall yn well yr hyn a ddangosir, ai ddwyn yn haws gyda chwi, ac felly cymmeryd ychwaneg ffrwyth o'r hyn a ddywedir pan draethir yn neillduol bethau neillduol, mae yn fy mryd i draethu ac adrodd y pethau hyn bob un o'r neilltu yn y drefn hon.

Yn gyntaf mifi a ddangosaf mor ddifrif y mae 'r holl-alluog Dduw yn ei sanctaidd air, yn galw arnom am roddi cardodau a gwneuthur elusen, ac mor gymmeradwy yw'r pethau hyn yngolwg Duw.

Yn ail mor fuddiol yw i ninnau eu harfer hwy, a pha elw a pha ffrwyth a ddygant ini.

Yn drydedd ac yn ddiwaethaf mifi a ddangosaf allan o air Duw pwy bynnac a fytho hael wrth y

tylodion.

tylodion ac a'u portho hwynt yn halaeth, y caiff hwnnw ddigon iddo ei hun er hynny: ac y bydd ef byth i maes o enbeidrwydd prinder a diffyg.

Ynghylch y cyntaf, yr hwn yw cymmeriad, braint, a phris elusenau gerbron Duw, gwybyddwch hyn, fod nerthu a chynnorthwyo'r tylawd yn eu hangenau a'u cyfyngder, yn bodloni Duw yn gymmaint, fal y mae'r scruthyr yn coffa mewn llawer lle, nad oes dim a ddichon cael ei gymeryd a'i dderbyn mor ddiolchus ar law Dduw.

O herwydd yn gyntaf yr ydym yn darllen, fod yr hollalloog Dduw yn cyfrif fod yn rhoddi yr hyn a rodder i'r tylawd iddo fe ei hun, o herwydd felly, y mae'r Yspryd glan yn testiolaethu ini trwy enau y gwr doeth, gan ddywedyd, Y neb a gymmero drugaredd ar y tylawd sydd yn rhoddi echwyn i'r Arglwydd. Ac mae Christ yn traethu yn yr efengyl, ac mae fe'n clymmu hynny â llw, megis gwir diogel, fod elusenau a roddir i'r tylodion, gwedy eu rhoddi iddo fe ei hun, ac y cyfrifir hwy felly yn y dydd diwethaf: o herwydd fal hyn y dywaid ef wrth roddwyr cardodau, pan eisteddo ef yn farnwr yn y farn, i roi barn ar bob dyn yn ol ei weithredoedd: yn wir yn wir y dywedaf wrthych, pa weithredoedd o drugareedd bynnac a wneuthoch i'r vn o'r, rhai lleiaf hyn, chwi a'u gwneuthoch i mifi, wrth eu bwydo hwy, chwi a'm bwydasoch i, wrth eu disychedu hwy, chwi a'm disychedasoch i, wrth eu dillata hwy, chwi a'm dillatasoch i, wrth eu lletteua hwy, chwi a'm lletteuasoch i, wrth ymweled â hwy yn gleifion mewn carchar, chwi a ymwelsoch â mifi.

Diar.19.17.

O herwydd yr hwn a dderbynio gennadon

 brenin,

brenin, ac a'u creusewo hwy, mae 'n anrhydeddu
'r brenin, oddiwrth yr hwn y daeth y cenhadwyr
hynny, felly'r hwn a dderbynio'r tylawd a'r an-
ghenus, ac a'u cynorthwyo hwy yn eu blinder a'u
cyfyngderau, mae ef trwy hynny'n derbyn ac
yn anrhydeddu eu meistr hwy Christ, yr hwn fal
yr ydoedd ef yn dylawd ei hun, ac yn anghenus,
yr hyd y bu ef fyw yn ein mysc ni, i weithio dirge-
lwch ein Iachawdwriaeth ni: felly ar ei fynedi-
ad ef oddi yimma, fe a addawodd danfon ini yn ei
le y rhai a fydde dylodion, drwy y rhai y cyflaw-
nid ei absen ef. Ac am hynny pa beth bynnac a
wnelem iddo ef, hynny sydd raid i ni ei wneuthur
iddynt hwy.

Ac am hyn y dywad yr holl-alluog Dduw wrth
Moeses: ni dderfydd y tylawd o genol y tir yr yd-
Deu.15.11. ych yn myned iddo: er mwyn iddo gael profiad
gwastadol o'i bobl, pa vn a wnant ai garu ef ai
pedio: fal wrth ddangos eu hunain yn vfydd i'w
ewyllys ef, y gallent eu siccrhau eu hunain o'i
garedigrwydd a'i ewyllys da yntef tuag attynt:
a bod heb ammau fal y derbyniasant ac y cyflaw-
nasant hwy ei ewyllys a'i gyfraithau a'i ordeini-
aethau efe, (yn y rhai y gorchymynodd iddynt a-
goryd eu dwylo i'w brodyr y rhai oeddent dylodi-
on yn y tir) felly o'i ran yntef y derbyn yntef
hwy'n garedig, ac y cyflawna yn gywir ei adde-
widion a wnaeth ef iddynt.

Mae apostolion a discyblon Christ, y rhai wrth
ei feunyddol ymddygiad ef, a welsant yn ei wei-
thredoedd ef, ac a glywsont yn ei athrawaeth ef,
gymmaint gofal oedd gantho am y tylodion:
mae'r tadau duwiol hefyd, cystal cyn dyfodiad
Christ, a chwedy ei ddyfodiad, y rhai a lanwyd yn

ddiddau a'r Yspryd glan, ac oeddynt siccr o ewyllys sanctaidd Duw. Mae pob vn o honynt yn ein rhybyddio yn ddifrif, ac yn eu holl scrifenadau haechen yn wastadol yn ein cynghori ni, i gofio'r tlawd, ac i osod ein cardodau caredigol arnynt.

Mae S. Pawl fal hyn yn gweiddi arnom, diddenwch y gwan-feddwl, cynheliwch y gweiniaid, byddwch ymarhous wrth bawb. Ac ailwaith, nac anghofiwch gyweithasrwydd a chyfranniad, canys â chyfryw ebyrth y bodlonir duw. Ac mae'r prophwyd Esai'n dangos fal hyn, Tor dy fara i'r newynog, dwg y cyrwydrad i'th dŷ, a phan welych y noeth dillata ef, ac na ymguddia oddiwrth dy gnawd, tosturia wrth y newynog, a diwalla'r enaid cystuddiedig. Ac mae'r Tad sanctaidd Tobi yn rhoddi'r cyngor hwn, Dod elusen o'r peth â fytho gennit, ac na chenfigenned dy lygad wrth roddi dy elûsen, ac na thro dy wyneb oddiwrth neb tylawd, ac ni thry Duw ei wyneb oddiwrthit tithau. Dod ti o'th fara i'r newynog ac o'th ddillad i'r noeth. Ac mae'r tad dyscedig dûwiol Chrysostom yn rhoddi y cyngor hyn, Bydded elusenau trugarog yn wastad gyda ni, megis dillad arnom: hynny yw mor feddylgar a fythom i wisco am danom ein dillad, i giddio'n noethni, i'n cadw rhag oerfel, ac i'n dangos ein hûnain yn weddaiddd, byddwn mor gofus yn wastad i roddi elusennau i'r tylodion, ac i'n dangos ein hunain yn drugarogion tuag attynt.

1. Thes. 5. 14.
Heb. 13. 16.
Esai 58. 7. 10.
Tob. 4. 7. 16.
Ad populum Antiochenum homil. 35.

Ond pa beth yw meddwl rhybyddion difrif ac aml annogaethau y prophwydi, apostolion, tadau, â Doctoriaid sanctaidd? yn wir fal yr oeddynt yn ffyddlon tuag at Dduw, ac yn cyflawni eu dlyed tu ag at dduw, gan ddywedyd i ni pa

ya beth oedd ewyllys Duw: felly o gariad godi-
dawg tuag attom ninnau, hwy a drafaelasant
nid yn unig i'n cyfarwyddo ni, ond i'n perswado
ni fod rhoddi cardodau, a chynnorthwyo'r tlawd
a'r anghenus, yn beth cymmeradwy ac yn aberth
godidawg i dduw yn yr hwn y mae fe'n ymhoffi'n
fawr, ac yn ymfodloni'n ddirfawr: O herwydd
felly y mae y gwr call mab Sirach yn dyscu ini,
Eccles. 35.3.7. gan ddywedyd, fod yr hwn sydd drugarog ac yn
rhoddi elusen yn aberthu'r iawn aberth, diolch
a moliant. Ac mae'n cydsylltu a hynny, fod
aberth inion, duwiol, yn gwneuthur yr allor yn
fras, a bod ei arogl ef yn beraidd gerbron yr Ar-
glwydd, ie ei fod ef yn gymmeradwy gerbron
duw, ac na ollyngir dros gof ei goffadwriaeth ef.

Ac yr ydys yn gwirhau gwirionedd yr athrawiaeth hon wrth siamplau y tadau sanctaidd, caredig, am y rhai yr ydym ni yn darllen yn yr scruthyrau, ei bod hwy gwedy ymroi i dosturi a thrugarogrwydd tuag at y tylawd ac yn garedig i esmwytho ei anghenau hwy. O'r fath hyn oedd Abraham, i'r hwn yr ydoedd Duw mor fodlon ac y bu wiw gantho ddyfod atto mewn dull angel, a chymmeryd ei rausewoi i'w dy ef. O'r fath hyn yr ydoedd ei garwr ef Lot, yr hwn a garodd Duw yn gymmaint (am dderbyn ei ganhadon ef i'w dy, y rhai oni buasai hynny a gawsent orwedd yn yr heol) ac y cadwodd efe ef a'i holl dylwyth, oddiwrth ddistriw Sodom a Gomorha. O'r fath hyn yr oedd y tadau sanctaidd, Job, Tobi, a llaweroedd eraill, y rhai a glywsont o'i mewn, megis yn gyhoedd i'w synhwyrau, brossiad o yspysawl gariad duw tuag attynt. Ac fal y cafodd yr holl rai hyn (trwy eu trugaredd a'u mawr dosturi, yr

hwn

hwn a ddangosasant hwy i flinedig aelodau truain Christ, wrth eu esmwytho, eu nerthu, a'u cynnorthwyo (hwy â'u da bydol yn y byd hwn) fawr serch Duw, ac y buont anwyl, hoff, a bodlongar yn ei olwg ef, felly y maent hwythau 'n awr yn cael eu digrifo, wrth fwynhau Duw mewn hoff lawenydd nefoedd, ac hwy a osodir hefyd ger ein bronnau ninnau, yn-nhragwyddol air Duw megis samplau perffaith i'n dyscu ni, cystadl pa fodd y bodlonwn ddûw yn y bywyd marwol hwn, ac hefyd, pa fodd y dawn ni i fyw yn llawen gydâ hwy, mewn hyfrydwch a dedwyddyd tragwyddol.

O herwydd gwir iawn yw r hyn a ddywaid S. Awstin: Mai rhoddi cardodau, a chynnorthwyo 'r tylawd, yw yr iniawn ffordd i'r nef: via cœli pauper est, y ffordd i'r nef yw 'r tylawd, medd ef. Hwy a arferēt yn yr amser gynt, o osod ar heolydd cyffredin ddelw mercuri, yn dangos a'i fys yr iniawn ffordd i'r dref, ac yr ydym ninnau 'n arfer mewn croes-ffyrdd, o osod croes o goed, neu gerig, er rhybyddio 'r ymdeithydd, pa ffordd y dylai ef droi, pan delo ef hyd etti: ac i'w gyfarwyddo ef yn y iawn ffordd, ond fe a osododd gair Duw (medd S. Awstin) yn y ffordd i'r nef, y dyn tylawd, a'i dŷ, fal pwy bynnac a elo 'n iniawn yno, heb droi oddiar y ffordd, rhaid iddo ef fyned heibio i'r tylawd. Y tylawd yw 'r mercuri hwnnw, yr hwn a'n gosod ni yn yr iniawn ffordd, ac os edrychwn ni yn dda ar y nod hwn, ni chyrwydrwn ni yn eppell oddiar y llwybr inion.

Arfer gwŷr call bydol yn ein mysc ni yw, os gwyddont fod neb sydd is ei stat na hwynthwy, mewn ffafwr rhyw dywysog, neu bennaeth, yr hwn y

maent yn ei ofni, neu yn ei garu, i hwnnw y bydd da ganthynt wneuthur daioni a thwrn da iddo, fal pan fytho rhaid y gallo yntef fod yn eiriolwr drostynt, naill ai i ennill mael, ai yntef i ddianc rhag twrn drwg, fe ddylai fod cywilydd arnom ni, fod dynnion bydol yn synwyrolach ac yn gallach i ennill iddynt eu hunain bethau bydol, y rhai ni pharhant ond dros amser, na nini i geisio pethau nefol. Mae'n Iachawdwr Christ yn testiolaethu am y tlodion, eu bod hwy yn anwyl iawn gantho ef, a'i fod ef yn eu caru hwy'n odidawg, o herwydd mae fe'n eu galw hwy yn blant bychain iddo, enw o gariad tra-rhagorol. Mae fe'n dywedyd eu bod hwy yn frodyr iddo. Ac mae S. Iaco'n dywedyd i Dduw eu dewis hwy i fod yn etifeddion o'i deyrnas ef: oni ddewisodd Duw (medd ef) dylodion y byd hwn i fod yn gyfoethogion mewn ffydd, ac i fod yn etifeddion o'r deyrnas, yr hon a addawodd ef i bawb ac a'i carant ef? Ac ni a wyddom y bydd y weddi a wnelont drosom ni'n gyfrifol, ac yn gymmeradwy ger bron Duw, fe wrandewir eu achwynion hwy hefyd. Ac am hynny mae Iesu fab Sirach yn ein siccrhau ni

Eccl.4.6. 'n ddiogel, gan ddywedyd, Pan felldithio y tylawd di yn chwerwedd ei enaid, yr hwn a'i gwnaeth ef a wrendy ei weddi ef. Byddwch chwithau drugarog am hynny wrth y tylawd.

Ni a wyddom hefyd fod yr hwn sydd yn cydnabod ei hun yn feistr ac yn ymddiffynnydd iddynt, ac ni wrthyd eu cymmeryd hwy yn weision iddo, yn abl i wneuthur i ni les ac afles, a bod yn rhaid ini bob awr wrth ei gynorthwy ef. Paham am hynny y byddwn ni nac escaelus nac anewyllysgar i ennill eu cymdeithas hwy a'u

serch,

serch, trwy'r hyn hefyd y gallwn fod yn siccr o
ennill ei serch ef, yr hwn sydd allugg ac ewyllys-
gar i wneuthur ini bob daioni ac a fyddo er
ein lles ni a'n llwyddiant. Mae Christ yn ma-
negi wrth hyn pa gymmaint gantho am ein ca-
redigrwydd ni at y tlawd, am ei fod ef yn addo
gobrwyo'r rhai a roddant phioled o ddwfr yn ei
enw ef i'r rhai a fo arnynt ei eisiau, a'r gwobr
hwnnw yw teyrnas nef.

Diammau am hyn yw fod Duw yn gwneu-
thur cyfrif mawr o'r hyn y mae fe yn ei obrwyo
mor hael. O herwydd mae'r hwn sydd yn addo
taliad frenhinawl am rodd cardottyn, yn dan-
gos fod yn hoffach gantho fe y rhoddi, nà'r rhodd,
a'i fod ef yn cyfrif yn gymmaint wneuthurdeb
y peth, a'r ffrwyth a'r ennill sydd yn dyfod o hono.
Pwy bynnac gan hynny a escaelusodd hed yn
hyn roddi cardodau, gwybydded yn awr fod
Duw yn eu gofyn hwy ar ei ddwylaw ef, a gwy-
bydded yr hwn a fu hael wrth y tylawd, fod ei
orchwylion duwiol ef yn gymmeradwy, a bod
Duw yn eu derbyn hwy yn ddiolchus, am y rhai
hefyd y tal ef yn ddau ac yn dri dyblyg: o her Diar.19.17.
wydd felly y mae'r gwr call yn dywedyd, yr hwn
sydd yn cymmeryd trugaredd ar y tylawd, sydd
yn rhoddi echwyn i'r Arglwydd, dros occr ac
ennill halaeth, a'r ennill yn enwedig yw bywyd
tragwyddol trwy haeddiant ein Iachawdwr
Iesu Grist, i'r hwn gyda'r Tad a'r Yspryd glan,
y byddo holl anrhydedd a gogoniant yn oes
oesoedd, Amen.

# Yr ail rhan o'r bregeth am elusennau.



Hwi a glywsoch fy annwyl garedigion, fod rhoddi elusenau i'r tylodion a'u cynnorthwyo hwy, yn amser anghenrhaid, mor gymmeradwy gan ein Iachawdwr Christ, fal y mae 'n cyfrif y peth a wnelir iddynt hwy er ei fwyn ef, gwedy ei wneuthur iddo ef ei hun. Chwi a glywsoch hefyd mor ddifrif y mae 'r Apostolion, y Prophwydi, a'r Tadau sanctaidd, a'r doctoriaid yn ein hannog ni i hynny. Ac chwi a welwch mor anwyl gan Dduw fu y rhai y mae 'r scruthur yn son eu bod yn rhoddwyr cardodau da. Am hynny os cyffro na'u samplau da hwy, na chyngor iachus y Tadau duwiol, na Christ ni, serch yr hwn yr ydym siccr o'i fwcynhau trwy hyn o beth: neu os priswn y pethau hyn, ymddarparwn o hyn allan i ddangos i Dduw y gwasanaeth cymmeradwy ymma, gan fod yn barod i nerthu y rhai sydd dylodion ac mewn blinder.

Yn awr yr ail bryd yr ydwyf yn traethu i chwi am elusenau, mi a ddangosaf mor fuddiol yw eu harfer hwy, a pha ffrwyth a ddaw ini, os gwnawn hwy yn ffyddlon. Mae 'n Iachawdwr Christ yn dangos yn ei efengil, nad oes ennill i ddyn er meddiannu 'r holl fyd a'i gyfoeth a'i ogoniant, os cyll ef ei enaid ei hun, neu os gwna fe ddim, trwy 'r hyn y gellir ei wneuthur ef yn gaeth iangau, pechod neu dân uffernol. Trwy hyn y

Math.16.26.

mae

mae fe yn dangos nid yn unic pa gymmaint y
dlyem ofalu am iechyd yr enaid, yn fwy nag eidw
bydol, ond mae hyn hefyd yn gwaſanaethu i gy-
ffro'n meddyliau ni, ac i'n cyffro ni yn ein blaen,
i geiſio'n ddieſcalus, a dyſcu trwy hynny, pa fodd
y mae ini gadw a chynnal dros fyth ein eneidiau
mewn diogelwch: hynny yw, pa fodd y mae ini
adnewyddu'n iechyd, os bydd gwedy colli neu
leihau, ac os bydd ef unwaith gennym pa fodd
y gallwn ei faenteinio ef. Je mae fe trwy hyn-
ny yn ein dangos ni hefyd i gyfrif honno yn feddig-
iniaeth werthfawr ac yn dlws godidawg, yr
hon ſydd a'r fath rym a rhinwedd ynddi i gadw
ac i gynnal treſſor mor ddigyffelyb.

O herwydd os gwnawn ni gyfrif mawr o'r fe-
ddiginieth neu 'r eli a ddichon iachau amryw gle-
fydau trymmion, a heintiau corphorol, mwy
cyfrif lawer a ddylem ni ei wneuthur o'r hyn
ſydd a gallu ynddo ar yr enaid. Ac fal y gallem
fod yn ſiccr ddigon o adnabod, ac o fod gennem
mewn parodrwydd, y gyfarwyddyd ſydd mor
fuddiol, mae fe megis dyſcawdwr ffyddlon yn
dangos ei hun pa beth yw hi, a pha le y mae ini
ei chael hi, a pha fodd y mae ini ei harfer a'i thre-
fnu hi. O herwydd pan achwynwyd arno ef ac Luc.11.41.
ar ei ddiſcyblion yn doſt gan y Phariſæaid, ddar-
fod iddynt wradwyddo eu heneidiau wrth dorri
traddodiadau'r henuriaid am iddynt fyned at
eu bwyd heb olchi eu dwylaw o'r blaen, yn ol
arfer yr Iddewon: mae Chriſt yn atteb i'w cwyn
ofergoelus hwy, gan ddangos iddynt y gyfarwy-
ddyd orau i gadw eu heneidiau yn lân, er torri y
fath drefnau ofergoelus; Rhoddwch eluſen,
medd ef, a phob peth y ſydd lân i chwi: mae ef yn

eu dyscu hwy; mai bod yn drugarog ac yn garedig i gynnorthwyo'r tlawd, yw'r unig lwybr i gadw'r enaid yn bur ac yn lân yngolwg Duw.
Tob.4.10. Am hynny trwy hyn y dyscir fod rhoddi eluseneu yn fuddiol i lanhau yr enaid oddiwrth gyffaith a brychi pechod.

Mae'r Yspryd glân yn dangos yr un wers hefyd mewn llawer o leoedd o'r scrythyr sanctaidd, gan ddywedyd, fod trûgaredd ac elusenau yn gwared rhag pechod, yn cadw rhag angau, ac yn rhwystro'r enaid i ddyfod i dywyllwch. Mawr yw'r diogelwch gar bron y goruchaf Dduw, a all fod gan y rhai a ddangossant drugaredd a thostûri ar y rhai sydd mewn blinder: mae'r pregeth-
Ecclus.29.15. thwr doeth, mab Sirach yn cadarnhau hyn, pan yw fe'n dywedyd, fal y mae dwfr yn diffodd tân, felly fod trugaredd ac elusenneu yn gwrthwynebu pechodau. A siccr yw fod trûgarogrwydd yn oeri gwrês pechodau yn gymmaint ac na allant graffû ar ddŷn i'w ddrygu, neu os cyfyrddant ag ef neu waethygu arno trwy wendid, mae trugaredd yn y man yn eu sychu ac yn eu golchi hwy ymaith, megis meddyginiaethau ac eli i iachau eu clwyfau a'u clefydau tôst hwy.

Ac ar hyny ymae'r tâd sanctaidd Cyprian yn cymmeryd achos i'n hannog ni i weithred trugarog rhoddi cardodau a rhynorthwyo y tlawd, ac yno y mae ef yn ein rhybyddio ni i ystyried mor iachus ac mor fuddiol yw cynnorthwyo'r anghenus, a nerthu'r blinderog, trwy'r hyn y gallwn lanhau'n pechodau ac iachau ein enaidiau clwyfus.

Ond etto fe a ddywaid rhyw ddŷn, pe galle ein elusenau a'n gweithredoedd caredigol ni at y

tlodion

tlodion olchi ymaith ein pechodau ni a 'n cymmodi ni â Duw a 'n rhyddhau ni oddiwrth enbeidrwydd damnedigaeth, a 'n gwneuthur yn feibion ac yn etifeddion o deyrnas Dduw, yno y diddymmir haeddiant Christ ac ofer y tywalltwyd ei waed ef, yno y'n cyfiawnhair ni trwy ein gweithredoedd, fal y dywaid S. Pawl.

Ond deallwch, fy-ngharedigion, nad ydyw y lleoedd o'r Scrythyr a osodwyd o'r blaen, nac athrawaieth y merthyr bendigedig Cyprian nac un gwr duwiol dyscedig arall, pan ydynt hwy wrth fawrhau braint, budd, ffrwyth a grym elusenau rhinweddol hael, wrth ddywedyd eu bod hwy yn golchi ymaith bechodau, ac yn ein dwyn i ffafor Duw; yn meddwl fod ein gwaith a'n gorchwyl caredig ni yn achos dechreuol o 'n cymmeriad ni ger bron Duw, neu y gellir golchi ymaith ein pechodau ni a'n purhau ni a'n glanhau ni oddiwrth holl gyffaith ein anwiredd, o fraint a theilyngdod elusen: O herwydd ni byddai hynny ond gwir ansfurfio Christ a'i anrhaithio o'i ogoniant.

Ond hynny maent yn ei feddwl a hyn yw ystyr yr ymadroddion hyn a'r fath ymadroddion, ddarfodd i Dduw o'i serch yspysawl a'i fawr drugaredd tu ag at y rhai a ordeiniodd ef i iechydwriaeth dragwyddol, felly gynnyg ei râd yn enwedigawl, ac iddynt hwythau ei dderbyn ef mor ffrwythlon megis er eu bod oblegid eu bywyd pechadurus oddi-allan o'r blaen yn blant digofaint a distryw: etto gan fod Yspryd Duw yn awr yn gweithio'n gadarn ynddynt i ufydd-dod i ewyllys Duw a'i orchymmynion, maent yn cyhoeddi wrth eu gorchwylion, a'u bywyd

oddi-

oddi-allan wrth ddangos trugaredd a charedigrwydd at y tlawd yr hyn ni ddichon dyfod ond o yspryd Duw a'i râd Yspysawl, eu bod hwy yn ddiammau yn blant i Dduw gwedi eu hordeinio i fywyd tragwyddol. Ac felly megys wrth eu drygioni a'u hanuwiol fywyd yr oeddynt yn eu dangos eu hunain yn ol barn dynnion (y rhai a ganlynant yr agwedd oddi-allan yn unig) eu bod yn wrthodedig, a chwedy eu troi heibio: felly yn awr wrth eu hufydd-dod i sanctaidd ewyllys Duw, ac wrth eu trugarogrwydd a'u mawr dosturi, yn yr hyn y dangossant hwy eu bod yn gyffelyb i Dduw yr hwn yw ffynon a ffrŵd pob trugaredd, y dangossant yn eglur ac yn oleu yngolwg dynion mai plant Duw ydynt a'i etholedigion ef i iechydwriaeth.

O herwydd fal nad yw y ffrwyth da yn achos o fod y pren yn dda, ond rhaid yw i'r pren yn gyntaf fod yn dda, cyn y gallo ef ddwyn ffrwyth da: felly nid ydyw gorchwylion da dŷn yn achosion o fod dŷn yn dda; ond fe a wnair yn gyntaf yn dda trwy Yspryd a rhâd Duw yr hwn sydd yn gweithio 'n rymmus ynddo ef, ac yn ol hyny y mae fe 'n dwyn allan ffrwythau da. Ac yno fal y mae ffrwythau da yn dangos ac yn cyhoeddi daioni 'r pren, felly y mae gweithredoedd da tru-garog dŷn yn profi ac yn cyhoeddi daioni yr hwn a'u gwnelo hwynt; yn ol ymadrodd Christ; wrth eu ffrwyth yr adnabyddwch hwynt.

Os gwrthddadleu neb fod dynion beius drwg weithiau wrth eu gweithredoedd yn ymddangos yn dduwiol ac yn rhinweddol iawn, mi a attebaf fod y grabyssyn, a'r beren dagu, yn edrych weith-

iau,

fau oddi allan mor goch ac mor ber a ffrwythau daionus da. Ond fe sydd hawdd i'r gwr a gno ac a brofo, farnu rhwng sur chwerwder y naill a blas peraidd y llall; Ac megys y mae'r gwir Gristion mewn diolchgarwch calon am ryddhâd ei enaid yr hwn a brynwyd trwy farwolaeth Christ, yn dangos yn swyn trwy ffrwyth eu ffydd, ei vfyddod i Dduw; felly y mae'r llall megis marchnadwr gyda Duw yn gwneuthur y cwbl er ei ennill ei hunan gan dybiaid y gall ef ennill nef trwy haeddedigaeth ei weithredoedd, ac mae ef yn anffurfo ac yn tywyllu gwerth gwaed Christ, yr hwn yn vnig a weithiodd ein glanhâd ni.

Am hynny ystyr yr ymadroddion hyn yn yr scrythyrau ac scrifennadu duwiol eraill, Mae elusenau yn golchi ein pechodau ni ymaith, a thrugaredd at y tlawd yn deleu ein anwireddau ni, yw hyn, ein bod ni wrth wneuthur y pethau hyn yn ol ewyllys Duw a'n dyled ein hunain, yn cael golchi ein pechodau ymaith, a deleu ein anwireddau, nid trwy eu haeddiant hwy, onid trwy ras Duw, yr hwn sydd yn gweithio oll yn oll, a hyny o oblegid yr addewid a wnaeth duw i'r rhai a vfyddhânt i'w orchymynion ef: fal y cyfiawnhaid yr hwn sydd wirionedd wrth gyflawni y gwirionedd sydd ddyledus ar ei addewid ef.

Mae elusennau yn golchi ymaith ein pechodau ni am fod yn wiw gan Dduw ein cyfrif ni yn burion ac yn lân pan fythom ni yn eu gwneuthur hwy er ei swyn ef, ac nid am eu bod hwy yn haeddu ein glanhâd ni, neu am fod y fath rym a rhinwedd ynddynt hwy eu hunain.

Mi a won fod rhai yn ymroddi yn ormod i ymffrost

ffrostio am eu gweithredoedd da, ac na byddant hwy bodlon ir atteb hwn: ac nid rhyfedd, Oherwydd ni ddichon vn atteb fodloni na gwsnaethu y fath ddynion: am hyny ni a adawn y rhai hyny i'w rhwystr cyndyn eu hunain, ac a ddylynwn y duwiol rhesymol, y rhai megis y maent yn gwybod ac yn eu siccrhau eu hunain, fod pob daioni, pob haelioni, pob trugaredd, a phob doniau a phob maddeuant o bechodau, a pha beth bynac a ellir ei alw yn dda ac yn fuddiol i'r corph neu i'r enaid, yn dyfod yn vnig oddiwrth drugaredd Duw, a'i vnig serch ef, ac nid o honynt hwy eu hunain: felly er cymmaint, er mor odidawg weithredoedd da a wnelont, etto nid ymchwyddant byth gan ofer ymddiried ynddynt.

Ac er eu bod hwy yn clywed ac yn darllen yngair Duw ac yng weithredoedd gwŷr duwiol eraill fod elusenau, trugaredd a charedigrwydd yn golchi ymaith bechodau ac yn deleu anwireddau, etto nid ydynt hwy'n rhyfygus, ac yn falch yn glynu wrthynt nac yn ymddired ynddynt, nac yn ymffrostio am danynt, megis y gwnaeth y Pharisai balch, rhag iddynt gydâ'r Pharisai gael eu damnio: ond gydâ'r Publican gostyngedig tlawd, maent yn addef eu bod yn bechaduriaid truain yn annheilwng i edrych tu a'r nef: gan alw ac ymbil am drugaredd fal gydâ'r Publican y cyhoedder hwy gan Christ yn gyfiawn.

Mae'r duwiol yn dyscu pan ddywedo'r Scrythyr fod trwy weithredoedd da trugarog, yn ein cymmodi ni â Duw, fod yn ein dyscu ni trwy hyny, i adnabod beth y mae Christ drwy ei gyfryngad a'i ddadleuad yn ei enill ini gan ei

Dâd

Dâd, pan fyddom ni ufydd i'w ewyllys ef, ie maent hwy trwy 'r fath ymadroddion yn dyscu argoel fawr o ddiddanus a godidawg serch a chariad Duw, yr hwn sydd yn tadogi arnom ni a'n gorchwylion y peth trwy ei Yspryd y mae ef yn ei weithio ynom ac yn ei beri ini trwy ei rad. Ac etto er hynny, maent yn gweiddi gydâ S. Pawl, Oh ddynion truain ydym ni: ac yn adnabod (fal y dangos Christ) darffo iddynt wneuthur y cwbl oll, nad ydynt onid gweison anfuddiol; a chydâ 'r bendigedig frenin Dafydd, oblegid cyfiawn farn Duw, maent yn crynu ac yn dywedyd, Pwy a all aros O Arglwydd, os rhoddi di farn yn ol ein haeddiant ni?

Fal hyn y maent hwy yn ymostwng ac y cyfodir hwy gan Dduw. Maent yn eu cyfrif eu hunain yn wael, ac a gyfrifir gan Dduw yn bur ac yn lân, maent yn eu damnio eu hunain, ac a gyfiawnhair gan Dduw. Maent yn tybied eu bod eu hunain yn an-nheilwng o'r ddayar a chan Dduw y cyfrifir hwy yn deilwng o deyrnas nef.

Fal hyn y dangosir hwy trwy air Duw i feddwl yr hyn sydd inion am drugarog gyfrannad elusenau, a thrwy yspyssawl ddaioni Duw a'i drugaredd, hwy a wnair yn gyfrannogion o'r ffrwythau a addawodd ei air ef.

Canlynwn gan hynny eu siamplau hwy, a dangoswn yn ufydd yn ein bywyd y gweithredoedd hynny o drugaredd, y rhai a orchymynir ini, a bydded gennym iniawn feddwl a barn am danynt, fel y discir i ni; felly y byddwn ni megis hwyntau, yn gyfrannogion, ac y cawn dderbyn y ffrwythau a'r gobrwy-au y rhai a

ganlynant y fath dduwiol fywyd, felly y cawn trwy brofi wybod, pa ffrwyth a pha ennill y sydd yn dyfod o roddi cardodau a chynnorthwyo 'r tlawd.

## ¶ Y drydedd ran o'r bregeth am elusenau.



Hwi a glywsoch ddwy ran eisoes o'r traethawd am elusenau. Y cyntaf, mor hoff ac mor gymeradwy ger bron Duw yw eu gwneuthur hwy. Yr ail mor angenrhaid ac mor fuddiol yw ini ymroi iddynt.

Weithian yn y drydedd ran mi a symmudaf y rhwystr y sydd yn rhwystro llawer o honom i'w gwneuthur hwy.

Mae llawer pan glywont mor gymeradwy ger bon Duw yw rhoddi cardodau, a phelled y mae Duw yn ystyn ei serch tuag at y rhai trugarog, a pha ffrwythau a pha ennill y sydd yn dyfod iddynt o ddiwrth hynny, maent yn damuno o ewyllys eu calonau ar allel cyrhaeddyd y doniau hyn, a chael eu cyfrif gan Dduw ymmhlith y rai a garai ef ac a wnai erddynt. Ond etto y mae trachwant cybyddus yn tynnu y rhai hyn yn eu hôl fal na allant roddi un ddimman, nac un dafell o fara i'r tlawd, er cael bod yn deilwng o ddoniau Duw, ac felly dyfod i'w ffafor ef. O herwydd y maent yn ofni 'n wastad, rhag wrth roddi 'n fynych, er na byddai hynny ond ychydig ar unwaith, iddynt dreulio

eu da a'u tlodi eu hunain, fal na allont yn y diwedd fyw arnynt eu hunain, ond y gorfydd arnynt fyw ar elusenau rhai eraill.

Ac felly y maent yn ceisio * ymescussodi i'w cadw eu hunain allan o serch Duw: ac y dewissant yn hytrach trwy gybydd-dod calon, bwyso at y diawl, nà thrwy garedig drugarogrwydd ddyfod at Ghrist, neu oddef Chrift i ddyfod attynt hwy. * Ymescuso.

Oh na byddai rhyw feddig cynnil, cyfarwydd, yr hwn a allai * arlliwys o honynt yr huwmor llyggredig hon, yr hon y sydd yn mallu nid eu cyrph hwy yn unig, ond eu meddyliau hefyd, ac felly gan lygru eu heneidiau hwy, yn dwyn eu cyrph hwy a'u heneidiau i enbeidrwydd tân uffern. * Dywallt.

Yn awr rhag bod neb o'r fath hyn yn ein plith ni, fy-nghyredigion, chwiliwn yn ddiescaelus am y meddyg hwnnw, yr hwn yw Iesu Grist, a thrafaeliwn yn ddifrif ar iddo ef o'i fawr drugaredd ein iawn-gyfarwyddo ni, a rhoddi ini feddyginiaeth bresenol yn erbyn clefyd mor enbaid.

Gwrando di am hynny yr hwn wyt yn ofni rhag wrth roddi i'r tlawd i ti dy ddwyn dy hun i gardotta. Byth ni ellir treulio na difa yr hyn a gymerech ti oddiwrthid dy hun i'w roddi i Grist; yn yr hyn na chred fi, ond os oes gennid ffydd, ac os ydwyd yn wir Gristion, crêd yr Yspryd glân, crêd awdurdod gair Duw, yr hwn sydd yn dy ddyscu di fal hyn.

O herwydd fal hyn y dywaid yr Yspryd glân trwy enau Salomon, Yr hwn a roddo i'r tlawd byth ni bydd eisiau arno.

Mae dynion yn tybied mai wrth bentyrru a chadw yn wastadol yr ânt hwy yn gyfoethogion yn y diwedd, ac mai wrth gyfrannu a gwario, ie am bethau angenrheidiol, duwiol, yr ânt hwy yn dlodion. Ond mae'r Yspryd glân yr rhwn sydd yn gwybod pob gwirionedd, yn dangos ini wers arall wrthwyneb i hon. Y mae fe yn dangos ini fod rhyw fath ar drawl yr hwn byth ni leiha y golud, a rhyw fath ar gadw yr hwn a ddwg ddyn i ddygyn dlodi: O herwydd, lle mae fe 'n dywedyd na bydd byth diffyg ar elusenwr da: mae ef yn dywedyd ym-mhellach, Ond yr hwn a drotho ei lygaid oddiwrth y rhai sydd mewn angen a ddaw ei hun i dlodi mawr. Mor bell am hynny yw barn dyn oddiwrth farn yr Yspryd glan.

Mae'r Apostol sanctaidd yr hwn oedd yn llawn o'r Yspryd glân, ac a wnaethid yn gydnabyddus a dirgel ewyllys Duw, yn dangos na thlodir byth yr hwn a roddo gardodau 'n hael: yr hwn, medd ef, sydd yn rhoddi hâd i'r hauwr a rŷdd hefyd fara 'n ymborth i'r bwyttawr, ie fe a amlha eich hâd chwi ac a chwanega ffrwyth eich cyfiawnder. Nid yw ddigon gantho ddangos iddynt na bydd diffyg arnynt, ond mae ef 'n dangos iddynt hefyd pa fodd y darpara Duw iddynt. Yn y modd y mae ef yn darparu hâd i'r hauwr wrth ei amlhau a'i gynnyddu ef, felly yr amlhâ ef eu da hwy, ac y chwanega ef hwynt, ac y bydd ganthynt amledd mawr.

Ar rhag tybied o honom nad ydyw ei ymadroddion ef ond geiriau ac nid gwirionedd, mae ini siampl o hyn yn y llyfr cyntaf o'r brenhinoedd,

yr hon y sydd yn cadarnhau ac yn selio hyn megis gwironedd siccr.

Pan nad oedd gan y weddw dlawd, yr hon a dderbyniodd * afwlad brophwyd Duw Elias, onid dyrnaid o flawd mewn cist, ac ychydig o oel mewn stên, o'r hyn yr ydoedd ar fedr gwneuthur teisen iddi ei hun a'i mâb, fal gwedy bwytta hynny y byddent feirw. * Aethwlad *exul.*

O herwydd yn y newyn mawr hwnnw nid oedd dim lluniaeth chwaneg i'w gael, etto pan roddodd hi ran o hynny i Elias, a * siommi ei bola newynog ei hun i'w gynorthwyo ef yn drugarog, hi a fendithied felly gan Dduw, fal na ddarfu na'r blawd na'r oel, yr hyd y parhaodd y newyn, ond hwy a barhaesant dros yr holl amser hwnnw: ond o hynny y 'cafas y prophwyd Elias a hithau a'i mab ddigonol ymborth a llynniaeth. * Twyllo.

Oh ystyriwch y siampl hon, chwi bobl anghredadwy, anffyddlon, gybyddus, y rhai ydych yn angrhedu gair Duw, ac yn tybied lleihau o'i allu ef.

Nid oedd gan y wraig dlawd hon yn yr hir a'r dygyn brinder hwnnw onid un dyrned o flawd, ac ychydig bach o oel mewn stên fach, yr ydoedd ei hunig fab hi ym-mron marw o newyn ger bron ei llygaid hi, a hithau yn debyg y gurio i farwolaeth ac i ddyddfu gan newyn: ac etto pan ddaeth y prophwyd tylawd a cheisio rhan, yr ydoedd hi mor gofus am drugaredd, ac y gellyngai hi yn angof ei chyfyngder ei hun, ac yn gynt nac y gollynge hi heibio yr amser i roi elusen, ac i weithio gwaith cyfiawnder, hi a fentrai ei bywyd ei hun, a bywyd ei hunig fab.

A chwi, y rhai sydd gennwch amledd o fwyd

adiod, a llawer o ddillad a'r pryfed yn eu bwyst-
ta, ie llawer o honoch a * phentyrrau o aur ac
arian, a'r hwn sydd gantho leiaf sydd a mwy nâ
digon, yn awr yn yr amser hwn, pan nad oes
(i Dduw y bytho'r diolch) ddim newyn mawr
yn eich gwascu chwi: er bod eich plant yn cael eu
dilladu 'n dda, a'u bwyd yn ddigonol, ac heb un
achos gan newyn i ofni enbeidrwydd angeu; a
fforiwch yn eich pennau ofn ac enbeidrwydd
prinder anghyffelyb, yn gynt nag y cyfrannoch
un dryll o'ch gormodded i gynorthwyo ac i ner-
thu Christ dlawd newynog, noeth, yr hwn sydd
yn dyfod i gardotta wrth eich drws chwi. Ni
ffwriodd y weddw druan dlawd hon un perigl
am y trueni a'r diffyg a alle ddyfod arni, ni
wan-obeithiodd hi yr addewidion a wnaeth
Duw iddi trwy y prophwyd, ond hi a aeth yn
y man i dorri newyn prophwyd Duw, ie gan
ystyried ei anghen ef yn-mlaen ei hanghen ei
hun.

*Crugau.

Ond nyni megis brynti anghredadwy, cyn
rhoddi un hatling a fforiwn fil o beriglon, pa un
a wna y peth a roddwn i'r tlodion a'i gwneu-
thur iniles ai peidio, pa un a wna ai bod yn
rhaid ini wrtho ailwaith ar ryw bryd arall, ac
oni allasid gwario hynny yn well mewn rhyw
ffordd arall, fal y mae 'n haws gwascu hoel
gadarn allan o bôst caled, fal y dywaid y
ddihaureb, nâ gwascu ffyrllin allan o'n bysedd
ni.

Nid oes nac ofn, na chariad Duw ymmlaen
ein llygaid ni, ni a wnawn mwy cyfrif o hatling
nag o geisio teyrnas Dduw, neu ofni carchar
diawl.

Gwran-

Gwrandewch am hynny, chwi gybyddion anhrugarog, pa beth a fydd diwedd y gorchwylion annrhugarog hyn, mor siccr ac y porthodd Duw y weddw hon, ac ychwanegodd ef ei stor hi, fal y bu ganthi ddigon, ac na bu arni ddim prinder pan oedd eraill yn newynu, felly yn ddiammau y plaa Duw chwithau â thlodi ynghenol amledd. Pan fyddo eraill mewn cyflawnrwydd ac yn cael eu llanw yn ddigonol, chwi a ddarfyddwch ac a dreulwch ymmaith, fe ddinistrir eich ystôr, fe a dynnir eich da chwi oddiwrthych, fe a *ddifethir eich holl ogoniant chwi a'ch cyfoeth, ac chwi a geisiwch mewn trisswch ac ocheneidiau, yr hyn pan ydoedd gennych a allasech chwi ei fwynnhau eich hunain yn heddychlon a'i roddi i eraill hefyd yn dduwiol, ac nis cewch. * Ddifhair.

Am eich annhrugarogrwydd chwi tuag at eraill, ni chewch neb a ddangoso i chwi drugaredd. Chwi y rhai oedd genych galonnau caled tuag at eraill, a gewch holl greaduriaid Duw mor galed tuag attoch chwi a phres neu hayarn.

Och pa ynfydrwydd a gwallgof sydd yn eich meddyliau chwi, fal mewn matter o siccrwydd a gwirionedd na chredwch chwi, i'r gwirionedd, yr hwn sydd yn dwyn testiolaeth i'r peth siccraf ac a all bod. Mae Christ yn dywedyd os ceisiwn deyrnas Duw yn gyntaf, a'i gyfiawnder ef, ni adewir ni mewn eisiau, fe a roddir pob peth arall ini yn gyflawn. Nage meddwn ninnau, mi a edrychaf yn gyntaf ar allu byw fy hun ac ar fod digon gennyf imi fy hun, ac i'm tolwyth, ac os bydd dim dros ben mi ai rhoddaf i ennill ffafor a serch Duw, ac yno fe gaiff y tylodion ran gyda mi,

Edrychwch adolwyg mor wrthgas yw barn dyn. Mae arnom fwy o ofal i borthi'r gelain, nac ofn gweled dinistr ein eneidiau. Ac fal y dywaid Cyprian, tra fôm yn ammau rhag darfod ein golud wrth fod yn rhy haelion, yr ydym ni yn gwneuthur na bo dim an mau y derfydd ein bywyd ni a'n iechyd wrth beidio a bod yn haelion, wrth fod yn ofalus rhag treulio'n golud: yr ydym ni'n ddiofal am ein treulio ein hunain, yr ydym ni yn caru Mammon, ac yn colli ein eneidiau: yr ydym yn ofni rhag dinistr ein tref-tadaeth oddiwrthym ni, ond nid ydym ni yn ofni rhag ein dinistr ni o'i blegid ef, fal hyn yr ydym ni yn caru'n * wrthgas yr hyn a ddylyem ni ei gasau, ac yn casau yr hyn a ddylyem ei garu, yr ydem yn esceulus lle dylyem fod yn ofalus, ac yn ofalus, lle nid ydyw raid.

Sermone de elemosyna.

* gyndyn

Mae'r ofn ofer hwn rhag bod eisiau arnom ni ein hunain os rhoddwn ni i'r tylodion, yn gyffelyb iawn i ofn plant a ffyliaid, y rhai pan welant y gwydr yn disclerio'n loyw, a dybygant yn y man mai * lluched yw, etto ni bu loywder gwydr erioed yn lluched, felly ninnau, pan fôm yn tybied y dichon gwr ddyfod i dylodi, wrth dreulio ar y tylawd, yr ydym ni mewn ofn ofer: o herwydd ni chlywsom ac ni wybuom ddyfod neb erioed i gyfyngderau wrth wneuthur hynny, na'i adel yn ddigynhorthwy, ac yn ddiymgeledd gan Dduw. Nagê yr ydym ni yn darllen o'r gwrthwyneb yn yr Scruthur fal y dangoswyd eisoes, ac y gellir prwfo wrth aneirif o dystiolaethau a siamplau pwy bynnac a wasanaetho Dduw yn ffyddlon ac yn ddiragrith, mewn un rhyw o alwedigaeth, ni oddef Duw ef i waethygu, llai o

* mellten

lawer i gael ei ddistrywio.

Mae'r Yspryd glan yn dangos trwy Salomon, na edy Duw enaid y cyfiawn i farw o newyn. Ac am hynny y dywaid Dafydd wrth bawb o'r trugarogion, Ofnwch Dduw ei saint ef, o herwydd ni bydd eisiau dim ar y rhai a'i hofnant ef. Mae ar y llewod eisiau ac maent hwy yn goddef newyn, ond ni bydd ar y rhai sydd yn ofni'r Arglwydd eisiau dim daionus. Psal.34.9.10. Diar 10.3.

Pan oedd Elias yn yr anialwch fe a'i porthodd Duw ef trwy wenidogaeth cigfrân, yr hon forau a hwyr a hebryngodd iddo ef ymborth ddigon.

Pan oedd Daniel gwedy ei gau yngogof y llewod, fe ddarparodd Duw fwyd iddo ef, ac a'i danfonodd yno iddo: ac yno y cyflawnwyd yma drodd Dafydd, mae eisiau ar y llewod ac maent yn goddef newyn ond ni bydd ar yr rhai sydd yn ofni'r Arglwydd eisiau dim da: o herwydd yr hŷd yr oedd y llewod y rhai yr oeddid ar fedr eu porthi ar ei gnawd ef, yn rhuo gan newyn, ac yn chwennych eu hysclyfaeth ar yr hwn nid oedd ganthynt allu, er ei fod ef yn eu g'wydd hwy: etto yn yr ennyd hynny y cafodd ef ei borthi'n gyflawn gan Dduw, yr hwn yr oeddid ar fedr bod i'w gig borthi'r llewod.

Mor alluog y mae Duw yn g'weithio i gadw ac i facnteinio y rhai y mae fe'n eu caru: mor ofalus hefyd yw efe i borthi y rhai mewn un stât neu alwedigaeth a'i g'wasanaethant ef yn ddiragrith. Ac a dybygwn ni yn awr yr anghofia ef ni os byddwn ufydd i'w air ef, ac os tosturiwn wrth y tylawd yn ôl ei ewyllys ef? Mae fe'n rhoddi ini bob cyfoeth cyn ini wneuthur iddo ef ddim gwasanaeth am danynt, ac a âd ef ni mewn eisiau pethau

anghenrhaid

anghenrhaid pan fythom yn gwneuthûr iddo ef wasanaeth cywir: a fedd wl neb y gwrthyd Christ ac y gad ef yn ddiymborth yr hwn sydd yn porthi Christ: neu a balla Christ o bethau dayarol i'r rhai y mae fe'n addo pethau nefol, am ei wasanaethu ef yn gywir:

Am hynny, fyngharedigion frodyr, ni all bod diffyg arnom ni bu amser wrth roddi elusenau i eraill, neu ein gorthrymmu ni gan brinder, y rhai ydym yn porthi yr anghenus. Mae hyn yn wrthwyneb i air Duw, mae'n wrthwyneb i'w addewid ef, mae'n wrthwyneb i naturiaeth a chynneddfau Christ oddef y pethau hyn: dichellgar ddychymmig diafol ydyw ein hannog ni i gredu hynny.

Am hynny na safwn am roddi cardodau yn rhwydd, ac ar hynny yr ymddiredwn y dyry daioni Duw i ni ddigonolrwydd a helaethrwydd, yr hŷd y bythō byw yn y bywyd trangcedig hwn, ac yn ôl treulio'n dyddiau'n ddaionus ynma yn ei wasanaeth ef a chariad ein brodyr, fe a'n coronir ni â gogoniant tragwyddol i deyrnasu gydâ Christ ein Iachawdwr yn y nef: i'r hwn gydâ'r Tâd a'r Yspryd glân y byddo holl anrhydedd a gogoniant yn oes oesoedd. Amen.

¶ Homili

# ¶ Homili neu bregeth o blegid genedigaeth ein Iachawdwr Iesu Grist.



Y-mhlith yr holl greaduriaid a wnaeth Duw yn y dechreuad yn odidog ac yn rhyfeddol yn eu rhywogaethau, nid oedd vn (fel y tystiolaetha'r Scrythyrau) i'w gyffelybu i ddŷn mewn vn peth *hayachen [onid odid.]: yr hwn mewn corph ac enaid oedd yn rhagori ar yr holl greaduriaid eraill, yn gymmaint ac y mae'r haul mewn disclairdeb a * llewyrch [goleuni.] yn rhagori ar bob seren fechan yn y ffurfafen. Ef a wnaethpwyd ar lun a delw Dduw, ef a gynnyscaeddwyd â phob rhyw ddoniau nefol, nid oedd brycheuyn o aflendid ynddo ef, yr oedd ef yn iach ac yn berffaith ym-mhob rhan oddiallan ac oddifewn, yr oedd ei reswm ef yn anllygredig, ei ddeall yn bur ac yn dda, ei ewyllys yn vfydd ac yn dduwiol, ef a wnaethpwyd yn hollawl yn gyffelyb i Dduw, mewn cyfiawnder, mewn gwirionedd, ac ar ychydig eiriau, ym-mhob rhyw berffeithrwydd.

Wedi ei greu ef a'i wneuthur fel hyn, fe a etholodd yr Holl-alluog (yn arwydd o'i fawr gariad tu ag atto ef) le yspysol o'r ddayar iddo ef, paradwys wrth ei henw, lle yr oedd ef yn byw ym-mhob llonyddwch a hyfrydwch, a chantho fawr halaethrwydd o olud bydol, ac heb arno eisiau dim ac a allai yn gyfion ei ddymuno neu ei chwennych [Psal.8.6.] O blegid, fel y dywedir, fe a'i gwnaeth Duw ef yn llywodraethwr ar holl weithredoedd ei ddwylo,

lo,

lo, ac a osododd bob peth tan ei draed ef, defaid ac ychen oll, ac anifeiliaid y maes hefyd, holl ehediaid y nefoedd a holl byscod y mor, i'w harfer hwy yn ôl ei ewyllys, fel y bydde raid iddo wrthynt. Ond oedd hyn yn ddrych ar bob perffeithrwydd? Ond oedd hon yn stât gyflawn berffaith-gwbl fendigedig? A ellid gan iawn ychwanegu dim at hyn, neu a ellid dychymygu dedwyddwch mwy yn y byd hwn?

Ond fel y mae naws a naturiaeth pob dŷn yn gyffredinol, yn amser llwyddiant a hawddfyd i ollwng yn angof nid yn unig hwynt eu hunain, ond Duw hefyd: felly y gwnaeth Addaf y dyn cyntaf, yr hwn pan nad oedd iddo ond un gorchymmyn oddiwrth Dduw, sef na bai iddo fwytta o ffrwyth pren gwybodaeth da a drwg, er hynny yn anfeddylgar iawn neu yn hytrach yn ewyllysgar ef a dorrodd y gorchymmyn hwnnw, gan ollwng tros gof orchymmyn caled ei wneuthurwr, a rhoddi clust i hudoliaeth ddichellgar y felldigedig sarph y diafol. O'r hyn y digwyddodd fel megis o'r blaen yr oedd ef yn fendigedig, felly yr aeth ef yn awr yn felldigedig, megis o'r blaen y cerid ef, felly yn awr y ffieiddid ef, megis o'r blaen yr oedd ef yn brydferth ac yn werthfawr, felly yn awr yr oedd ef yn waelaf ac yn ddiystyraf yngolwg ei Arglwydd a'i wneuthurwr; Yn lle bod yn ddelw Dduw, fe a aeth yn awr yn ddelw diawl; Yn lle bod yn ddinesydd nef, ef a aeth yn gaethwas i uffern, heb fod gantho ynddo ei hun un rhan o'r purder ar glendid oedd ynddo o'r blaen, ond gwedi ei frychu a'i anurddo, megis nad oedd ef yn awr ond telpyn o bechod, ac am hynny wrth gyfiawn farn Duw ef a ddamnwyd

nwyd i angau tragwyddol.
A phe buase y bla ddirfawr dost hon yn aros ar
Addaf yn vnig, yr hwn a bechodd yn gyntaf, hi
a fuasei lawer esmwythach, ac a allesid yn haws
ei goddef. Ond ni chwympodd hi arno ef yn v-
nig, ond hefyd ar ei heppil a'i blant ef yn dragy-
wydd, fel y dygai holl rywogaeth cnawd Addaf
yr vn cwymp a chospedigaeth ac a haeddasai eu
hên dâd hwy yn gyfiawn am ei fai. Mae S. Paul Rom.5.12.
yn y bummed bennod at y Rhufeiniaid yn dywe-
dyd ddyfod y cwymp ar bawb i ddamnedigaeth
trwy bechod Addaf ei hun, ac mai trwy anufydd-
dod vn dyn y gwnaethpwyd llawer yn becha-
duriaid. Wrth yr hyn eiriau y'n dyscir ni, fel
megis yn Addaf y pechodd pob dŷn yn gyffredi-
nol, felly hefyd yn Addaf y derbyniodd pob dyn
yn gyffredinol wobr pechod, hynny yw, myned
yn farwol ac yn gaethion i angau, heb genthynt
ddim ynddynt eu hunain ond tragwyddol ddam-
nedigaeth corph ac enaid. Hwy a aethant (fel y Psal.
dywaid Dafydd) yn llygredig ac yn ffiaidd, hwy
a aethant oll oddiar yr iawn ffordd, nid oes vn yn
gwneuthur daioni, nac oes vn.
Oh pa stât druan ddinedig oedd hon, fod i be-
chod vn dŷn ddinistrio a chondemno yr holl ddy-
nion, fel na ellid edrych am ddim yn yr holl fyd,
ond *gloes angeu a phoenau vffern? A fuasei ry- gloeson.
feddod yn y byd pe buasei ddyn yn cwympo yn ho-
llawl i anobaith, ac yn tervi gwedi cwympo fel hyn
o fywyd i farwolaeth, o iechydwriaeth i ddistryw,
o nef i vffern? Ond wele ddirfawr ddaioni Duw
a'i dirion drugaredd ef yn hyn o beth: Er bod
anwiredd a pechadurus ymddygiad dŷn yn gy-
fryw ac na haeddai mewn vn modd fadden iddo,
etto.

etto rhag ei fod yn llwyr noeth o bob gobaith a chyssur erbyn yr amser a ddauai, fe a ordeiniodd gyfammod newydd, ac a wnaeth addewid siccr o hono, hynny yw y danfonai ef Messias neu gyfryngwr i'r byd, yr hwn a wnai eiriol, ac a'i gosodai ei hun yn attaliaeth rhwng y ddwyblaid, i esmwytho llid a digofaint Duw yn erbyn pechod, ac i waredu dyn allan o'r ffinedig felldith a'r melldigedig drueni y cwympasai ef iddo, wrth fod yn anufydd i ewyllys a gorchymmyn yr unig Arglwydd a'r gwneuthurwr.

Yr ammod a'r addewid hwn a wnaethpwyd yn gyntaf i Addaf ei hun, yn y man ar ol ei gwymp, fel yr ydym ni yn darllein yn y drydedd o
Gen.3.15. Genesis, lle y dywedodd Duw wrth y sarph yn y modd hyn, Gelyniaeth a osodaf rhyngot ti a'r wraig, a rhwng dy had di a'i hâd hitheu, efe a yssiga dy ben di, a thitheu a yssigi ei sodl ef. Yn ol hynny yr adnewyddwyd y cyfammod hwn yn
Gen.12.3. helaethach ac yn oleuach i Abraham, lle yr addawodd Duw iddo, y bendithid holl genhedloedd a theuluoedd y ddayar yn ei hâd ef. Trachefn y parhawyd ac y cadarnhawyd yr addewid ymma
Gen.26.4. i Isaac, yn yr un dull ar eiriau, ac y gwnaethpwyd i'w dâd ef o'r blaen.

Ac er mwyn na bai i ddynion anobeithio, ond byw yn wastadol mewn gobaith, ni orphwysodd yr Holl-alluog Dduw o gyhoeddi, ac adrodd a chadarnhau a pharhau yr un addewid, trwy amryw ac amrafael dystiolaethau ei brophwydi, y rhai er siccrhau'r peth yn well, a brophwydasant am yr amser a'r lle a'r modd a'r dull y genid ef, am flinderau ei fywyd ef, dull ei angau ef, gogoniant ei adgyfodiad ef, y modd y der-

bynnai efei deyrnas ac y gwarede ei bobl, a phob gogylchedddau eraill a berthynant i hynny.

Esaias a brophwydodd y genid ef o forwyn ac y gelwid ef Emmanuel. Micheas a brophwydodd y genid ef yn Bethlehem dinas yn Judea. Ezechiel a brophwydodd y * daue ef o lwyth a hiliogaeth Dafydd. Daniel a brophwydodd y gwasanathai 'r holl genhedlaethau ac iaithoedd ef. Zacharias a brophwydodd y dauai ef mewn tlodi yn marchogaeth ar assen. Malachi a brophwydodd y danfonai ef Elias o'i flaen yr hwn oedd Joan fedyddiwr. Jeremi a brophwydodd y gwerthid ef er deg dryll ar ugain o arian, &c.

A hyn oll a wnaethpwyd fel y coelai ac y cyflawn gredai ddynion yr addewid a 'r ammod a wnaeth Duw i Abraham a'i hiliogaeth ynghylch prynedigaeth y býd.

Yn awr, fel y dywed yr Apostol Paul, pan ddaeth cyflawnder yr amser, hynny yw cwblhâd a chylch y blynyddoedd a osodasid o'r dechreuad, yna y danfonodd Duw, yn ol ei gyfammod a'i addewid, y Messias i'r byd, yr hwn a elwid hefyd yn gyfryngwr, nid cyfryw un ac oedd Josuah, Saul neu Ddafydd, ond cyfryw un ac a warede ddynion oddiwrth chwerw felldith y gyfraith, ac a wnai gyflawn iawn trwy ei angau tros bechodau yr holl bobl, hynny yw fe a ddanfonodd ei anwyl a'i unig fab Jesu Ghrist, yr hwn (fel y dywaid yr Apostol) a anwyd o wraig, ac a wnaethpwyd tan y gyfraith, fel y gwaredai ef y rhai oeddynt tan gaethiwed y gyfraith, a'u gwneuthur hwy yn blant i Dduw trwy fabgynnwys.

Onid

Onid oedd hyn yn gariad mawr rhyfedd tu ag attom ni y rhai oeddym elynion goleu cyhoeddus iddo ef : tuag attom ni y rhai oeddym wrth naturiaeth yn blant digofaint, a thewynnion tân uffern : yn hyn, medd Ioan sant, yr ymddangosodd mawr gariad Duw, am iddo ef ddanfon ei unig fab i'r byd i'n gwared ni pan oeddym elynion digasog iddo ef. Yn hyn y mae cariad, nid am i ni ei garu ef, ond am iddo ef yn caru ni, a danfon ei fab i fod yn iawn ac yn gymmod tros ein pechodau ni. S. Paul yntef sydd yn dywedyd,
Ro. 5. 6. Christ pan oeddym yn ddinerth, yn yr amser, a fu farw dros yr annuwiol. Diau mai prin y bydd un farw tros un cyfiawn. Er hynny tros un da fe allai y bydde un farw. Etto mae Duw yn dangos ei gariad tu ag attom ni, o blegid a ni etto yn bechaduriaid farw o Ghrist trosom.

Y gyffelybiaeth hon a'r cyfryw y mae 'r Apostol yn eu harfer i helaethu ac i osod allan dirion drugaredd Duw a'i fawr ddaioni ef a ddangoswyd tu ag at ddynion, wrth ddanfon iddynt Iachawdwr o'r nef, yr hwn yw Christ yr Arglwydd. Yr hyn ddawn, ym-mhlith eraill, sydd gymmaint ac mor rhyfedd ac na ddichon tafod ei draethu, na chalon ei feddwl, llai o lawer y gellir rhoddi rhwybl ddiolch i Dduw am dano.

Ond yma y mae ymryson mawr rhyngom ni a 'r Iddewon; pa un a wna ai bod yr Iesu hwnnw a aned o'r forwyn Fair yn wir Messias a gwir Iachawdwr y byd a addawyd ac a brophwydwyd cyhyd o'r blaen. Hwynt hwy, fel y maent ac yr oeddynt erioed yn feilchion ac yn warsyth ni chydnabyddasant mo hono hyd y dydd hedddyw, ond edrych a llygad-rythu am un arall i ddyfod,

ddyfod. Mae genthynt y dychymmyg a'r dyb ynfyd ymma yn eu pennau, y daw y Messias, nid fel y daeth Christ, megis pererin tlawd, a dyn truan yn marchogaeth ar assen, ond megis brenhin dewr cadarn mewn gogoniant ac anrhydedd mawr, nid fel y daeth Christ ac ychydig byscodwyr, a dynion o gyfrif bychan yn y byd, ond a llu mawr o wyr cedyrn, a chwmpeini mawr o wyr doethion ac o bendefigion, megis marchogion, arglwyddi, ieirll, dugiaid, tywysogion a'r cyfryw.

Ac nid ydynt yn tybied y goddef eu Messias hwy angau yn ddirmygus, fel y gwnaeth Christ, ond y gorchfyga ef yn ddewr, ac y gorescyn yn wrol ei holl elynion, ac o'r diwedd yr ennill ef y fath deyrnas ar y ddayar ac na welwyd erioed ei chyffelyb er y dechreuad.

Yr hyd y maent fel hyn yn llunio iddynt eu hunain Messias wrth eu synwyr eu hunain, maent yn eu twyllo eu hunain, ac yn cyfrif Christ yn wael ac yn * adyn ac ynfyttaf o'r holl fyd. * Wrthodyn.

Am hynny (fel y dywaid S. Paul) mae Christ wedi ei groeshoelio, yn faen tramgwydd i'r Iddewon, ac yn ffolineb i'r cenhedloedd, am eu bod hwy yn cyfrif yn beth anghyllon, ac yn wrthwyneb i bob rheswm, y trinid prynwr a gwaredwr yr holl fyd yn y modd y trinwyd ef, hynny yw ei watwar, ei gablu, ei * fflangellu, ei gondemnio ac o'r diwedd ei groeshoelio yn greulon. Hyn, meddaf yn eu golwg hwy sydd ryfedd ac angyllon, ac am hynny ni chydnabyddent hwy yr amser hwnnw ac ni chydnabyddant etto mai Christ yw eu Messias a'u Iachawdwr hwy. * Whippio.

 Ond

Onid oedd hyn yn gariad mawr rhyfedd tu ag attom ni y rhai oeddym elynion goleu cyhoeddus iddo ef: tuag attom ni y rhai oeddym wrth naturiaeth yn blant digofaint, a thewynnion tân uffern: yn hyn, medd Joan sant, yr ymddangosodd mawr gariad Duw, am iddo ef ddanfon ei unig fab i'r byd i'n gwared ni pan oeddym elynion digasog iddo ef. Yn hyn y mae cariad, nid am i ni ei garu ef, ond am iddo ef yn caru ni, a danfon ei fab i fod yn iawn ac yn gymmod tros ein pechodau ni. S. Paul yntef sydd yn dywedyd,
Ro. 5. 6. Christ pan oeddym yn ddinerth, yn yr amser, a fu farw dros yr annuwiol. Diau mai prin y bydd un farw tros un cyfiawn. Er hynny tros un da fe allai y bydde un farw. Etto mae Duw yn dangos ei gariad tu ag attom ni, o blegid a ni etto yn bechaduriaid farw o Ghrist trosom.

Y gyffelybiaeth hon a'r cyfryw y mae 'r Apostol yn eu harfer i helaethu ac i osod allan dirion drugaredd Duw a'i fawr ddaioni ef a ddangoswyd tu ag at ddynion, wrth ddanfon iddynt Iachawdwr o'r nef, yr hwn yw Christ yr Arglwydd. Yr hyn ddawn, ym-mhlith eraill, sydd gymmaint ac mor rhyfedd ac na ddichon tafod ei draethu, na chalon ei feddwl, llai o lawer y gellir rhoddi cwbl ddiolch i Dduw am dano.

Ond ymma y mae ymryson mawr rhyngom ni a 'r Iddewon; pa un a wna ai bod yr Iesu hwnnw a aned o'r forwyn Fair yn wir Messias a gwir Iachawdwr y byd a addawyd ac a brophwydwyd cyhyd o'r blaen. Hwynt hwy, fel y maent ac yr oeddynt erioed yn feilchion ac yn warsyth ni chydnabyddasant mo hono hyd y dydd heddyw, ond edrych a llygad-rythu am un arall i

ddyfod,

ddyfod. Mae genthynt y dychymmyg a'r dyb ynfyd ymma yn eu pennau, y daw y Messias, nid fel y daeth Christ, megis pererin tlawd, a dyn truan yn marchogaeth ar assen, ond megis brenhin dewr cadarn mewn gogoniant ac anrhydedd mawr, nid fel y daeth Christ ac ychydig byscodwyr, a dynion o gyfrif bychan yn y byd, ond a llu mawr o wyr cedyrn, a chwmpeini mawr o wyr doethion ac o bendefigion, megis marchogion, arglwyddi, ieirll, dugiaid, tywysogion a'r cyfryw.

Ac nid ydynt yn tybied y goddef eu Messias hwy angau yn ddirmygus, fel y gwnaeth Christ, ond y gorchfyga ef yn ddewr, ac y gorescyn yn wrolei holl elynion, ac o'r diwedd yr ennill ef y fath deyrnas ar y ddayar ac na welwyd erioed ei chyffelyb er y dechreuad.

Yr hyd y maent fel hyn yn llunio iddynt eu hunain Messias wrth eu synwyr eu hunain, maent yn eu twyllo eu hunain, ac yn cyfrif Christ yn wael ac yn * adyn ac ynfyttaf o'r holl fyd. * Wrthodyn.

Am hynny (fel y dywaid S. Paul) mae Christ wedi ei groeshoelio, yn faen tramgwydd i'r Iddewon, ac yn ffolineb i'r cenhedloedd, am eu bod hwy yn cyfrif yn beth anghysson, ac yn wrthwyneb i bob rheswm, y trinid prynwr a gwaredwr yr holl fyd yn y modd y trinwyd ef, hynny yw ei watwar, ei gablu, ei * fflangellu, ei gondemnio ac o'r diwedd ei groeshoelio yn greulon. Hyn, meddaf yn eu golwg hwy sydd ryfedd ac angysson, ac am hynny ni chydnabyddent hwy yr amser hwnnw ac ni chydnabyddant etto mai Christ yw eu Messias a'u Iachawdwr hwy. * Whippio.

Ond rhaid i ni, fy-nghyaredigion, y rhai ydym yn gobeithio cael bod yn gadwedig, gredu yn ddianwadal a chyffesu yn hyf, mai'r Iesu hwnnw a aned o'r forwyn fair yw'r gwir Messias a'r cyfryngwr rhwng Duw a dyn, yr hwn oedd wedi ei addaw a'i ddarogan cyhyd o amser o'r blaen. O blegid, fel yr scrifenna'r Apostol, â'r galon y credir i gyfiawnder, ac â'r genau cyffessir i iechydwriaeth. A thrachefn yn yr un lle, Pwy bynnag a gredo ynddo ef, ni chwilyddir ef. A hyn hefyd y cyttuna tystiolaeth Ioan sant a scrifennodd ef yn y bedwaredd bennod o'i epistol cyffredinol cyntaf, yn y modd hyn, Pwy bynnag a gyffesso fod Iesu Grist yn fab Duw, ynddo ef y mae Duw yn trigo ac yntef yn-Nuw. Nid oes ammau nad yw pob Christion yn gwbl sicer o hyn.

Rom.10.10

vers.11.

1.Ioan.4.15.

Etto nid colli fy-nrhafael a fydde i mi eich addyscu a'ch arfogi chwi ag ychydig leoedd o'r Scrythur lân ynghylch y defnydd ymma, fel y galloch attal genau enllibus pawb oll ac a geisio yn hyttrach yn gythreulig ddyscu neu amddiffyn y gwrthwyneb.

Yn gyntaf mae i chwi dystiolaeth yr Angel Gabriel, a fynegwyd i'r Archoffeiriad Zacharias ac i'r fendigedig forwyn hefyd.

Yn ail mae i chwi dystiolaeth Ioan fedyddiwr yn dangos Christ â'i fys ac yn dywedyd, Wele oen Duw yr hwn sydd yn tynnu ymmaith bechodau'r byd.

Yn drydedd mae i chwi dystiolaeth Duw dad yn taranu o'r nef ac yn dywedyd, Hwn yw fy anwyl fab yn yr hwn y'm bodlonir, gwrandewch ef.

Yn

Yn bedwerydd mae i chwi dystiolaeth yr Yspryd glan yr hwn a ddiscynnodd o'r nef yn rhith colommen, ac a ddiscynnodd arno wrth ei fedyddio.

Ac hyn y gellid angwanegu llawer mwy, yn enwedig tystiolaeth y gwyr doethion a ddaethant at Herod, tystiolaeth Simeon ac Anna, tystiolaeth Andreas a Philip, Nathaniel a Phetr, Nicodemus a Martha, a llawer eraill.

Ond fe fyddai ryhir adrodd y cwbl, ac ychydig leoedd a wasanaetha mewn matter mor oleu, yn enwedig ym-mlith y rhai sy eisoes yn ei gredu. Am hynny os cais dirgel genawon Angrist a dichellgar weinidogion diafol eich hudo a'ch tynnu oddiwrth y gwir Messias, a'ch perswadio i ddisgwyl am un arall yr hwn ni ddaeth etto: Na edwch iddynt mewn modd yn y byd eich hudo, ond cadarnhewch chwi eich hunain â'r tystiolaethau hyn a'r cyffelyb allan o'r Scrythur sanctaidd, y rhai ydynt mor ddiogel ac mor siccr ac na ddichon holl gythreuliaid uffern byth sefyll yn eu herbyn hwy. O blegid mor wir ac mai byw Duw, cyn wired yw mai Iesu Grist yw'r gwir Messias ac Iachawdwr y byd, sef yr Iesu hwnnw a aned ar gyfenw i beddyw o'r forwyn Fair, heb help gŵr trwy allu a gweithrediad yr Yspryd glân.

Ac am fod llawer ac amryw draws opinionau a heresiau gwedy cyfodi yn ein dyddiau ni trwy ddichell a hudoliaeth Sathan, ynghylch ei naturiaeth a'i sylwedd ef: fe fydd anghenrheidiol a buddiol er eich cysarwyddo chwi, ddywedyd gair neu ddau ynghylch hynny.

Mae'r Scrythur lan yn ein dyscu ni yn oleu fod ein harglwydd a'n Iachawdwr Iesu Grist o

neillduol ddwy naturiaeth * wahanredol, hynny yw, ei
ddyndod wrth yr hon y mae efe yn ddŷn cyflawn-
gwbl perffaith, a'i dduwdod wrth hon y mae efe
Io.1.14. yn berffaith Dduw. Mae yn scrifennedig, Y
gair (hynny yw yr ail berson yn y drindod) a
ro.8.3. wnaethpwyd yn gnawd. Duw gan ddanfon ei
fab ei hun ynghyffelybiaeth cnawd pechadurus,
a gyflawnodd y pethau ni allodd y gyfraith eu
Phil.2.7. cyflawni. Christ ac yntef yn vn ffurf a Duw, a
gymmerodd arno agwedd gwâs, ac a wnaeth-
pwyd yn gyffelyb i ddynion, ac a gafwyd yn ei
ddull fel dyn. Duw a ymddangosodd yn y
1.tim.3.16. cnawd, a gyfiawnhawyd yn yr Yspryd, a welwyd
gan angelion, a bregethwyd i'r cenhedloedd ac a
dderbyniwyd i fynu mewn gogoniant. Ac mewn
man arall hefyd, Un Duw sydd, ac vn cyfryng-
wr rhwng Duw a dŷn, sef y dŷn Christ Iesu.

Mae y rhai hyn yn lleoedd eglur i brofi ac i
ddangos y ddwy naturiaeth sydd gwedy eu cysu-
no a'u cyssylltu yn vn Christ. Ysgrifion yn ddi-
esceulus a phwyslion y gweithredoedd a wnaeth
ef yr hŷd y bu fyw ar y ddayar, ac ni a allwn
ddeall wrth y rhai hynny hefyd fod hyn yn wir.
Wrth fod iddo newynu a sychedu, bwytta ac yfed,
cysgu a gwilied, pregethu'r Efengyl i'r bobl, wy-
lo a thosturio tros Ierusalem, talu teyrnged
trosto ei hun a Phetr, marw a dioddef angau,
pa beth a ddangosodd ef wrth wneuthur hynny,
ond hyn yn vnig, ei fod ef yn ddŷn cyflawngwbl fel
ninnau? Ac amhynny y gelwir ef yn yr Scry-
thur lan weithiau yn fab Dafydd, weithiau yn
fab y dŷn, weithiau mab Mair, weithiau
mâb Ioseph a'r cyffelyb.

Bellach am iddo faddeu pechodau, gwneuthur

gwyrthiau, bwrw allan gythreuliaid, iachau, dynion â'i air yn unig; gwybod meddyliau calonnau dynion; bod y moroedd ar ei orchymmyn ef; rhodio o hono ar y dyfroedd, adgyfodi o hono o angau i fywyd, escyn o hono i'r nef, a'r cyfryw: i pa beth y mae efe yn ei ddangos wrth hynny, ond yn unig ei fod ef yn berffaith Dduw, gogyfuwch a'r tâd oblegid ei dduwdod? Am hynny y dywed, Y Tâd a minnau yr un ydym.

Pa le bellach y mae y Marcioniaid, y rhai sy yn gwadu geni Christ yn y cnawd; ac yn dywedyd nad oedd ef yn berffaith ddyn? Pa le bellach y mae'r Arriaid hynny, y rhai sy 'n gwadu fod Christ yn berffaith Dduw, o'r un sylwedd â'r Tâd? Os bydd yr un o'r cyffelyb, chwi a ellwch yn hawdd eu hargyoeddi hwy â'r tystiolaethau hyn o air Duw, ac â'r cyfryw eraill. Y rhai y mae yn siccr gennyf na allant byth eu hatteb.

O blegid yr oedd yn anghenrhaid i'n Iechydwriaeth ni gael y fath gyfryngwr ac Iachawdwr, ac a fyddai gyfrannog o'r ddwy naturiaeth yn un person. Yr oedd yn anghenrhaid ei fod ef yn ddyn, ac yr oedd yn anghenrhaid hefyd ei fod ef yn Dduw. O blegid fel y daeth y troseddiad a thorri'r gorchymmyn trwy ddyn, felly yr oedd yn gymhesur wneuthur iawn trwy ddyn. Ac o blegid fel y dywaid S. Paul, mai angau yw cyflog a chyfiawn wobr pechod, am hynny i lonyddu digofaint Duw ac i wneuthur iawn i'w gyfiawnder ef, cymmhesur oedd fod ein cyfryngwr ni yn gyfryw un ac a allei gymmeryd arno bechodau dynion, a dwyn y gosbedigaeth oedd ddyledus iddynt, hynny yw, Angau.

Hefyd fe a ddaeth yn y cnawd, ac yn yr un cnawd a escynnodd i'r nef, i ddangos ac i dystiolaethu i ni, y caiff yr holl ffyddloniaid a gredant yn ddiogl ynddo ef yn yr un modd ddyfod i'r un drigfa, i'r hon yr aeth ef ein pennadur ni o'r blaen.

Yn ddiwethaf fe a wnaethpwyd yn ddŷn, fel y gallem ni wrth hynny dderbyn ychwaneg o ddiddanwch, cystal yn ein gweddiau ac yn ein hadfyd, pan ystyriom ynom ein hunain, fod i ni gyfryngwr yr hwn sydd wir ddŷn fel ninnau, a'r hwn y cydwrdde ein gwendid ni, yr hwn a demptiwyd yr un modd ac y temptir ninnau.

heb.4.15.

Er mwyn yr achosion hyn a llawer eraill yr oedd yn angenrhaid iddo ddyfod megis y daeth, yn y cnawd. Ond o blegid nad oes ac nas gall fod gan un creadur o blegid ei fod yn greadur, allu i ddinistrio angau ac i roddi bywyd, i orchfygu uffern ac i brynu nef, i faddeu pechodau ac i roddi cyfiawnder: am hynny rhaid oedd i'n Messias ni, dlêd a swydd yr hwn oedd wneuthur y pethau hynny, fod nid yn unig yn gyfiawngwbl ac yn berffaith ddŷn, ond hefyd yn gyfiawngwbl ac yn berffaith Dduw, fel y gallai yn gyfiawnach ac yn berffeithiach wneuthur iawn tros ddŷn.

Mae Duw yn dywedyd, Hwn yw fy anwyl fab yn yr hwn y'm bodlonir; wrth y geiriau hynny yr ydym yn deall ddarfod i Ghrist lonyddu a diffodd llid ei Dâd, nid am ei fod ef yn unig yn fâb dŷn, ond yn fwy o lawer am ei fod ef yn fâb Duw.

Fel hyn y clywsoch ddangos allan o'r Scrythyrau, mai Iesu Ghrist yw'r gwir Messias ac

Iachawdwr y byd, ei fod ef mewn naturiaeth a sylwedd yn berffaith Dduw ac yn berffaith ddŷn, a pha ham yr oedd anghenrhaid ei fod ef felly.

Bellach fel y byddom ni meddylgarach a mwy ein diolch i Dduw yn y peth hyn, ystyriwn ar ychydig airiau a galwn i'n côf yr amryw a'r dirfawr ddoniau a dderbyniasom ni oddiwrth enedigaeth ein Messias a'n Iachawdr hwn.

Cyn dyfod Christ i'r byd, nid oedd yr holl ddynion yn gyffredinol ond cenedlaeth anwir *drofaus, prennau pydron llygredig, tir carregog yn llawn *drain a* mieri, defaid colledig, meibion afradlon, gweision drwg anfuddiol, goruchwilwyr anghyfiawn, gweithredwyr anwiredd, hiliogaeth gwiberod, tywysogion deillion, yn eistedd mewn tywyllwch a chysgod angau: ac ar ychydig eiriau, nid oeddynt ddim ond plant colledigaeth, ac etifeddion tân uffern. I hyn y mae S. Paul yn dwyn tystiolaeth mewn llawer o leoedd yn ei epistolau, a Christ ei hun hefyd mewn amryw leodd o'i Efengyl.

* Draws.

* Drysi gwyddeli.

Ond gwedi ei ddiscyn ef unwaith o'r nef a chymmeryd ein naturiaeth egwan ni arno, ef a wnaeth gynnifer oll ac a'i derbyniasant ef yn gywir, ac a gredasant ei air ef, yn brennau da, yn dir da, yn ganghennau ffrwythlon prydferth, yn blant y goleuni, yn ddinaswyr nef, yn ddefaid o'i gorlan, yn aelodau o'i gorph, yn etifeddion o'i deyrnas, yn gywir gyfeillion ac yn frodyr iddo, yn fara melûs bywiol, yn ddewisol ac yn etholedig bobl Dduw. O blegid fel y dywaid Petr yn yr ail bennod o'i epistol cyntaf, Ef a ddygodd ein pechodau ni yn ei gorph ar y pren, a thrwy ei gleisiau ef y'n iachawyd ni.

1.Pet.2.24.

A lle yr oeddym ni o'r blaen yn ddefaid gwedi myned ar gyfrgoll, efe wrth ei ddyfodiad a'n dug ni adref eilwaith at fugail ac esgob ein heneidiau, gan ein gwneuthur ni yn genhedlaeth etholedig, yn offeiriadaeth frenhinol, yn bobl sydd briodoriaeth i Dduw, gan farw dros ein pechodau ni. Yr un S. Paul at Titus yn y drydedd bennod

Tit.3.3. sydd yn dywedyd ein bod ni gynt yn annoethion, yn anufydd, mewn amryfysedd, yn gwasanaethu chwantau, ac amryw felyswedd, gan fyw mewn drygioni a chenfigen, yn llidiog ac yn casau ei gilydd, &c. eithr gwedi i ddaioni Duw ymddangos i ddyn, a'i garedigrwydd ef yn Iesu Grist, nid o weithredoedd cyfiawnder y rhai a wnaethom ni, ond yn ôl ei drugaredd yr iachaodd efe ni, trwy olchiad yr adenedigaeth, ac adnewyddiad yr Yspryd glân, yr hwn a dywalltodd ef arnom ni yn helaeth trwy Iesu Grist ein Iachawdwr, fel y byddei ni wedi ein cyfiawnhau trwy ei râs ef, gael ein gwneuthur yn etifeddion yn ôl gobaith y bywyd tragwyddol.

Yn y lleoedd hyn a'r cyfryw leoedd eraill, y gosodir ger bron ein llygaid ni megis mewn drych, aml ras Duw yn Iesu Grist, yr hyn sydd ryfeddach o blegid nas daeth o'n haeddiant ni, ond yn unig o'i dirion drugaredd ef, a hynny pan oeddym ni yn elynion atcas iddo ef.

Ond er mwyn i ni ddeall ac ystyried y peth hyn yn well, edrychwn er mwyn pa ddefnydd y daeth ef, yno y cawn ddeall pa ennill a pha fudd a ddug ei enedigaeth ef i ni greaduriaid truain pechadurus. Diwedd ei ddyfodiad ef oedd i achub a

Mat.1.21. gwared ei bobl, i gyflawni y gyfraith drosom ni,

Mat.5.17. i ddwyn tystiolaeth i'r gwirionedd, i ddysgu a

phregethu

pregethu teyrnas ei dâd, i roddi goleuni i'r byd, i Io.18.57.
alw pechaduriaid i edifeirwch, i esmwythô ar y Luc.4.44.
rhai blinderog a llwythog, i daflu allan dywysog Io.8.14.
y byd hwn, i'n cymmodi ni ag ef yng-horph ei Mat.9.11.
gnawd, i ddattod gweithredoedd y cythraul, i fod Mat.11.28.
yn iawn dros ein pechodau ni, ac nid dros ein pe- Col 1.22.
chodau ni yn unig, ond tros bechodau 'r holl fyd. Heb.2.14. 1.Io.2.2.

Dymma 'r achosion pennaf yr aeth Christ yn ddyn, nid er mwyn ennill yn y byd a ddauai iddo ef o hynny, ond yn unig er ein mwyn ni, fel y gallem ddeall ewyllys Duw, a bod yn gyfrannogion o'i oleuni nefol ef, a chael ein gwared o gigweiniau diawl, ein rhyddhau oddiwrth faich ein pechodau, ein cyfiawnhau trwy ffydd yn ei waed ef, ac yn ddiwethaf cael ein derbyn i fynu i ogoniant tragwyddol, i deyrnasu yno gydag ef byth. Ond oedd hyn yn gariad mawr godidog i Grist tu ag at ddynion, ac yntef yn wir dduw a llun Duw, iddo er hynny ymostwng a chymmeryd arno agwedd gwâs, a hynny yn unig er mwyn ein hachub a 'n gwared ni? Oh mor rhwymedig ydym ni i ddaioni Duw yn hyn o beth. Pa faint o ddiolch a moliant sy ddyledus arnom iddo ef am ein Iechydwriaeth a weithiodd ef trwy ei anwyl a'i unig fab Christ? Yr hwn aeth yn bererin ar y ddayar i'n gwneuthur ni yn ddinasyddion nef, yr hwn aeth yn fab dyn i'n gwneuthur ni yn feibion i Dduw, yr hwn a fu ufydd i 'r gyfraith i'n gwared ni oddiwrth felldith y gyfraith, yr hwn aeth yn dlawd i'n gwneuthur ni yn gyfoethogion, yn wael i'n gneuthur ni yn werthfawr, ban farwolaeth i wneuthur i ni fyw yn dragywydd. Pa gariad mwy a allem ni greaduriaid truein ei ddeisyf neu ei ddymuno ar law Dduw.

Am:

Am hynny fy anwyl garedigion, nac angho-fiawn ddirfawr gariad ein hargl wydd a 'n Ja-chawdwr, na ddangofwn mo honom ein hunain yn anfeddylgar nac yn annniolchgar tu ag atto ef, ond carwn ef, ofnwn ef, ufyddhawn iddo, gwa-fanaethwn ef. Cyffeffwn ef â 'n geneuau, clod-forwn ef â 'n tafodau, credwn iddo â 'n calonnau, a gogoneddwn ef â 'n gweithredoedd. Chrift yw 'r goleuni, derbyniwn y goleuni. Chrift yw 'r gwirionedd, credwn y gwirionedd. Chrift yw 'r ffordd, dilynwn y ffordd. Ac o herwydd mai efe yw ein unig feiftr ni, ein unig athro ni, ein hunig fugail ni a 'n tywyfog pennaf, byddwn iddo ef yn weifion, yn yfcolheigion, yn ddefaid, yn filwyr.

Tuag at am bechod, y byd, y cnawd, a 'r cy-thraul, i 'r rhai yr oeddym ni yn gaethweifion cyn dyfodiad Chrift, taflwn hwy ymmaith, a ffiai-ddiwn hwy, megis unig elynion pennaf ein he-neidiau. A chan ddarfod i Chrift unwaith ein gwared ni oddiwrth eu creulon dyrannaeth hwy, na chwympwn byth mwy i'w dwylo hwy, rhag i ni fod mewn cyflwr gwaeth nag y buom erioed o 'r blaen: dedwydd, medd yr Scrythur, yw y rhai a barhao hyd y diwedd. Bydd ffyddlon, medd Duw, hyd angau, a mi a roddaf i ti goron y bywyd. Eilwaith ef a ddywaid mewn man arall, yr hwn a ofodo ei law ar yr aradr ac a edry-cho yn ei ôl, nid yw addas i deyrnas Dduw. Am hynny byddwn gedyrn, a diogel a difygl, yn he-laeth yn waftad yngweithredoedd yr Arglwydd. Derbyniwn Grift, nid tros amfer, ond tros fyth. Credwn ei air ef, nid tros amfer ond tros fyth. Bwn yn weifion iddo, nid tros amfer ond tros fyth.

fyth. O blegid iddo ef yn prynu ni a 'n gwared ni, nid tros amser ond tros fyth, ac y derbyn ef ni i'w deyrnas nef, i deyrnasu yno gydag ef, nid tros amser ond tros fyth. Iddo ef am hynny gyda 'r Tâd a'r Yspryd glân y byddo 'r holl anrhydedd, moliant a gogoniant yn oes oesoedd, Amen.

## ¶ Pregeth ar ddyẇ gwener y croglith, ynghylch angau a dioddefaint ein Iachawdwr Iesu Ghrist.



Nid ydyw weddus i ni (fy-ngharedigion ynghrist) a ninnau yn bobl wedi iddo ef eu gwared oddiwrth y cythraul, oddiwrth bechod a marwolaeth, ac oddiwrth ddānedigaeth dragwyddol trwy Ghrist, elliwng yr amser ymma heibio heb na myfyrdod na choffadwriaeth am arddercchog weithred ein prynedigaeth a wnaethpwyd ar gyfenw i'r amser ymma, trwy fawr drugaredd a chariad ein Iachawdwr Iesu Ghrist, trosom ni bechaduriaid truain ei elynion ef.

O blegid os bydd gweithred dyn marwol, yr hon a wneler er budd i'w wlad, mewn coffadwriaeth yn ein plith ni, gyda diolch am y dawn a 'r gwelliant sydd yn dyfod i ni oddiwrth hynny: parottach o lawer y dylem wneuthur coffa am arddercchog weithred a dawn marwolaeth Christ: trwy yr hyn y prynodd ef i ni ddiogel bardwn a maddeuant am ein pechodau, ac y cymmododd ef y Tâd o'r nêf a nyni, megis yn awr y mae efe yn ein cymmeryd ni yn anwyl blant iddo,

ac

ac yn wir etifeddion gydâ Christ ei fab naturiol ef o deyrnas nefoedd.

Ac yn wir y mae tiriondeb Christ yn ymddangos yn fwy o lawer am fod yn wiw gantho roi heibio ei holl anrhydedd dwywiol, yn yr hon yr oedd ef yn ogyfuwch â'i dad o'r nef, a dyfod i lawr i'r dyffryn blinder hwn, i'w wneuthur yn ddyn marwol, a bod mewn cyflwr y gwâs gwaelaf, a'n gwasanaethu ni er budd a lles i ni, ini meddaf, y rhai oeddym yn elynion tyngedig iddo ef ac a wrthodasem ei ghyfreithiau a'i orchymynion sanctaidd ef, ac a ddilynasem drachwantau a hoffderau ein naturiaeth lygredig ein hunain. Etto er hynny, meddaf, fe a'i gosododd Christ ei hunan rhwng cyfiawn ddigofaint Duw, a'n pechodau ni, ac a dorrodd yr scrifenlaw trwy'r hon yr oeddym ni yn rhwym i Dduw, ac a dalodd ein dlêd ni.

Coloss. 2.14.

Yr oedd ein dlêd ni yn ormodd o lawer i ni i'w thalu. Ac heb daledigaeth ni allai Dduw byth fod yn gyttun a ni. Ac nid oedd bossibl i ni gael ein rhyddhau oddiwrth y ddlêd ymma o'n gallu ein hunain.

Am hynny fe fu wiw gantho ef fod ein dalwr trosom, a'n rhyddau ni yn gwbl.

Pwy yn awr a ddichon ystyried tôst ddlêd pechod, yr hon ni ellid ei thalu yn angen na thrwy farwolaeth gŵr dieniwed diddrwg, ac ni chasha bechod yn ei galon? Os ydyw Duw yn casáu pechod yn gymmaint ac na chymmerai ef na dyn nac angel yn iawn drosto, ond yn unig marwolaeth ei unig anwyl fab, pwy ni bydd arno ofn pechod? Os ystyriwn ni fy-nghyfredigion, orfod ar yr oen diniwed hyn oddef angau, fe ail fod

genym

gennym fwy o achosion i alaru trosom ein hu-
nain, y rhai a fuom achosion o'i farwolaeth ef, i
waeddi yn erbyn malis a chreulondeb yr Iddew-
on, y rhai a'i herlidiasant ef i angau. Nyni a
wnaethom y gweithredoedd a barodd iddo ef
gael ei daraw a'i glwyfo, nid oedd yr Iddewon
ond gweinidogion ein drygioni ni.

Gweddus am hynny yw i ni ddiscyn yn isel i'n
calonnau a galaru am ein trueni a'n bywyd pe-
chadurus. Gwybyddwn yn sicer os cospwyd
ac os tarawyd anwyl fâb Duw fal hyn am y pe-
chodau y rhai ni wnaethe efe ei hunan: pa faint
tostach y dlyem ni gael ein cospi am ein amryw
bechodau beunyddol y rhai yr ydym yn eu gwneu-
thur yn erbyn Duw, onid edifarhawn yn ddifrif
a galaru am danynt: ni all neb fod mewn ffafor
gydâ Duw, a charu pechod, yr hwn y mae Duw
yn ei gasau yn gymmaint. Ni ddichon neb ddy-
wedyd ei fod ef yn caru Christ yn gywir, ac yntef
a chymdeithas rhyngtho a'i elyn mawr ef, yr
hwn yw pechod, awdur ei angau ef. Yn gym-
maint yr ydym yn caru Duw a Christ, ac yr ydym
yn casau pechod. Am hynny ni a ddylem fod yn
wagelog iawn rhag bod ein serch ni ar bechod,
rhag ein cael ni wrth hynny yn elynion i Dduw
ac yn fradwyr i Ghrist.

O blegid nid hwynthwy yn unig y rhai a hoe-
liasant Grist ar y groes, yw artaithwyr a chroe-
shoel-wyr Christ, ond y maent hwy oll (medd S.
Paul) yn ail-groeshoelio mâb Duw; hyd y mae
ynddynt hwy, y rhai sy yn gwneuthur drygioni
a phechod, y rhai a'i dygasant ef i farwolaeth.
Os cyflog pechod yw angau, a hynny angau tra-
gwyddol, yn wir nid bychan y perigl o fod mewn

gwasanaeth pechod. Os byw fyddwn yn ôl y cnawd a'i chwantau pechadurus, mae S. Paul yn bygwth, ie yr Holl-alluog yn bygwth trwy S. Paul y byddwn meirw. Ni allwn ni fyw i Dduw mewn modd amgen na thrwy feirw i bechod. Os yw Christ ynom, yno mae pechod yn farw ynom. Ac os ydyw Yspryd Duw ynom, yr hwn a gyfododd Christ o farwolaeth i fywyd, yr un Yspryd a'n cyfyd ninnau i ailgyfodiad y bywyd tragwyddol. Ond os teyrnasa pechod ynom, yno mae Duw yr hwn yw ffynnon pob grâs a rhinwedd, wedi myned oddiwrthym: yno y mae diawl a'i Yspryd anrasson yn rheoli ac yn llywodraethu ynom.

Ro. 5. 6.

Ac yn siccr os byddwn feirw yn y cyflwr blin ymma, ni chyfodwn ni i fywyd, ond ni a gwympwn i angau a damnedigaeth byth heb ddiwedd. O blegid ni waredodd Christ ni felly oddiwrth bechod, fel y gallem yn ddibryder droi atto eilwaith: ond fe a'n gwaredodd ni, fel y bydde i ni ymwrthod a gwyniau pechod, a byw i gyfiawnder. Ie fe a'n golchwyd ni yn ein bedydd oddiwrth frynti pechod, fel y byddem ni byw o hynny allan mewn purdeb buchedd. Ni a addawsom yn ein bedydd ymwrthod a diafol a'i holl ddichellion, ni a addawsom (megis plant ufyddgar) yn wastad ganlyn bodd ac ewyllys Duw.

Am hynny os efe yw'n Tâd ni yn siccr, rhoddwn iddo ef ei anrhydedd dyledus. Os plant iddo ef ydym ni, dangoswn ein ufydd-dod iddo, fel y dangosodd Christ yn oleu ei ufydd-dod i'w dâd, yr hwn (fel y mae S. Paul yn scrifennu) a fu ufydd i angau sef angau'r groes. A hyn a wnaeth efe drosom ni oll y rhai ydym yn credu ynddo ef.

Ni

Ni chospwyd ef trosto ei hunan, oblegid yr oedd ef yn bur ac yn lân oddiwrth bob rhyw bechod. Fe a archollwyd (medd y prophwyd Esai) Esai.53.5.
am ein pechodau ni ac a ddryllîwyd am ein camweddau ni, efe a gymmerth ein gwendid ni ac a ddygodd ein doluriau ni. Ni wrthododd ef oddef yn boenedigaeth ar ei gorph ei hun er ein gwared ni o dragwyddol boenau. Ei ewyllys ef oedd wneuthur hyn drosom ni, er nas haeddasom.

Am hynny po mwyaf, y gwelom ni ein bod ein hunain yn rhwymedig iddo ef, mwy o ddiolch a ddylem ni ei roddi iddo ef, a mwy o obaith allwn ni ei gymmeryd y cawn ni dderbyn pob peth daionus arall ar ei law ef, gan i ni o'i haelioni ef dderbyn ei anwyl fâb ef. Oblegid (fel y dywaid Ro.8.32.
S. Paul) onid arbedodd Duw ei fâb ei hun, ond ei roddi ef drosom ni i farwolaeth, pa wedd gyd ag ef na rydd ef bob peth i ni hefyd? Os bydd arnom eisiau dim nac i'n corph nac i'n henefdiau, ni a allwn yn gyfreithlon ac yn hyderus nesau at Dduw, megis at ein tâd trugarog, i ofyn y peth a fynnom ac ni a'i cawn.

O herwydd cynnifer o honom ac sydd yn credu yn enw Christ, fe a roddwyd i ni y gallu i fod yn blant i Dduw. Pa beth bynnag a ofynnom yn ei enw ef, fe a geniatteir i ni. Oblegid mae Duw dâd Holl-alluog wedi ei fodloni yn gystal ynghrist ei fab, fel y mae ef er ei fwyn ef yn ein hoffi ni, ac ni *neccy ni o ddim. Mor fodlon fu *Phalla ini.
gantho offrwm ac aberth angau ei fab, yr hon a ddioddefodd ef mor ufydd ac mor ddiniwed, ac y cymmerai ef hi yn lle unig a chyflawn iawn am bechodau yr holl fyd. A chyfryw ffafor a brynodd ef.

efi ni trwy ei angau oddiar law ei nefol dâd, megis o haeddedigaeth y farwolaeth honno (os ydym wir Gristianogion ac nid mewn gair yn unig) yr ydym ni yn awr yn hollawl yngrâs Duw, a chwedy ein rhyddhau yn llwyr od diwrth ein pechodau.

Yn wir nid yw tafod abl i draethu teilyngdod angau mor werthfawr. O blegid yn y farwolaeth hon y mae gwastadol bardwn a maddeuant ein pechodau beunyddol ni, ynthi y mae ein cyfiawnhâd ni, ynddi y'n gwneir ni yn gymmeradwy, â hi y prynir iechyd tragwyddol ein heneidiau'ni. Ie nid oes un peth arall ac a ellir ei enwi dan y nef i gadw ein eneidiau ni, ond yr unig orchwyl hwn a wnaeth Christ wrth offrwm ei werthfawr gorph ar allor y groes.

Act.4.12. Siccr yw na ddichon bod gweithred un dŷn marwol, er sancteiddied fytho, gael ei chwplu mewn haeddedigaethau gyd â sanctaidd weithred Christ. O blegid yn ddiammau ni thalai ein meddyliau na'n gorchwylion ni ddim, onis gwneid hwy yn gymmeradwy yn haeddedigaethau marwolaeth Christ. Mae'n holl gyfiawnder ni yn rhy ammherffaith iawn, os cyffelybir ef â chyfiawnder Christ. O blegid yn ei orchwylion a'i weithredoedd ef, nid oedd brychi pechod, na dim am-mherffeithrwydd. Ac am hynny yr oeddynt yn alluoccach ac yn applach i fod yn wir iawn am ein anghyfiawnder ni, lle mae'n gweithredoedd ni a'n gorchwylion yn llawn ammherffaithrwydd a gwendid ac am hynny o honynt eu hunain yn an-nheilwng i beri i Dduw ein hoffi ni, a llai o lawer i ym-arddel o'r gogoniant sy ddyledus i weithred Christ ac i'w haeddiant.

O

O blegid medd y prophwyd Dafydd, Nid i ni Psal.115.1.
o Arglwydd, nid i ni, ond i'th enw dy hun dôd
di ogoniant. Am hynny fyngharedigion, gogo-
neddwn yn barchedig ei enw ef, mawrhawn a
a chlodforwn ef yn dragywydd. O blegid fe a
wnaeth i ni yn ôl ei fawr drugaredd, trwyddo ei
hun y gweithiodd ef ein prynedigaeth ni. Nid
oedd ddigon gantho ei arbed ei hun a danfon ei Heb.1.3.
angel i wneuthur y weithred hon, ond fe a fyn-
nai ei gwneuthur hi ei hunan, fel y gallai ei
gwneuthur hi yn well, a'i gwneuthur yn ber-
ffaithiach prynedigaeth. Ni chyffrôdd ef ronyn
er yr aneirif boenau a ddioddefodd ef yn holl am-
ser ei hir ddioddefaint, megis pe buase edifar gan-
tho wneuthur cymmaint o ddaioni i'w elynion:
ond ef a egorodd ei galon i ni, ac a'i roddodd ei
hunan yn hollawl i fod yn brynedigaeth i ni.

Agorwn ninnau yn awr ein calonnau iddo ef
eilwaith, a myfyriwn yn ein bywyd ar fod yn
ddiolchus i'r fath Arglwydd, a byddwn bob
amser yn feddylgar am ddawn cymmaint, ie
cyfodwn ein croes gyd â Christ a chanlynwn
ef.

Nid ydyw ei ddioddefaint ef yn iawn ac yn gwbl
daledigaeth tros ein pechod ni, ond hefyd yn si-
ampl o'r berffeithiaf o ammynedd a dioddefga-
rwch. O blegid os oedd raid fel hyn i Grist ddi- Act.14.3.
oddef, a myned i mewn i ogoniant ei Dâd, pa
ham na weddai i ninnau oddef ein blinderau by-
chain o adfyd, a thrallodau'r byd hwn. O blegid
yn siccr, fel y dywaid S. Petr, fe a oddefodd
Christ er mwyn gadel i ni siampl i ganlyn ei ôl ef.
Ac os goddefwn gydag ef, ni a deyrnaswn gydag 1.Pet.2.
ef yn siccr yn y nefoedd. Nid am fod gosdiau y 1.Tim.2.
Ddd byd

ro.8.18. byd trangcedig hwn yn cystadlu y gogoniant a ddaw, ond ni a ddylyem fod yn fodlon i oddef yn llawen, i gael bod yn debyg i Ghrist yn ein bywyd, megis felly wrth ein gweithredoedd y mat.5.16. gallon ni ogoneddu ein Tâd yr hwn sydd yn y nefoedd.

Ac fel y mae yn boenedig ac yn flin ddwyn croes Christ yngofidiau ac aflwydd y byd hwn, felly y mae yn dwyn allan hyfryd ffrwythau gobaith ym-mhawb a'i harferant.

Nac edrychwn cymmaint ar y boen ac ar y Iaco.1.3. g'wobr sydd yn canlyn ein llafur ni. Nag ê ymrown yn hytrach yn ein blinderau i oddef yn ddieuog ac yn ddieniwed, fel y gwnaeth ein Iachawdwr Christ. 1.Pet.2,20. O blegid os goddefwn am ein beiau, yno nid yw dioddefgarwch yn cael ei chyfiawn waith ynom. Ond os heb ei haeddu y dioddefwn golli ein da a'n bywyd, os goddefwn ddywedyd yn ddrwg am danom er mwyn Christ hyn sydd rasol ger bron Duw, o blegid felly y goddefodd Christ. Ni phechodd ef erioed, ac erioed ni chaed twyll yn ei enau ef. Ie pan ddifenwyd ef a gwatwarau, ni ddifenwodd elwaith: Pan ddioddefodd yn anghyfiawn ni fygythiodd ef ac ni ddialodd ei gam, ond rhoddi ei achos ar yr hwn sydd yn barnu yn gyfiawn.

Nid yw perffaith ddioddefgarwch yn ystyried pa beth neu pa faint a oddefo, pa un ai gan gâr ai gan elyn: ond mae yn edrych at iddi oddef yn ddifeius ac heb ei haeddu. Ie n ae'r hwn sydd a chariad perffaith yndo, yn gofalu cyn *fychaned: *lleied am ddial, ac y mae efe yn hytrach yn myfyrio gwneuthur da am ddrwg, i fendithio ac i mat.5.44. ddywedyd yn dda am y rhai a'i melldithiant, i

weddio

weddio tros y rhai a'i herlidiant yn ôl siampl ein Iachawdwr Christ, yr hwn yw'r siampl a'r gynddelw berffeithiaf o bob llaryeidd-dra a dioddefgarwch yr hwn ag yntef ynghrog ar y groes mewn poen trad, yn gwaedu ym-mhob rhan o'i fendigedig gorph, wedi ei osod ynghanel ei elynion a'i groeshoelwyr, ac er eu bod hwy (er maint y poenau anrhaith oddef yr oeddynt yn ei weled ynddo) yn ei watwar ac yn ei sennu yn ddirmygus heb na ffafwr na thosturi, etto efe a gymmerth cymmaint tosturi trostynt hwy yn ei galon, fel y gweddiodd ef ar ei dad o'r nef trostynt hwy, gan ddywedyd, O Dâd maddeu iddynt, o herwydd ni wyddant pa beth y maent yn i wneuthur. Luc.23.34.

Pa ddioedddefgarwch hefyd a ddangosodd ef, pan ddaeth vn o'i ddiscyblon a'i weision ef ei hunan a osodasai ef mewn ymddiried, i'w fradychu ef i'w elynion i farwolaeth? Ni ddywedodd ef waeth wrtho na hyn, Y cyfaill i pa beth y daethost? Fal hyn, fyngharedigion, y dylem ni goffio y mawr siamplau cariad a ddangosodd Christ yn ei ddioeddfaint, os cofiwn ei ddioddefaint ef yn ffrwythlon. Y cyfryw gariad a charedigrwydd a ddylê ni ei ddwyn tu ag at ei gylydd, os mynnwn fod yn wir weision i Ghrist. O blegid oni charwn ond y rhai a'n carant ninnau pa ragoriaeth yr ydym yn ei wneuthur, medd Christ: oni wna'r publicanod a'r pechaduriaid cyhoedd yr vn peth? Rhaid i ni fod yn berffeithiach na hyn yn ein cariad, fel y mae ein Tâd yr hwn sydd yn y nefoedd yn berffaith, yr hwn sydd yn peri i lewyrch ei haul dywynnu a'r y da a'r drwg, ac yn danfon ei law ar y cyfiawn a'r anghyfiawn. mat.26.49. mat.5.46.

Fal hyn y dylêm ni ddangos ein cariad yn *ddiduedd, cystal i'r naill ac i'r llall, cystal i elyn ac i gar, megis plant ufydd, yn ôl siampl ein Tâd o'r nef. O blegid os bu Christ yn ufydd i'w Dâd hyd angau, a'r angau gwradwyddusaf (fal y tybie yr Iddewon) angau'r groes; pa ham na byddem ni ufydd i Dduw mewn pyngciau llai o gariad a dioddefgarwch?

* ddiymmer. yn ddineilltuol. yn indyfferent.

Am hynny maddeuwn i'n cymmdogion eu beiau bychain, fel y maddeuodd Duw i ninnau er mwyn Christ ein beiau mawrion. Nid yw weddus i ni geisio maddeuant ar law Dduw am ein beiau mawrion a bod er hynny heb faddeu i'n cymmydogion eu beiau bychain yn ein herbyn ni. Ofer y galwon ni am drugared, oni ddangoswn drugaredd i'n cymmydogion.

Ecclus.28.2.

Mat.15.35.

O blegid oni fwriwn lid a digofaint tu ag at ein brodyr ynghrist allan o'n calonnau, ni faddeu Duw ychwaith y llid a'r digofaint a haeddodd ein pechodau ni arno ef. O blegid tan yr ammod hwn y mae Duw yn maddeu i ni, os ninnau a faddeuwn i eraill.

Nid gweddus i Gristianogion fod yn dôst ac yn galed y naill wrth y llall, na thybied na haeddai ein cymmydog faddeu iddo. O blegid er mor anheilwng fytho ef, etto mae Christ yn haeddu gwneuthur o honot ti hyn er ei fwyn ef, efe a haeddodd arnat faddeu o honot i'th gymmydyg. Ac mae yn rhaid hefyd ufyddhau i Dduw, yr hwn sydd yn gorchymmyn i ni faddeu, os mynnwn ninnau ran o'r pardwn a'r maddeuant a brynodd ein Iachawdwr Christ unwaith gan Dduw Dâd trwy dywallt ei werthfawr waed.

Nid oes dim mor weddaidd âr weision Christ

athrugaredd a thosturi. Am hynny byddwn gariadus tu ag at ei gilydd, a gweddiwn tros ei gilydd, ar ein iachau oddiwrth holl wendid y bywyd hwn, fel y bo i ni wneuthur llai o eniwed i'w gilydd, ar i ni fod o vn meddwl ac o vn Yspryd, yn cyttuno ynghyd mewn cariad brawdol a chyfundeb fel anwyl blant Duw. Iac.5.16.

Wrth hyn y cyffrown ni Dduw i fod yn drugarog wrth ein pechodau, ac felly y byddwn parottach i dderbyn ein Iachawdwr a'n gwneuthurwr yn ei Sacrament bindigedig, i'n tragwyddol ddiddanwch ac iechyd ein enaidiau. Mae 'n hoff gan Grist fyned i mewn a thrigo yn yr enaid y bo cariad a charedigrwydd yn theoli ynddo, ac y bo ynddo heddwch a chyfundeb. Eph.5.2.

O blegid fel hyn y mae Ioan sanct yn scrifennu, Duw cariad yw, a'r hwn sydd yn aros yngharia d sydd yn aros yn Nuw a Duw ynddo yntef. 1.Ioan.4. Vers.16.

Wrth hyn, medd ef, y gwyddom ein bod yn trigo ynddo ef, os ni a garwn ei gilydd. Ac wrth hyn y gwyddom ddarfod ein symmudo o farwolaeth i fywyd, os ni a garwn ei gilydd. Ond yr hwn a gasha o ei frawd, medd yr vn Apostol, sydd yn aros mewn marwolaeth, ac mewn perigl o farwolaeth dragwyddol, ac mae efe hefyd yn blentyn colledigaeth a'r cythraul, gwedi i Dduw ei felldithio, yr hyd y byddo ef felly, yn gâs gan Dduw a'i holl gwmpeini nef. O blegid fel y mae tangnheddyf a chariad yn ein gwneuthur ni yn fendigedig blant i'r Holl-alluog Dduw, felly y mae casineb a chenfigen yn ein gwneuthur ni yn blant i ddiafol. Vers.13. & 1.Ioan.2.5. 1.Ioan.3 14.15

Duw a roddo i bawb o honom ni ras i ganlyn

siamplau Christ mewn heddwch a chariad, ymmynedd a dioddefgarwch, fel y gallom ni ei gael ef yr awrhon i ddyfod i mewn attom, i letteua ac i aros gyda ni, fel y gallom fod mewn cwbl ddio-
ro.8.32. gelwch, gan fod gennym y cyfryw wystl o'n Jechydwriaeth. Os ydyw ef a'i ffafor gennym, ni a allwn fod yn sicer fod gennym ni ffafor Duw hefyd trwyddo ef. O blegid mae efe yn eistedd ar ddeheulaw Duw ei Dad, megis yn ddadleuwr ac yn attwrnai i ddadleu ac i eiriol trosom yn ein holl eisiau a'n anghenrheidiau.

Am hynny os bydd arnom eisiau un rhodd o ddoethineb dduwiol, ni a allwn ei gofyn hi gan Dduw er mwyn Christ ac ni a'i cawn hi.

Ystyriwn a holwn ein hunain pa ddiffyg sydd ynom o'r rhinwedd hon o gariad a dioddefgarwch. Os gwelwn nad yw ein calonnau yn gogwydd dim tu ag atti, wrth faddeu i'r rhai a wnaeth yn ein herbyn, yno cydnabyddwn ein diffygion, a dymunwn ar Dduw eu cyflawni. Ond os bydd arnom eisiau, ac etto heb gennym chwant yn y byd i'r hyn a fo arnom ei eisiau, yno yr ydym mewn cyflwr blin ger bron Duw, ac fe fydde raid i ni weddio yn daer ar Dduw, ar gael felly newydd ein calonnau fel yr ympier ynom galonnau newydd. O blegid oni faddeuwn ni i eraill, ni faddeu Duw byth i ninnau. Je ni all holl weddiau a haeddedigaethau rhai eraill heddychu rhyngom ni a Duw, oni byddwn ni mewn heddwch a chyttundeb a'n cymmydogion. Ac nid ydyw ein holl orchwylion a'n gweithredoedd da ni yn abl i gyffroi Duw i faddeu i ni y ddled sydd arnom iddo ef, oni faddeuwn ninnau i eraill. Mwy gantho ef am drugaredd nag am offrwm.

Trugaredd

Trugaredd a wnaeth i'n Iachawdur Christ oddef tros ei elynion, gweddus yw i ninnau ganlyn ei siampl ef.

O blegid ychydig a dâl i ni fyfyrio ar ffrwythau a gwerth ei ddioddefaint ef, eu mawrhau hwy ac ymhoffi ac ymddiried ynddynt, oni chofiwn ei siamplau ef yn dioddef, er eu canlyn.

Am hynny os nyni fel hyn a ystyriwn farwolaeth Christ, a glynu mewn ffydd ddiogel wrth ei haeddedigaethau a'i rhyglyddon hi, a'n ffurfio ein hunain i'n gwario ein hunain a chwbl ac sydd gennym trwy gariad er lles i'n cymmydog, fel y gwariodd Christ ei hunan yn hollawl er ein llês ni, yno yr ydym ni yn iawn gofio marwolaeth Christ: ac wrth fod fel hyn yn canlyn ôl Christ, ni a fyddwn siccr o'i ganlyn ef i'r lle y mae ef yn eisteddd gyd â'r Tâd a'r Yspryd glân, i'r hwn y byddo holl anrhydedd a gogoniant. Amen.

## Yr ail rhan o'r bregeth ar ddioddefaint ein Iachawdwr Christ.



ER mwyn deall o honom yn well fawr drugaredd a daioni ein Iachawdwr Christ, yn goddef angau yn gyffredinol tros bob dyn, mae yn rhaid i ni ddiscyn i waelod ein cydwybod, ac ystyried yn ddwysn yr achos cyntaf a'r pennaf pa ham y gorfu arno wneuthur felly. Gwedi darfod i'n hên orhendad ni Addaf dorri gorchymmyn Duw, wrth fwytta 'r afal a waharddasid iddo ym-mharadwys, trwy annog a * hud ei wraig, Gen. 3. 6.

* hudoliaeth

fe a emmillodd wrth hynny, nid yn unig iddo ei hun, ond hefyd i'w holl hiliogaeth byth, gyfiawnlid a digofaint Duw, yr hwn yn ôl y farn a ddatcanase ef wrth roddi y gorchymmyn a'i condemnodd ef a'i holl heppil ar ei ôl i angau tragwyddol enaid a chorph.

O blegid fe a ddywedasid wrtho, O holl brennau'r ardd gan fwytta y bwyttei, ond pren gwybodaeth da a drwg, ni fwyttei o hono. O blegid yn y dydd y bwyttaech di o honaw, gan farw y byddi farw. Ac fel y dywedodd yr Arglwydd felly y bu. Fe a fwyttaodd Addaf o hono, ac wrth wneuthur hynny a fu farw yn ddiau, hynny yw, fe aeth yn farwol, fe a gollodd ffafor Duw ac a daflwyd allan o baradwys, ni chafodd fod yn hwy yn ddinesydd nef, ond yn bentewyn o uffern, ac yn gaeth-was i ddiafol.

Hyn y mae'n Iachawdwr yn ei dystiolaethu
Luc.15.4. yn ei Efengyl, gan ein galw ni yn ddefaid colledig, wedi cyfeiliorni a myned ar ddidro oddiwrth
Ro.5.12. wir fugail ein heneidiau. Hyn y mae S. Paul hefyd yn ei dystiolaethu, gan ddywedyd, mai trwy gamwedd Addaf y daeth angeu ar bawb i farwolaeth. Megis bellach nad oedd iddo ef nac i neb o'i
*Arddel. heppil na *chlaim na chyfiawnder yn-nheyrnas nefoedd, ond eu bod gwedi myned yn ad-ddynion ac yn wrthodedig, wedi eu condemnio yn dragwyddol i ddidrangc dân uffern.

Pe buasai ddynion yn gallu eu hadferu eu hunain a chael maddeuant gan Dduw yn y cyfryw gyfyngder a thrueni, pryd y buasei eu cyflwr hwy yn haws ei oddef, oblegid y gallasai ef geisio rhyw ffordd i'w wared ei hun oddiwrth angau tragwyddol. Ond nid oedd iddo un ffordd, ni

allai ef wneuthur dim ac a alle lonyddu digofaint Duw, yr ydoedd ef yn gwbl anfuddiol yn hynny o beth. Nid oedd un a wnai ddaioni, nac oedd un. A pha fodd wrth hynny y gallei ef weithio ei Iechydwriaeth ei hun?

A geisiai efe lonyddu dirfawr ddigofaint Duw wrth offrwm iddo boeth aberthau, fel yr ordeiniasid yn yr hên gyfraith? wrth offrwm iddo waed ychen, gwaed lloi, gwaed ŵyn, gwaed geifr a'r cyfryw? Och, nid oedd yn y rhai hyn na grym na gallu i dynnu ymmaith bechodau, ni allent hwy oeri angerdd ei ddigofaint ef, nac chwaith dwyn dŷn i'w ffafor efeilwaith, nid oeddynt hwy ond arwyddion a chyscodau pethau oedd ar ddyfod heb ddim amgen. Heb.9.17.

Darllenwch yr epistol at yr Hebreaid, yno y cewch weled y peth hyn wedi ei draethu yn helaeth, yno y cewch weled yn oleu fod aberthau gwaedlyd yr hên gyfraith yn ammherffaith ac heb fod yn abl i wared dŷn o ddamnedigaeth meddiannodd yn y byd, megis na byddai i ddŷn wrth ymddiried i hynny ond ymddiried i ffonn grîn, ac yn y diwedd ei dwyllo ei hunan. Heb.10.5.

Pa beth wrth hynny a wna efe? Ai ceisio a wnai ef gadw cyfraith Dduw yr hon a rennir yn ddwy dabl neu lech, ac felly ennill iddo ei hun fywyd tragwyddol? Yn siccr pe buasei Addaf a'i hiliogaeth yn gallu cadw a chyflawni'r gyfraith yn gwbl, (sef caru Duw uwch law pob dim, a'u cymydog fel eu hunain,) yno y gallesent hwy yn hawdd ddiffodd llid yr Arglwydd, a dianc oddiwrth irad farn angeu tragwyddol a gyhoeddasai genau'r Holl-alluog Dduw yn eu herbyn hwy. O blegid scrifennedig yw; Gwna hyn a Luc.10.27.

byw fyddi, hynny yw, Cyflawna fy-ngorchymmynion, ymgadw yn union ac yn berffaith yn:ddynt hwy yn ôl fy ewyllys i, yno y byddi byw, ac ni byddi marw.

Ymma yr addewir bywyd tragwyddol ar yr ammod hwn, os hwy a gadwent y gyfraith. Ond cyfryw oedd freuolder dŷn yn ôl ei gwympo, cyfryw oedd ei wendid a'i * eiddilwch, ac na allai ef rodio yn union ynghyfraith Dduw, er maint fydde ei ewyllys ef i wneuthur hynny, ond fe a gwympai bob dydd a phob awr oddiwrth ei rwymedig ddlêd, gan wneuthur yn erbyn yr Arglwydd ei Dduw mewn amryw ffyrdd, i fawr gynnydd ei ddamnedigaeth ei hun, yn gymmaint ac y mae 'r prophwyd Dafydd yn gwaeddi fal hyn, Ciliase bob vn ynwysc ei gefn, cydymddifwynasent, nid oedd a wnele ddaioni nac oedd vn.

* Salwedd.

Psal.14.3.

Yn yr achos ymma pa lês a allai ef ei gael trwy 'r gyfraith? yn wir dim. Oblegid fel y dywaid S. Iaco, Pwy bynnag a gadwo 'r gyfraith i gyd, ac a * ballo mewn vn pwngc, y mae efe yn euog o'r cwbl. Ac yn llyfr Deuteronomium y mae yn scrifennedig fel hyn, Melldigedig yw 'r hwn ni pharhao yngeiriau 'r gifraith hon, gan eu gwneuthur hwynt.

* Faelo.

Deut.27.26.

Wele, mae 'r gyfraith yn dwyn melldith gyd â hi, ac yn ein gwneuthur ni yn euog, nid am ei bod hi o honi ei hun yn ddrwg ac yn aflan (na atto Duw i ni dybied hynny) ond am fod * breuolder a gwendid ein cnawd ni yn gyfryw, ac na allwn ni byth ei chyflawni yn ôl y perffaithrwydd y mae 'r Arglwydd yn ei ofyn.

* Breuder.

Allai Addaf wrth hynny (dybygwch chwi) o'r

beithio neu ymddiried cael bod yn gadwedig trwy 'r gyfraith? Na allai ddim. Ond po mwyaf yr edrychai ef ar y gyfraith, mwyaf y gwelai ei ddamnedigaeth ei hun ger bron ei lygaid, megis mewn drych gloyw. Megis yn awr o hono ei hun yr oedd ef yn druan ac yn flinderog, heb iddo ddim gobaith ac heb fod byth yn abl i lonyddu mawr ddigofaint Duw, nac etto i ddiangc rhac erchyll farn Duw, i'r hon y darfuase iddo ef ac i'w holl heppil gwympo, wrth anufyddhau gorchymmyn caled yr Arglwydd eu Duw.

Ond oh ddyfnder golud mawr drugaredd Duw? Oh ddaioni annrhaethadwy ei ddoethineb nefol ef. Pan oedd pob gobaith cyfiawnder gwedi myned heibio o'n rhan ni, pan nad oedd gennym ddim ynom ein hunain, trwy 'r hyn y gallem ddiffodd angerdd ei lid ef, a gweithio Jechydwriaeth ein heneidiau, a chyfodi allan o'r cyflwr blin yr oeddym ynddo. Yno meddaf yno y daeth Christ mab Duw trwy ordinhâd ei dâd i lawr o'r nef, i'w archolli er ein mwyn ni, i gael ei gyfrif gydâ'r annuwiol, i'w farnu i farwolaeth, i gymmeryd cyflog ein pechodau ni arno, ac i roddi ei gorph i'w ddryllio ar y groes am ein beiau ni.

Efe (medd y prophwyd Esai am Ghrist) a gymmerth ein gwendid ni, ac a ddug ein doluriau ni, cospedigaeth ein heddwch ni a roddwyd arno ef, a thrwy ei gleisiau ef yr iachwyd ni. S. Paul hefyd sydd yn dywedyd, i Dduw wneuthur yr hwn ni adnabu bechod, yn bechod ac yn aberth tros ein pechodau fel y'n gwnelid ni yn gyfiawnder Duw ynddo ef. 2.cor.5.21. Ac yn gyttunol â hyn y mae S. Petr wrth scrifennu ynghylch y defnydd ymma

yn dywedyd, Christ a fu farw unwaith tros ein pechodau ni, y cyfiawn tros yr anghyfiawn &c. At hyn y gellir cyssylltu aneirif o leoedd eraill i'r un defnydd, ond digon fydd yr ambell rai hyn tros hyn o amser.

Bellach (fal y dywetpwyd yn y dechreuad) ystyriwn a phwyswn achos ei farwolaeth ef, fel wrth hynny y'n cyffroer ni i'w ogoneddu ef tros ein holl fywyd. Yr hyn os mynnwch ei gynnwys yn un gair, nid oedd amgen achos o'n rhan ni na throsedd a phechod dyn.

Pan ddaeth yr angel i rybyddio Joseph nad ofnai gymmeryd Mair yn wraig iddo, oni orchymmynnodd efe alw y plentyn ar enw Jesu, oblegid y cadwai ef ei bobl rhag eu pechodau? Pan bregethodd Joan fedyddiwr Ghrist, a'i ddangos ef

mat.7.1. i'r bobl â'i fys, oni ddywedodd ef yn oleu wrthynt, wele oen Duw 'r hwn sydd yn tynnu ymmaith bechodau 'r byd? Pan oedd y wraig o Ganaan yn ymbil a Christ am iddo gynnorthwyo ei

Joan.1.29. merch hi oedd yn ddrwg ei hwyl gan gythraul, onid addefodd ef yn oleu ei fod ef gwedi ei ddanfon i gadw defaid colledig tŷ Israel, trwy roddi ei einioes trostynt.

mat.15.24.

Pechod gan hynny, oh ddyn, ie dy bechod di a wnaeth groeshoelio Christ unig fâb Duw yn y cnawd, ac a barodd iddo oddef angeu dirmygus gwradwyddus y groes. Pe buasit ti yn ymgadw yn gyfion, pe buasit ti yn cadw y gorchymmynnion, pe buasit ti heb ryfygu troseddu ewyllys Duw yn dy dâd cyntaf Addaf: yno ni buasai raid i Ghrist ac yntef yn furf Duw gymmeryd arno agwedd gwâs; ni buase raid iddo ac yntef yn anfarwol yn y nef, fyned yn farwol ar y ddayar; ac yntef yn

wir

wir fara yr enaid, ni buasei raid iddo newynu, ac yntef yn ddwfr iachus y bywyd, ni buasei raid iddo sychedu, ac yntef yn fywyd, ni buasei raid iddo oddef angau. Ond i'r cyfyngderau hyn a llawer o'r cyfryw y gyrrwyd ef gan dy bechodau di, y rhai oeddynt cymmaint ac mor aml, fel y boddlonid Duw am danynt ynddo ef, ac nid mewn neb arall.

A elli di feddwl am hyn, dydi ddyn pechadurus, a bod heb grynu ynot dy hun? A elli di wrando hyn yn esmwyth heb edifeirwch cydwybod, a thristwch calon. A ddioddefodd Christ ei ddioddefaint drosot ti, ac oni ddangosi di ddim tosturi tu ag atto ef? Pan oedd Christ ynghrôg ar y groes ac yn rhoddi yr Yspryd i fynu, mae'r Scrythyr lân yn tystiolaethu i lenn y deml hollti yn ddau, i'r ddayar grynu ac i'r cerrig hollti, i'r beddau ymagori ac i'r meirw adgyfodi. Ac *oni chynnyrfa calon dŷn ddim wrth gofio mor dost ac mor greulon y trinwyd ef gan yr Iuddewon am ein pechodau ni? A ddengys dŷn ei fod yn galon-galettach nâ'r cerrig, a bod yntho lai o dosturi nâ'r cyrph meirwon?

* chyffro.

Gallw yn dy gôf, dydi greadur pechadurus, a gosod gar bron dy lygaid Ghrist wedi ei groeshoelio, meddwl dy fod yn gweled ei gorph ef wedi ei estyn ar y groes, ei ben ef wedi ei goroni â drain pigog, ei ddwylo a'i draed wedi ei trywanu â hoelion, ei galon wedi ei hagoryd â gwaywffon, ei gnawd ef gwedi ei ddryllio a'i dorri â chwippiau, ei dalcen ef yn chwys u dwfr a gwaed. Meddwl dy fod yn ei glywed ef yn awr yn llefain mewn ing anrhaith ei oddef ar ei Dâd, ac yn dywedyd, fy Nuw, pa ham y'm gwrthodaist? A elli ti edrych

ar

ar y sath weledigaeth dosturus, neu glywed y sath lais galarus, heb * ddagrau, pan ystyriech iddo oddef hyn oll, nid am haeddedigaeth o'r eiddo ei hun, ond am dy ddirfawr bechodau di.

* Ddeigrau.

Och i ddynion roddi tragwyddol fâb Duw i'r cyfryw boenau. Och i ni fod yn achosion o'i farwolaeth ef, ac yn unig achos o'i gondemno ef. Oni allwn ni yn gyfiawn lefain, ôch i'r amser y pechasom ni.

Oh fy mrodyr bydded y ddelw ymma, o Ghrist wedi ei groeshoelio wedi ei hargraphu yn wastad yn ein calonnau ni, cyffroed ni i gasâu pechod, ac annoged ein meddyliau ni i garu'r Holl-alluog Dduw yn ddifrif. O herwydd pa ham, onid ydyw pechod, dybygwch chwi, yn beth tôst yn ei olwg ef, gan iddo ef am drosedddu o ddyn ei orchymmyn ef wrth fwyta'r afal, gondemnio'r holl fyd i angau tragwyddol, ac ni fynnai ei lonyddu * a'i ddyhuddo ond yn unig â gwaed ei fâb ei hun. Gwir am hynny, a gwir iawn yw'r hyn a ddywedodd Dafydd, fod yr Arglwydd yn casâu holl weithred-wyr anwiredd, ac na thrig y drygionus gyd ag ef.

* Heddychu.

Psal.5.4.

Mae fe yn gwaeddi yn uchel trwy enau ei brophwyd Esai yn erbyn pechaduriaid ac yn dywedyd, Gwae y rhai a dynnant anwiredd â rheffynnau oferedd, a phechod megis â rhaffau menn. Oni rôdd efe arwydd eglur faint yr oedd ef yn casâu ac yn ffiaiddio pechod pan foddodd ef yr holl fyd oddieithr wythnyn o bobl, pan ddistrywiodd ef Sodom a Gomorrha a thân a brwmston, pan laddodd ef mewn tri diwrnod a phlâ'r nodau ddengmil a thri-ugein-mil am bechod Dafydd, pan foddodd ef Pharaoh a'i holl fyddin yn y môr côch,

Esai.5.18.

Gen.7.
Gen.19.

2.Sam.24.14.

Exo.14.28.

côch, pan drôdd ef Nabuchadonosor y brenhin i ddull anifail pedwar troediog yn crippian ar ei bedwar-troed, pan oddefodd ef i Achitophel a Iuddas ymgrogi gan edifeirwch pechod, yr hwn oedd mor erchyll yn eu golwg hwy. Dan.4.33. 2.Sam.17.23. Act.1.18.

Ond pa raid hynny? Mae'r siampl ymma yn gadarnach, a hi a ddylei ein cyffroi ni yn fwy na'r llaill i gyd. Fe wnaethpwyd i Ghrist ac yntef yn fab Duw, ac yn berffaith Dduw ei hunan, yr hwn ni wnaeth bechod erioed, roddi ei gorph i'w ddryllio ac i'w dorri ar y groes am ein pechodau ni. Ond oedd hyn yn arwydd amlwg o ddigofaint ac anfodlonrwydd Duw yn erbyn pechod, na ellid * ei ddyhuddo ef mewn modd yn y byd, ond yn unig trwy anwyl a gwerthfawr waed ei garedig fab? O dydi bechod, bechod, och fod i ti erioed yrru Christ i'r cyfryw gyfyngder. Och i'r amser y daethost ti erioed i'r bŷd. Ond beth a dâl i ni yr awrhon ymofidio? Mae pechod gwedi dyfod, ac wedi dyfod felly fel na ellir ei ochelyd. Nid oes un dŷn byw, nac oes y cyfiawnaf ar y ddayar, nad ydyw yn cwympo seithwaith yn y dydd, fel y dywaid Salomon. Pro.24.16.

* Cael ei heddwch ef. Ei ddiddigio ef.

Ac er darfod i'n Iachawdwr Christ ein gwared ni oddiwrth bechod, etto ni wnaeth ef hynny fel y byddem ni ryddion oddiwrth wneuthur pechod, ond fel na chyfrifid pechod i'n damnedigaeth ni. Efe a gymmerth arno gyfiawn wobr pechod, yr hyn yw angau, a thrwy angau fe a orchfygodd angau, fel y gallem ni trwy gredu ynddo ef, fyw yn dragywydd heb farw byth. Oni ddyle hyn fagu ynom * ddygyn gasineb i bechod, pan ystyriom iddo megis wrth gryfder dynnu Duw o'r nef, i wneuthur iddo oddef erchyll boenau ac ing marwolaeth? Ro.6.23.

* Draha chasineb at.

wolaeth? Och nad ystyriem ni hyn weithiau ynghanol ein rhodres a'n gorhoffedd, fe ffrwynai hynny wyniau anllywodraethus ein cnawd ni, fe a leihae ac a lonydde ein deisyfiadau cnawdol ni, fe a attaliai chwantau ein cnawd ni, fel na byddem ni mor afreolus ac mor anllywodraethus ac ydym.

Heb.6.6. Nid yw gwneuthur pechod yn ewyllysgar ac yn rhyfygus heb ofn Duw, ddim amgen na chroeshoelio Christ o newydd, fel y dywedir i ni yn amlwg yn yr epistol at yr Hebreaid. Yr hyn pe bai gwedi ei argraphu yn ddwfn ynghalon dyn, yno ni chae bechod deyrnasu ym-mhob lle yn gymmaint ac y mae, er mawr ofid * ac artaith

* A dolur.

ar Ghrist sydd yn awr yn eistedd yn y nef.

Cofiwn ninnau a chadwn yn wastad yn ein meddyliau Grist wedi ei groeshoelio, fal wrth hynny y'n cyffroer ni oddifewn i ffieiddio pechod yn hollawl, ac â zêl a difrifwch calon i garu Duw. O blegid dymma un ffrwyth arall a ddylei goffadwriaeth am farwolaeth Christ ei weithio ynom, sef cariad difrif diragrith tu ag at Dduw. Felly

Io.3.16. y carodd Duw y byd, medd Ioan sanct, fel y rhoddodd ef ei unig anedig fab, fal na chollid pwy bynnag a gredai ynddo ond caffael bywyd tragwyddol.

Os dangosodd Duw gymmaint cariad tu ag attom ni ei greaduriad truain, pa fodd y gallwn ni gan iawn nas caron ef eilwaith? Onid oedd hyn yn wystl sicr o'i gariad ef, iddo roddi ei fab ei hun o'r nef? Fe a allasai roddi i ni angel pes mynnasai, neu ryw greadur arall, ac er hynny fe fuasai ei gariad ef yn fwy o lawer na'n haeddedigaethau ni. Yn awr fe a roddes i ni, nid angel,

ond

ond ei fab. A pha fab iddo? Ei vnig fab, ei fab naturiol, ei fab anwyl, ei fab a wnaethai ef yn arglwydd ac yn llywydd ar bob peth.

Onid ydoedd hyn yn arwydd godidog o'i fawr gariad ef? Onid i bwy y rhoddodd efe ef? Fe a'i rhoddodd ef i'r holl fyd, hynny yw, i Addaf ac i bawb a ddelai ar ei ôl ef.

O Arglwydd, pa beth a haeddasai Addaf na neb arall ar law Dduw, fel y rhoddai ef ei fab i ni? Pobl drwain ydym ni oll, pobl bechadurus, pobl golledig, wedi ein troi yn gyfion allan o baradwys, wedi ein cau yn gyfiawn allan o'r nef, a chwedy ein barnu yn gyfiawn i dân vffern.

Ac etto, gwelwch arwydd rhyfedd o gariad Duw, fe a roddodd i ni ei vnig anedig fab, i ni, meddaf, y rhai oeddym yn elynion digasog marwol iddo ef, fel y gallem ni trwy rinwedd ei waed ef a dywalltwyd ar y groes, gael ein glanhau yn llwyr oddiwrth ein pechodau, a'n gwneuthur eilwaith yn gyfiawn yn ei olwg ef. Pwy a ddichon lai nâ rhyfeddu wrth glywed ddarfod i Dduw ddangos y fath gariad an-nhraethol tu ag attom ni, y rhai oeddym yn elynion marwol iddo? Oh ddyn marwol, ti a ddylauit gan iawn ryfeddu am hynny, a chydnabod ynddo fawr ddaioni Duw a'i drugaredd tu ag at ddŷn, hon sy mor rhyfeddol ac nad oes vn cnawd er maint ei ddoethineb fydol, yn abl i'w deall nac i'w thraethu.

O blegid, fel y tystiolaetha S. Paul, Mae Duw yn gosod allan yn eglur ei gariad tu ag attom, am iddo ddanfon ei fab Christ i farw drosom, a ni etto yn bechaduriad ac yn elynion cyhoeddus iddo ef. Ro.5.6.

Pe buasem ni wedi haeddu hynny mewn

modd yn y bŷd ar ei law ef, ni buasei ddim rhyfeddod iddo wneuthur hynny, ond nid oedd haeddedigaeth yn y byd o'n rhan ni, yn haeddu iddo wneuthur hynny.

Am hynny, greadur pechadurus, pan glywech ddarfod i Dduw roddi ei fab i farw tros bechodau'r byd, na thybia iddo wneuthur hynny er mwyn na haeddedigaeth na daioni oedd ynot ti, o blegid yr oeddit ti yr amser hynny yn gaethwâs i'r cythraul: ond cwympa i lawr ar dy liniau a gwaedda gyd â'r prophwyd Dafydd, O Arglwydd, pa beth yw dŷn i ti i'w goffau, neu fâb dŷn i ti i ymweled felly ag ef? A chan ddarfod iddo dy garu di yn gymmaint, ymegnia i'w garu yntef eilwaith â'th holl galon, â'th holl enaid, ac â'th holl nerth, fel wrth hynny y gellech di ddangos nad wyt an-nheilwng o'i gariad ef.

ps.8.4.

Mi a roddaf ar dy gydwybod di dy hun, oni thybygit ti fod dy gariad wedi ei *wario yn ddrwg ar yr hwn ni alle ar ei galon dy garu dithau. Os gwir hyn (fel y mae yn wir iawn) yna meddwl mor rhwymedig wyt ti i garu Duw, yr hwn a'th garodd di yn gymmaint, ac nad arbedodd ef i unig anedig fab ei hun oddiwrth angau mor greulon ac mor gywilyddus er dy fwyn di.

* osod.

Hyd yn hyn y soniasom am achos angau a dioddefaint Christ, yr hwn o'n rhai ni oedd pechod erchyll tost, ac o'r tu arall oedd rôdd rad Duw, yn dyfod o'i fawr drugaredd a'i dyner gariad ef tu ag at ddŷn, heb na rhyglyddon na haeddedigaeth o'n rhan ni. Yr Arglwydd o'i fawr drugaredd a ganiattao i ni nad anghofiom byth fawr ddawn ein Iechydwriaeth ynghrist Iesu, ond bod i ni yn wastadol ein dangos ein hunain yn ddiolchgar am dano,

no, gan ffieiddio pob rhyw ddrygioni a phechod, a rhoi ein meddyliau yngwbl i wasanaeth Duw, ac i gadw ei orchymmynion ef yn ddieseulus.

Bellach mae'n rhaid dangos i chwi pa fodd y mae i ni fwynhau angau a dioddefaint Christ i'n diddanwch, megis meddyginiaeth i iachau ein clwyfau, fel y gallo weithio ynom y ffrwyth y rhoddwyd hi o'i blegid, hynny yw Iechyd a chad wedigaeth ein eneidiau. O blegid fel na wna llês yn y byd i ddŷn fod eli gantho, onis gesyd ef ar ei anafle a'i glwyf: felly ni ffrwytha marwolaeth Christ i ninnau, onis mwynhawn hi yn y modd yr ordeiniodd Duw. Mae'r Holl-alluog Dduw fynychaf yn gweithio trwy foddion a chyfryngau ac yn hyn o beth y mae efe gwedi gosod cyfrwng hefyd, trwy'r hwn y gallwn dderbyn ffrwyth ac elw i iechyd ein eneidiau.

A pha gyfrwng yw hwnnw? yn wir ffydd ydyw. Nid ffydd anwadal sigledig, ond ffydd ddiogel, sicr, sylfanedig, ddiragrith. Fe a ddanfonodd Duw ei fâb i'r byd, medd Ioan sanct. I ba ddefnydd? fel na choll[i]d pwy bynnag a gredo ynddo ef, ond caffael o hono fywyd tragwyddol. Mercîwch y geiriau hyn, Pwy bynnag a gretto ynddo. Io 3.15.
Dyna'r modd a'r cyfrwng trwy'r hwn y mae yn rhaid i ni fwnhau ffrwythau marwolaeth Christ, a'i gosod wrth ein clwyfau marwol. Dymma'r modd a'r cyfrwng, trwy'r hwn y mae yn rhaid i ni gyrhaeddyd bywyd tragwyddol, sef ein ffydd ni.

O blegid fel y dywaid S. Paul yn ei epistol at y Rhufeiniaid, A'r galon y credir i gyfiawnder, ac a'r genau y cyffesir i Iechydwriaeth. Ro.10.10.

Pan ofynnodd ceidwad y carchar i S. Paul pa beth a wnai i gael bod yn gadwedig, fe a attebodd Act.16.31.

fel hyn, Crêd yn yr Arglwydd Jesu, a chadwedig fyddi di a'th dylwyth. Wedi darfod i'r Efangylwyr osod allan i ni yn helaeth fywyd a marwolaeth yr Arglwydd Jesu, mae fe yn y diwedd yn cau ar y
Io.20.31. cwbl yn y geiriau hyn, Hyn a scrifennwyd fel y credem mai Jesu Ghrist yw mâb Duw, a chaffael o honom trwy ffydd fywyd tragwyddol trwy ei enw ef. Ac i gau ar y cwbl â geiriau S. Paul, y
Rom.10.4. rhai sy fal hyn, Christ yw diwedd y gyfraith er cyfiawnder i bob vn a gredo.

Wrth hyn gan hynny y gellwch ddeall yn dda, mai vnig fodd ac offeryn iechydwriaeth o'n rhā ni yw ffydd, hynny yw, diogel oglud ac ymddiried yn-nhrugareddau Duw, trwy'r hyn yr ydym ni yn ein perswadio ein hunain, ddarfod i Dduw faddeu, ac y maddeu ef ein pechodau ni, a darfod iddo ein derbyn ni eilwaith i'w ffafor, ddarfod iddo ein rhyddhau ni oddiwrth rwymau damnedigaeth, a'n derbyn ni eilwaith i rifedi ei ddewisol bobl, nid er mwyn ein rhyglyddon a'n haeddedigaethau ni, ond yn vnig er mwyn haeddedigaeth angau a dioddefaint Christ, yr hwn a wnaethpwyd yn ddŷn er ein mwyn ni, ac a ymostyngodd i oddef gwarth y groes, fel trwy hyn y gallem ni gael bod yn gadwedig, a'n gwneuthur yn etifeddion o deyrnas nef.

Y ffydd hon yr ydys yn ei gofyn ar ein dwylo ni. Ac os cadwn honny'n ddiogel yn ein calonnau, diammau y cawn iechydwriaeth gan Dduw, fel y
Gen.15.6. cafodd Abraham, Isaac ac Jacob, am y rhai y mae
Rom.4.3. 'r Scrythur yn dywedyd iddynt gredu, a chyfrif hynny iddynt yn gyfiawnder. A gyfrifwyd hynny iddynt hwy yn vnig? ac oni chyfrifir i ninnau? Gwnair, os byd gennym ni yr vn ffydd ac oedd

genthynt hwy wythau, fe a gyfrifir mor wir yn gyfiawnder i ni, ac y cyfrifwyd iddynt hwythau. O blegid yr un ffydd sydd raid iddi ein cadw ni a hwyntau, sef sicer ddiogel ffydd ynghrist Iesu, yr hwn, fel y clywsoch, a ddaeth i'r byd fel na chollid pwy bynnag a gredai ynddo ef, ond caffael o hono fywyd tragwyddol. Io.3.15.

Ond ymma mae'n rhaid i ni wachelyd cloffi gar bron Duw trwy ffydd an-niogel, anwadal, ond bod o honi yn gadarn ac yn ddiogel hyd ddywedd ein hoes. Mae'r anwadal, medd S. Iaco, Iac.1.6.
yn gyffelyb i donnau'r môr, ac na feddylied y dyn hwnnw y caiff ef ddim gan yr Arglwydd. Pan oedd Petr yn dyfod at Ghrist ar hyd y dwfr, am iddo *ballu mewn ffydd, fe fu mewn perigl boddi. Felly Iacsu.
ninnau os dechreuwn anwadalu a *phetrusso, Dowtio.
mae yn berigl rhag i ni foddi fel y gwnaeth Petr, nid i'r dwfr, ond i'r pwll heb waelod yn-nhân uffern.

Am hynny yr ydwyf yn dywedyd i chwi, y bydd rhaid i ni gymmeryd gafael yn haeddiant angau a dioddefaint Christ trwy ffydd, a hynny trwy ffydd gadarn ddiogel, heb ammau na ddarfu i Ghrist trwy ei offrymiad ei hun yn offrymmedig unwaith ar y groes, dynnu ymmaith ein pechodau ni, a'n *hedfryd ni elwaith i ffafor Duw mor gyflawn ac mor berffaith ac na bydd rhaid fyth yn y hadferu.
byd, nac aberth nac iawn arall tros bechod.

Fel hyn y clywsoch ar ychydig eiriau, y modd y bydd rhaid i ni fwynhau ffrwythau a haeddedigaethau marwolaeth Christ, fel y gallo weithio iechydwriaeth ein heneidiau ni, hynny yw ffydd sicer, ddiogel, berffaith, ddianwadal. O blegid fel yr iachawyd pawb a edrychai yn grâff ar y

sarph brês, ac y gwaredwyd hwy wrth edrych ar-
ni, oddiwrth eu clefydau cnawdol a brathau cor- (colyn frathau / conyn frathau)
phorol: felly y gwaredir pawb ac a edrycho ar
Grist wedi ei groeshoelio a ffydd wir fywiol, oddi-
wrth glwyfau tôst eu heneidau, er maint ac er
mor angheuol fyddont.

Am hynny, fy anwyl garedigion, os digwydda
i ni vn amser trwy wendid y cnawd gwympo i
bechod (fel y mae yn am-mhossibl nas cwympom
yn fynych) ac os byddwn yn clywed baich trwm
pechod yn pwyso ar ein heneidiau, yn ein po-
eni ag ofn angau, vffern a damnedigaeth, yno ar-
ferwn y modd a'r cyfrwng a appwyntiodd Duw
yn ei air, hynny yw cyfrwng ffydd yr hon yw'r v-
nig offeryn iechydwriaeth sydd wedi ei adel i ni
yn awr. Edrychwn yn ddianwadal ar Grist
wedi ei groeshoelio â llygaid ein calonnau. Ym-
ddiriedwn gael bod yn gadwedig yn vnig trwy ei
angau a'i ddioddefaint ef, a chael golchi ein pe-
chodau ymmaith yn lân trwy ei werthfawrocaf
waed ef, fel yn-niwedd y byd, pan ddelo ef eilw-
aith i farnu byw a meirw, y derbynio ef ni i'w
deyrnas nefol, ac y'n cyfleo ymmhlith ei ddewisol
a'i etholedig bobl, yno i fod yn gyfrannogion o'r
bywyd anfarwol tragwyddol, yr hwn a brynodd
efe i ni trwy rinwedd ei archollion gwaedlyd. I-
ddo ef gan hynny gyd â'r Tâd a'r Yspryd glân y
byddo holl anhrhydedd a gogoniant yn oes oeso-
edd. Amen.

¶ Pregeth

## ¶ Pregeth am adgyfodiad ein Iachawdwr Iesu Christ.

### Ar ddydd Pâsc.



OS cyffrodd erioed na mawredd na godidawgrwydd un peth, yspyrydol neu gorphorol, eich meddyliau chwi i wrando yn ddiesceulus (bobl ddaionus Ghristianogawl a'm hanwyl garedig yn ein harglwydd a'n Iachawdwr Iesu Ghrist) nid wyf yn ammeu na châf chwi yn awr yn wrandawyr parod diesceulus ar y peth sydd genif yn awr i'w ddangos i chwi. O blegid dyfod yr ydwyf i fanegi chwi y pwngc mawr diddanus hwnnw o'n ffydd a'n crefydd Ghristianogawl ni.

Mor fawr yn ddiau yw defnydd y pwngc ymma, a chymmaint ei bwys a'i bris, ac y tybiwyd bod yn wiw ac yn deilwng cadw ein Iachawdwr Christ ar y ddayar tros ddeugain nhiwrnod yn ôl ei gyfodi ef o angau i fywyd, er cadarnhau a siccrhau'r pwngc hwnnw ynghalonnau ei ddiscyblon ef. Fel (megis y tystiolaetha S. Luc yn eglur yn y bennod gyntaf o Actau'r Apostol yn) y bu efe yn Act.1.3.
aros gydâ e'i ddiscyblon tros yspaid deugain nhi- ennyd.
wrnod ar untu yn wastadol yn ôl ei adgyfodiad, o lwyr fryd yn ei berson yr hwn oedd yn awr wedi ei ogoneddu, ar ddyscu ac athrawiaethu i'r rhai a fydde raid iddynt fod yn ddyscawdwyr i eraill, yn gyflawn ac yn berffaith, wirionedd y pwngc Christianogaidd hwn, yr hwn yw gwaelod a sylfaen yr holl grefydd, cyn iddo ddyrchafu at ei Dad i'r nefoedd, yno i dderbyn gogoniant ei oruchafiaeth a'i orfodaeth orchfygus.

Yn siccr mor ddiddanus i'n cydwybodau ni y-

 Dyw'r

a'Iwedd

dyw'r pwngc hwn, ac y mae efe yn glo ac yn *agoriad holl ffydd a chrefydd Ghristianogawl. Os

1. Cor. 15. 14. &c.

Christ ni chyfodwyd, medd yr Apostol S. Paul, ofer yw'n pregeth ni, ac ofer yw'ch ffydd chwithau yr ydych yn aros etto yn eich pechodau. Oni chyfodwyd Christ, medd yr Apostol y mae y rhai sy wedi huno yngHrist yn golledig, yno truanaf o'r holl ddynion ydym ni y rhai ydym yn gobeithio yngHrist oni adferwyd ef i ddedwyddwch drachefn. Ond yn awr fe a gyfodwyd o angau eilwaith, medd yr Apostol Paul, ac a wnaethpwyd yn flaenffrwyth i'r rhai a hunasant, er mwyn eu cyfodi hwy i fywyd tragwyddol eilwaith: Je oni bai fod yn wir i Grist gyfodi eilwaith, ni biddai wir chwaith derchafu o hono ef i'r nef, nac iddo anfon i lawr o'r nef yr Yspryd glân attom ni, na'i fod ef yn eistedd ar ddeheu-law ei Dâd nefol, yn llywodraethu nef a daear, yn teyrnasu, fel y dywaid y prophwyd, o fôr hyd fôr, nac y bydd ef ar ôl y bŷd hwn yn farnwr byw a meirw, i roddi gwbr i'r daionus a barn ar y drygionus. Am hynny fel y safo holl

Dyrch dolennau lingeiau

*gadwynau ein ffydd ni yngh ŷd mewn siccr ddiogelwch a chadernid, fe a ryngodd bodd i'n Jachawdwr Christ beidio a'i dynnu ei hun yn y man allan o bresennoldeb corphorol a golwg ei ddiscyblion, ond fe a ddewisodd iddo ddeugain nhiwrnod, yn y rhai y dangosai iddynt, trwy amryw resymmau ac arwyddion diogel, ddarfod iddo orchfygu angau, a chyfodi yn wir i fywyd eilwaith.

Luc 24. 27.

Fe a ddechreuodd, medd S. Luc, ar Moses a'r holl brophwydi, ac a egorodd iddynt y pethau oeddynt scrifennedig am dano ef yn yr holl Scrythyrau, er mwyn siccrhau gwirionedd ei adgyfodiad a soniasid am dano ymmhell o'r blaen: yr hyn a wiriodd

ryodd ef yn siccr, fel y dangosir yn oleu ac ynegluр
wrth ei fynych ymddangosiad ef i amryw ddynion
ar amryw amseroedd.

Yn gyntaf fe a ddanfonodd ei angelion at y bedd, Mat.18.2.
y rhai a ddangosasant i ryw wragedd y bedd yn
wâg, ond bod y lliainiau * claddedigaeth yn aros amwisc.
yndo. A thrwy'r arwyddion hyn yr addyscwyd y
gwragedd hynny yn gyflawn, ei fod ef gwedi ad-
gyfodi, ac felly y tystiolaethasant hwy yn gyhoe-
ddus. Yn ol hyn yr ymddangosodd Christ ei hun
i Fair Magdalen, ac yn ol hynny i ryw wragedd Io.20.14.
eraill, ac yn y mã ar ôl hynny yr ymeddangosodd ef 1.Cor.15.5.
i Petr, yno i'r ddau ddiscybl oedd yn myned i Em-
maus. Fe a ymddangosodd hefyd i'r discyblon lle'r
oeddynt wedi ymgynnull ynghŷd rhag ofn yr Ju- Luc.24.36.
ddewon, a'r drysau yn gaead. Ac amser arall y
gwelwyd ef wrth fôr Tiberias gan Petr a Tho-
mas a chã ddiscyblõ eraill, a hwy yn pyscotta. Fe a Io.21.5.
welwyd gã fwy na phũcãt brodyr ar unwaith ym-
mynydd Galilæa, lle'r apposttiase'r Jesu trwy
Angel iddynt fod, pan ddywedodd ef wrthynt, we-
le fe a aiff o'ch blaen chwi i Galilæa, yno y cewch ei
weled ef fel y dywedodod ef i chwi. Yn ôl hyn yr ym-
ddangosodd ef i Jaco. Ac yn ddiwethaf oll y gwel-
wyd ef yn amlwg gan yr holl Apostolion, yr amser Act.1.9.
y cymmerwyd ef i fynu i'r nef. Fel hyn yr ymddan-
gosod'd ef yn fynych ar ol ei adgyfodiad er siccrhau
a chadarnhau y pwngc ymma. Ac yn y gweledi-
gaethau hyn, waithiau y dãgosodd iddynt ei ddwy-
lo, ei draed, ei ystlys, ac a archodd iddynt ei dei-
mlo ef fal na thybygent mai Yspryd neu ledrith
oedd efe. Weithiau fe â fwyttaod gyd â hwy, ond
bob amser fe a fonne wrthynt am drag wyddol de-
yrnas Dduw, i siccrhau iddynt wirionedd ei adgy-
fodiad.

Luc.24.27. fodiad. O blegid yno yr agorodd ef ei deall hwy fel
y deallen yr scrythyrau, ac a ddywedodd wrthynt,
felly y mae'n scrifennedig, ac felly yr oedd yn rhaid
i Grist ddioddef, a chyfodi o feirw y trydydd dydd, a
phregethu edifeirwch a maddeuant pechodau yn
ei enw ef i holl genhedlaethau'r ddayar. Chwi a
welwch (Gristianogion daionus) mor angenrheidiol yw'r pwngc ymma o'n ffydd ni, gan ddarfod ei
Grist ei hun ei brofi ef a rhesymmau ac arwyddiō
mor eglur, dros gyhyd o amser ac ennyd. Yn awr
gan hynny, fel yr oedd ein Iachawdwr Christ yn
ddiesceulus i fynegi y pwngc ymma er ein diddanwch a'n addysc ni felly bydd wn ninnau barod yn
ein credyniaeth i'w dderbyn ef er ein diddāwch a'n
haddysc ein hunain. Fel na bu efe farw drosto ei
hun, felly nid adgyfododd ef er ei fwyn ei hun. Fe a
Rom.4.25. fu farw, medd S. Paul tros ein pechodau ni, ac a
adgyfododd er ein cyfiawnhâd ni. Oh, Dyna air
cōfforddus yr hwn a ddlyeid ei gofio yn wastadol.
Fe a fu farw, medd ef, i dynu ymmaith bechod, ac
a adgyfododd er ein cynnyscaeddu ni â chyfiawnder. Ei āgau ef a dynnodd ymmaith bechod a melldith, ei farwolaeth ef oedd yr iawn tros bôb un
o'r ddau, ei angau ef a ddinistriodd angau, ac a orchfygodd y cythraul, yr hwn oedd a gallu āgau ny
ei feddiant, ei farwolaeth ef a ddinistriodd uffern
a'i holl ddānedigaeth. Fel hyn y llyngcwyd angau
trwy fuddugoliaeth Christ, fel hyn yr anrheithiwyd uffern yn dragywydd. Os bydd i neb ammau
y fuddugoliaeth hon, dangosed gogoneddus adgyfodiad Christ hi iddo. Oni allai angau ddal Christ
tan ei lywodraeth a'i allu, fel nad adgyfodai, mae
yn amlwg fod gallu angau wedi ei orchfygu. Os
gorchfygwyd angau, yno mae yn siccr ddarfod di-

strywio

ftrywio pechod, am yr hwn yr ordeiniafid angau yn gyflog. Os yw pechod ac angau wedi difammu, fe a ddifannodd hefyd greulonder y diafol, yr hwn oedd gantho allu ar angau, ac oedd awdur a dechreuad pechod, a llywodraethwr uffern. Os cafodd Christ yr oruchafiaeth arnynt hwy ei gyd trwy nerth ei angau, ac os profodd efe hynny yn eglur wrth ei orchyfygus a'i wrol adgyfodiad (fel nad oedd bossibl i'w fawr allu ef gal ei orchfygu ganthynt hwy) ac felly os gwir hyn, i Grist farw tros ein pechodau ni ac adgyfodi er ein cyfiawnhâd ni pa ham na allwn ni, y rhai ydym aelodau iddo trwy wir ffydd, orfoleddu a dywedyd yn hyf gyda'r prophwyd Oseah a'r Apostol Paul, Angau pa le y mae dy * golyn: uffern pa le y mae dy fuddugoliaeth: I Dduw, meddant, y byddo'r diolch yr hwn a roddes i ni fuddugoliaeth trwy ein harglwydd Jesu Grist. Ni arwyddoccaed yn unig y fuddugoliaeth alluog hon o'i adgyfodiad ef, trwy lawer o arwyddion yn yr hên destament, megis wrth Sampson, pan laddodd ef y llew, yr hwn y daeth melysder a mêl o'i enau; ac megis y dug Dafydd arwydd o hono, pan achubodd ef ac y lladdodd ef yr oen o enau'r llew, a phan orchfygodd ef ac y lladdodd y cawr mawr Goliah; ac megis pan lyngcodd y pyscodyn Jonas, a'i daflu ef eilwaith i dir yn fyw: ond fe a brophwydwyd hefyd am dano yn dra eglur gan brophwydi yr hên Destament, ac a'i cadarnhawyd hefyd gan yr Apostolion yn y Testament newydd. Fe a yspeiliodd, medd S. Paul, dywysogaethau a nerthoedd, ac a'u herddangosodd hwynt yn gyhoeddus gan orfoleddu arnynt ynddo ei hun.

Oseah 13:14. 1.Cor.15.55. * gonyn. Barn.14.8. 1.Sam.17.33. Col.2.15.

Dymma alluog allu yr Arglwydd yr hwn yr ydym ni yn credu ynddo. Trwy ei angau y gweithiodd efe i ni yr oruchafiaeth hon, a thrwy ei adgyfodiad

gyfodiad y prynodd efe i ni fywyd tragwyddol a chyfiawnder.

Ni buasai ddigon i ni gael ein gwared trwy ei angau ef oddiwrth bechod, oni buasei wrth ei adgyfodiad ef ein cynnyscaeddu â chyfiawnder. Ac ni buasem ni nês er ein gwared oddiwrth angau, oni buasai iddo gyfodi eilwaith i agor i ni byrth nêf i fyned i mewn i fywyd tragwyddol. Ac am hynny y mae S. Petr yn diolch i Dduw Tâd ein hargiwydd Iesu Grist am iddo o'i fawr drugaredd yn hadennill ni i obaith bywiol, trwy ail-gyfodiad Iesu Ghrist oddiwrth y meirw, i gael etifeddiaeth ddiddiwedd a dilwgr a diddiflannedig yr hon a roddwyd i gadw yn y nef i ni, y rhai trwy allu Duw ydym gadwedig trwy ffydd, i gael diogelwch a ddarparwyd i'w arddangos yn yr amser diwethaf.

1. Pet. 1. 3.

Fel hyn y gweithiodd ei ail-gyfodiad ef fywyd a chyfiawnder i ni. Fe a aeth trwy angau ac uffern, er ein rhoi ni mewn gobaith y gallwn ninnau trwy ei nerth ef wneuthur yr un peth. Fe a dalodd iawn dros bechod, fel na chyfrifid pechod i ni. Fe a ddinistriodd y cythraul a'i holl greulonder, ac a fuddugoliaethodd yn ei erbyn ef yn gyhoeddus, ac a ddygodd oddiarno ei holl gaethion, ac a'u derchafodd hwy ac a'u gosododd gyd ag ef ei hun ymmhlith dinefyddion nef oddiuchod. Fe a fu farw i ddistrywio llywodraeth y cythraul ynom ni, ac a gyfododd eilwaith i ddanfon i lawr ei Yspryd glân i lywodraethu yn ein calonnau ni, i'n cynnyscaeddu ni â pherffaith gyfiawnder. Fel hyn y mae'n wir yr hyn a ganodd Dafydd, Veritas de terra orta est, & iustitia de coelo prospexit: Gwirionedd a darddod o'r ddayar, a chyfiawnder a edrychodd

edrychodd o'r nefoedd, fe a gyhoeddwyd gwirio-
nedd addewidion Duw i ddynion ar y ddayar, neu o'r ddayar y cyfododd y gwirionedd tragwyddol, mâb Duw, i fywyd: a gwir gyfiawnder yr Yspryd glân a edrychodd i lawr o'r nefoedd, ac a rannwyd yn ddawn haelionus ar yr holl fyd. Fel hyn yr aeth gogoniant a moliant yn ei hôl i fynu at Dduw, am ei drugaredd a'i wirionedd. Ac fel hyn y daeth heddwch i lawr o'r nefoedd at ddynion a chalonnau daionus ffyddlon ganthynt. Fel hyn, fel yr scrifenna Dafydd, yr ymgyfarfu trugaredd a gwirionedd, ac yr ymgusanodd cyfiawnder a heddwch. Luc.2 4. Psal.58.10.

Os wyt yn amnau fod cymmaint o wynfyd a dedwyddwch wedi ei weithio i ti, ô ddŷn, galw i'th gôf mai er mwyn hyn y derbyniaist di i'th feddiant dragwyddol wirionedd ein Iachawdwr Iesu Grist, fel y siccrheid gwirionedd y peth hyn yn dy gydwybod di. Ti a'i derbyniaist ef, os derbyniaist ef mewn gwir ffydd ac edifeirwch calon: os ar fedr gwellau, ti a'i derbyniaist ef yn wystl tragwyddol o'th iechydwriaeth. Ti a dderbyniaist ei gorph ef, yr hwn a ddrylliwyd unwaith, a'i waed ef, yr hwn a dywalltwyd er maddeuant o'th bechodau di. Ti a dderbyniaist ei gorph ef fel y bydde i ti gael ynot y Tâd, y Mâb a'r Yspryd glân i drigo gydâ thi, i'th gynnyscaeddu di â grâs, i'th gadarnhau di yn erbyn dy elynion, ac i'th ddiddanu di â'u presennoldeb. Ti a dderbyniaist ei gorph ef i'th siccrhau di o ddedwyddwch tragwyddol, a bywyd dy enaid.

O blegid, fel y dywaid S. Paul, gydâ Christ trwy ffydd y'th adfywhawyd di o angau i fywyd, o fywyd i râs, ac y'th *drosglwyddwyd mewn go- Eph.2.1.

*Symmudwyd.

baith o angau corphorol a thragwyddol, i fywyd tragwyddol gogoniant yn y nêf, lle y dylai dy ymddifygiad di a'th galon a'th ddymuniad fod wedi eu gosod. Nac amheuwch wirionedd y peth hyn, er maint ac er uched y pethau hyn. Nid yw weddus i Dduw wneuthur ond gweithredoedd mawrion, er mor ammhossibl fyddont yn dy olwg di. Gweddia ar Dduw ar gael o honot ffydd i ddeall y mawr ddirgelwch hwn o adgyfodiad Christ: fel trwy ffydd y gellych gredu yn ddiogel nad oes dim yn am-mhossibl gyd â Duw. Dwg di ffydd yn unig at sanctaidd air a Sacramentau Christ.

Luc.18.27. Bid i'th edifeirwch di ddangos dy ffydd: bid i'th lwyr fryd ti ar wellau ac i ufydd-od dy galon di i gyfraith Dduw ddangos yn ôl hyn dy gredyniaeth di. Ymegnia ar allu o honot ddywedyd gyd â S. Paul, Ein gwladwriaeth ni sydd yn y nefoedd, o'r lle'r ydym yn edrych am yr Iachawdwr, sef yr Arglwydd Iesu Grist, yr hwn a gyfnewidia ein corph gwael ni, fel y gwneler yn un ffurf a'i gorph gogoneddus ef, o herwydd y grym trwy'r hwn y dichon ef ddarestwng pob dim iddo ei hun.

Phil.3.20.

Fel hyn, bobl Ghristianogawl ddaionus, yn gymmaint a darfod i chwi glywed y mawr a'r godidog ddoniau sydd yn dyfod oddiwrth alluog a gogoneddus adgyfodiad Christ, megis pa fodd y talodd efe iawn tros bechod, y gorchfygodd ef y cythraul, angau ac uffern, ac y cafodd yn fuddugol y llaw uchaf arnynt i gyd, i'n gwneuthur ni yn rhyddion ac yn ddiogel oddiwrthynt: gan wybod ein bod ni trwy ddawn ei adgyfodiad ef, gwedi cyfodi gyd ag ef trwy ffydd, i fywyd tragwyddol, gan fod mewn cyflawn ddiogelwch o'n gobaith, y cyfodir ein cyrph ni hefyd o angau, i'w

gogoneddu

gogoneddu mewn anfarwolaeth au cyssylltu a'i gorph gogoneddus ef, a chennym yn y cyfamser ei Yspryd sanctaidd ef yn ei ein calonnau, megis sel a gwystl o'n etifeddiaeth dragwyddol, trwy gynnorthwy yr hwn Yspryd y'n cyfiawnir ni â phob cyfiawnder, trwy allu yr hwn y byddwn abl i orchfygu ein holl wyniau drygionus, y rhai sy yn cyfodi yngwrthwyneb i ewyllys Duw. Wedi darfod, meddaf, i ni ystyried y pethau hyn yn dda, dangoswn bellach yn y rhan arall o'n bywyd, ein ffydd sydd gennim yn y pwngc ffrwythlon hwn, gan ein cydffurfio ein hunain ag ef, wrth gyfodi beunydd oddiwrth bechod i gyfiawnder a sancteiddrwydd buchedd.

O blegid pa lês sydd i ni, medd S. Petr, os gwedi diangc oddiwrth halogedigrwydd y byd trwy adnabyddiaeth yr Arglwydd a'r Achubwr Jesu Ghrist, y cessir ni eilwaith gwedi ymrwystro â'r un pethau, ac wedi ein gorchfygu ganthynt? Gwell fuasei i ni, medd ef, na wybuassem ffordd y cyfiawnder, nâ chwedi ei gwybod, cilio oddiwrth y gorchymmyn sanctaidd a roddwyd i ni. Felly y digwydd i ni yr hyn a ddywaid y wir ddiarheb, Y ci a ymchwelodd at ei chwydiad ei hun, a'r hwch wedi ei golchi i'w ymdreiglfa yn y dom. 2. Pet. 2. 20.

Pa gywilydd sydde i ni gwedi ein golchi mor lân ac mor rhad oddiwrth ein pechod, droi at ei frynti ef eilwaith? Pa ffolineb sydde i ni gwedi ein cynnyscaeddu felly unwaith â chyfiawnder, ei cholli hi eilwaith? Pa ynfydrwydd sydde i ni golli yr etifeddiaeth yr ydym ni wedi ein gosod ynddi yr awron, er gwael a darfodedig holiaer pechod? Pa annhirionder sydde, a'n Jachawdwr Christ wedi dyfod attom i letteu ac i drigo ynom,

i ni i yrru ef ymmaith oddiwrthym, a'i ddeol a'i ymlid ef allan o'n heneidiau, ac yn lle 'r hwn y mae ynddo bob grâs a rhinwedd, cymmeryd Yspryd anrasol diafol, dechreuad pob drygioni ac aflwydd? Pa fodd y gallwn ni ar ein calonnau ddangos y cyfryw ddygyn angharedigrwydd i Grist, yr hwn a'n galwodd ni yr awrhon mor fwyn i'w drugaredd, a'i cynnygiodd ei hunan i ni, ac a ddaeth yn awr i mewn i ni? Ie pa fodd y beiddiwn ni fod mor hŷf a gwrthod presennoldeb y Tad, y Mâb a'r Yspryd glân? (O blegid lle mae'r un o honynt, yno y mae Duw oll yn gwbl yn ei fawrhydi, ynghŷd â'i ddoethineb a'i ddaioni) a bod heb ofni, meddaf, enbeidrwydd a pherigl y cyfryw ymwrthodiad ac ymadawiad bradwraidd? Chwi frodyr a chwiorydd Christianogawl ddaionus, edrychwch arnoch eich hunain, ystyriwch y braint yr ydych ynddo, na edwch i ffolineb golli yr hyn y mae grâs wedi ei brynu mor brid, a chwedi ei gynnig, na oddefwch i ynfydrwydd a dallineb ddiffodd y fath oleuni mawr ac a ddangoswyd i chwi.

Eph.6.13. Yn unig cymmerwch galon a chyssur, gwiscwch am danoch holl arfogaeth Duw fel y galloch sefyll yn erbyn eich gelynion, y rhai a fynnent eich darostwng chwi a'ch dwyn tan eu caethiwed. Cofiwch ddarfod eich prynu chwi oddiwrth eu gwâg ymarweddiad hwy, ac na phrynwyd eich rhydd-did chwi nac ag aur, nac ag arian ond a

1.Pet.1.18. phridwerth gwerthfawr waed yr oen difrycheulyd Iesu Grist, yr hwn a ddarparwyd yn y blaen cyn gosod sylfaenau'r bŷd, eithr a ddangoswyd yn yr amser diweddaf er eich mwyn chwi, y rhai ydych trwyddo ef yn credu i Dduw, yr hwn a'i cyfodes

fodes ef oddiwrth y meirw, ac a roddes iddo ef o-
goniant fel y byddei eich ffydd chwi a'ch gobaith
ar Dduw.

Am hynny fel y canlynasoch hyd yn hyn ofer
wyniau eich n eddyliau, ac felly anfodloni Duw
i fawr enbeidrwydd eich eneidiau: felly bellach
megis plant ufydd, wedi eich puro trwy ffydd,
ymrowch i rodio ar y ffordd y mae Duw yn ewyll-
ysio, fel y galloch dderbyn diwedd eich ffydd,
hynny yw, iechydwriaeth eich eneidiau. Ac fel Rom. 6.13.19
y rhoddasoch eich cyrph yn arfau anghyfiawn-
der i bechod, felly ymrowch bellach yn weision
i gyfiawnder fel y'ch sancteiddier ynddo.

Os ydych yn ymhoffi yn y pwngc hwn o'n
ffydd ni, fod Christ gwedi adgyfodi o angau i fy-
wyd, canlynwch siampl ei adgyfodiad ef, fel y
mae S. Paul yn cynghori gan ddywedyd, Os
claddwyd ni gyd â Christ trwy fedydd i farwo- Rom. 6.4.
laeth, byddwn feirw beunydd i bechod, gan farw-
hau a lladd ei wyniau a'i drachwantau dry-
gionus ef. Ac fel y cyfodwyd Christ o angau trwy
ogoniant ei Dâd, felly cyfodwn ninnau i newydd-
deb buchedd, a rhodiwn ynddo yn wastadol, fel
y gallom ninnau megis plant naturiol, fyw yn
y cyfryw ymarweddiad ac a baro i ddynion wrth
weled ein gweithredoedd da ni, ogoneddu ein tâd
yr hwn sydd yn y nefoedd. Mat. 5.16.

Os cyfodwyd ni gan hynny gyd â Christ trwy
ffydd i obaith y bywyd tragwyddol, cyfodwn he-
fyd gyd â Christ yn ôl ei siampl ef, i fywyd newydd,
ac ymadawn â'n hên fywyd. Yno y byddwn
wedi cyfodi yn gywir, os ceisiwn bethau nefol, os
bydd ein ewyllys ar y pethau sydd odduchod, ac
nid ar y pethau sydd ar ddayar.

Os ewyllysiwch wybod pa beth yw 'r pethau daiarol a ddylech ei rhoi heibio, a pha beth yw 'r pethau nefol oddiuchod a ddylech ymgais a hwynt a'u canlyn: mae S. Paul yn dangos hynny yn ei epistol at y Colossiaid, lle y mae efe yn ein cynghori ni fel hyn, Marwhewch eich aelodau y rhai sydd ar y ddaiar, godineb, aflendid, gwŷn, drygchwant, cybydd-dod, yr hon sydd gauddûwiaeth, o achos yr hyn bethau y mae digofaint Duw yn dyfod ar blant yr anufydd-dod, ymmha rai y rhodiasoch chwi gynt pan oeddych yn byw ynddynt: ond yn awr rhoddwch chwi ymmaith y cwbl, digter, llid, drygioni, difenwi a serthedd allan o'ch genauau: na ddywedwch gelwydd wrth ei gilydd, gan i chwi ymddiosc o'r hên ddŷn ynghyd â'i ymarferiō, ac ymwisco â'r newydd yr hwn a adnewyddir i wybodaeth yn ôl delw'r hwn a'i creodd.

Col.3.5.

Dymma 'r pethau daiarol y rhai y mae S. Paul yn cynghori i chwi eu bwrw oddiwrthych, a thynnu eich calonnau oddiwrthynt: o blegid wrth ganlyn y rhai hyn yr ydych yn dangos eich bod yn ddaiarol ac yn fydol. Frwythau 'r hên Addaf daiarol ydyw y rhai hyn. Y rhai hyn a ddylech chwi beunydd eu lladd, wrth ymosod yn erbyn eu deisyfiadau hwy, fel y galloch gyfodi i gyfiawnder.

Rhoddwch eich meddylfryd o hyn allan ar bethau nefol, ymbiliwch a chwiliwch am drugaredd, tirionder, llarieidd-dra, ymmynedd, gan ddwyn gyd â'i gilydd, a maddau i'w gilydd, os bydd gan un gweryl yn erbyn neb, megis y maddeuodd Christ i chwi, felly gwnewch chwithau. Os dilynwch y rhinweddau hyn a'r cyfryw yn yr hyn sydd yn ôl o'ch bywyd, yno y dangoswch

yn oleu eich bod chwi gwedi cyfodi gyd â Christ, eich bod yn blant nefol i'ch tâd o'r nêf, oddiwrth yr hwn megis oddiwrth y rhoddwr y mae y rhadau a'r doniau hyn yn dyfod. Fel hyn y gellwch brofi fod eich ymddygiad chwi yn y nêf, lle mae eich gobaith: ac nid ar y ddayar, wrth ganlyn chwantau amfeilliaidd eich cnawd. Iac.2.14. Phil.3.20.

Rhaid i chwi am hynny ysgyried eich bod wedi eich glanhau a'ch adnewyddu, fel y dyddé i chwi o hyn allan wasanaethu Duw mewn sancteidd-rwydd a chyfiawnder holl ddyddiau eich bywyd, Os gwrthodwch râs cymmaint yr hwn y'ch galwyd iddo, pa beth yr ydych yn ei wneuthur, ond pentyrru i chwi eich hunain ddamnedigaeth fwyfwy, ac felly annog Duw i ddigio wrthych, ac i ddial arnoch y cyfryw watwar ar ei sanctaidd Sacramentau ac yr ydych yn ei wneuthur wrth eu camarfer hwy yn gymmaint?

Ymrowch, anwyl garedigion, i fyw ynghrist, fel y bytho Christ byw ynoch chwithau yn wastadol, yr hwn os bydd gennych ei ffafor a'i gynnorthwy, yno y mae gennych eisoes fywyd tragwyddol ynoch, ac ni all dim eniweid i chwi. Pa beth bynnag a wnaethoch hyd yn hyn, chwi a welwch fod Christ wedi cynnig i chwi bardwn am dano, a'ch derbyn chwi yn hollawl i'w ffafor eilwaith, Io.14.20. ac er cwbl siccrhau hynny i chwi, mae gennych Grist yr awr hon yn trigo ac yn cyfanneddu ynoch. Yn unig ymddangoswch yn ddiolchgar yn eich bucheddau, bwriedwch ochelyd ac ymorthod â phob peth yn eich ymarweddiad ac a allo ddigio golygon trugaredd Duw. Ymegniwch i gyfodi eilwaith yr un ffordd ac y cwympasoch i bydew ac i bwll pechod. Col.3.17.

Ig â'ch tafod y pechasoch, cyfodwch yndo eilwaith, a gogoneddwch Dduw ag ef, arferwch ef i glodfori ac i folianu enw Duw, fel y dianrhydeddasoch Dduw ag ef. Ac fel y drygasoch enw eich cymmydog, neu y niweidiasoch ef mewn un modd arall, felly rhoddwch eich bryd ar ei adferu ef eilwaith iddo. O blegid heb wneuthur iawn, ni dderbyn Duw na'ch cyffes chwi na'ch edifeirwch. Nid digon i chwi ymwrthod â'r drygioni, oni bydd i chwi hefyd ymroli ac ymegnio i wneuthur daioni. Trwy ba achos bynnag y troseddasoch, trowch yn awr yr achos hwnnw i anrhydeddu Duw, ac i wneuthur llês i'ch cymmydog.

Gwir yw, fod pechod yn grŷf a'n gwyniau ni yn afreolus. Anhawdd yw darostwng a gwrthladd ein naturiaeth, yr hon sydd gwedi ei llygru a'i lefeinio â sur chwerwder y gwenwyn a dderbynasom ni wrth etifeddiaeth a threftadaeth oddiwrth ein hên dâd Addaf. Ond etto cymmerwch gyssur, medd ein Iachawdwr Christ, mysi a orchfygais y bŷd, a'ch holl elynion eraill chwi drosoch chwi. Nid arglwyddiaetha pechod arnoch chwi,
Ro.6.14. medd yr Apostol S. Paul, oblegid nad ydych tan y gyfraith ond tan râs.

Er bod eich gallu chwi yn wan, etto fe a gyfodwyd Christ i'ch cadarnhau chwi yn eich rhyfeloedd, ei Yspryd glân ef a gynnorthwya eich gwendid chwi. Mewn ymddiried yn ei drugaredd ef, cymmerwch arnoch garthu ymmaith hên *lefain pechod, yr hwn sydd yn llygru ac yn
* Surdoes. suro melysder a chroywder eich bywyd chwi ger bron Duw, fel y byddoch megis toes newydd peraidd croyw, heb ddim surdoes lefeinllyd anwiredd

wiredd, felly y dangoswch eich bod yn fara melys croyw pur i Dduw, fel y byddo ef bodlon i chwi.

Lleddwch, meddaf, ac aberthwch wyniau bydol dayarol eich cyrph: O blegid fe a offrymmwyd Christ ein oen pâsc ni trosom ni, i ladd gallu pechod, i'n gwared ni oddiwrth berigl pechod, ac i roddi i ni siampl i farw i bechod yn ein bywyd. Fal y bwyttaodd yr Iuddewon eu hoen Pasc ac y cadwasant eu gŵyl er coffadwriaeth o'u gwarediad allan o'r Aipht: felly cadwn ninnau ein gŵyl Bâsc mewn diolchgar goffadwriaeth o ddoniau Christ, y rhai a weithiodd ef yn aml i ni yn ei ailgyfodiad a'i fynediad at ei Dâd, trwy'r hyn y gwaredwyd ni o garchar a chaethiwed ein holl elynion.

Felly awn ninnau heibio i wyniau ein hên ymarweddiad, fal y'n gwareder allan o'u caethiwed hwy, ac y'n cyfoder gydâ Christ. Yr Iuddewon a gadwent eu gŵyl wrth ymgadw rhag bara lefeinllyd tros saith niwrnod. Cadwn ninnau Gristianogion ein gŵyl mewn modd ysprydol, hynny yw, wrth ymgadw ac ymattal nid rhag bara lefeinllyd corphorol, ond rhag hên surdoes pechod, surdoes cenfigen ac anwiredd. Exo.12.5.

Bwriwn ymmaith oddiwrthym surdoes athrawiaeth lygredig, yr hwn a haloga ein heneidiau ni. Cadwn ein gŵyl tros holl yspaid ein bywyd, gan fwytta bara purdeb buchedd dduwiol, gwirionedd athrawiaeth Christ. Fel hyn y dangoswn ni fod doniau a rhadau Christ yn ffrwythlon ynom, a bod gennym iawn gredyniaeth a gwybodaeth am ei sanctaidd adgyfodiad ef: ac os gosodwn ein ffydd yn gywir ar rinwe-

ddau ei ailgyfodiad ef yn ein bywyd, a'n cydffurfio ein hunain at y siampl a'r arwyddoccâd a ddeellir wrth hynny, ni a fyddwn siccr o gyfodi a'r ôl hyn i ogoniant tragwyddol, trwy ddaioni a thrugaredd ein harglwydd Jesu Grist, i'r hwn gyd â'r Tâd a'r Yspryd glân y byddo'r holl ogoniant, diolch a moliant yn oes oesoedd, Amen.

## ¶ Pregeth ynghylch teilwng dderbyniad, a pharch Sacrament corph a gwaed Christ.



Mae mawr gariad ein Jachawdwr Christ iu ag at ddynion (bobl ddaionus) nid yn unig yn ymddangos yn rhodd a dawn brid ein prynedigaeth a'n iechydwriaeth ni trwy ei angau a'i ddioddefaint ef, ond hefyd am iddo yn garedigol ddarparu fod y weithred trugarog honno mewn gwastadol goffadwriaeth, fel y gallai gael lle ynom, ac na ddifuddid hi o'i defnydd a'i ffrwyth. Oblegid megis nad yw tadau caredig yn fodlon ganthynt ddarparu i'w plant feddiannau gwerthfawr ac etifeddiaeth dêg, ond maent hwy hefyd yn darbod ac yn gofalu ar gadw yr unrhyw iddynt, a'u dyfod i'w meddiant a'u mwyniant hwy hefyd: felly nid digon oedd gan ein Harglwydd a'n Jachawdwr ni brynu ffafor ei Dâd i ni eilwaith (yr hon yw ffynnon pob daioni a bywyd tragwyddol) ond hefyd o'i fawr ddoethineb fe a osododd ffyrdd a moddion iddi i fod yn fuddiol ac yn elw i ni.

Ymmhlith y ffyrdd a'r moddion hynny y mae

cyhoedd weinidogaeth coffa ei farwolaeth ef ar
fwrdd yr Arglwydd: yr hyn er ei fod yngolwg
rhai, o rinwedd fechan, etto pan iawn arferer ef
gan y ffyddloniaid, y mae nid yn unig yn helpu eu
gwendid hwy (y rhai wrth eu naturiaeth wen-
wynig sy barottach i gofio camweddau na chym-
mwynasau) ond y mae hefyd yn cadarnhau ac
yn diddanu y dŷn oddifewn ynddynt hwy â he- Exo.12.
ddwch ac a llawenydd, ac yn eu gwneuthur hwy
yn ddiolchgar i'w gwaredwr, trwy ofal diwyd
ac ymarweddiad duwiol.

Ac megis yr ordeiniodd Duw yn yr hên amser
fod cadw coffadwriaeth am ei ryfeddol ddoniau
ef yn gwared ei bobl, wrth fwytta 'r oen pâsc, a'i
ddeddfau a'i ceremoniau: felly yr ordeiniodd ac y
siccrhaodd ein anwyl Iachawdwr ni goffadwria-
eth o'i fawr drugaredd a ddangosodd ef yn ei ddio-
ddefaint wrth ordeinio ei swpper nefol, lle mae yn
rhaid i bob un o honom ni fod yn wahoddedigion,
nid i lygadrythu ac i hylldremio ond i fwytta, ac i Mat.26.26.
ymborth ein hunain, nid i gyflogi eraill i ymborth 1.Cor.11.24.
drosom, fel y byddom byw wrth ein bwyd ac nid
meirw gan newyn yr hyd y bo eraill yn * ysu 'r * Derbyn.
cwbl.

Luc.22.19.
I hyn y mae ei orchymmyn ef yn ein hannog 1.Cor.11.24.
ni, gan ddywedyd, Gwnewch hyn, yfwch o hwn Mat.26.28.
oll. I wneuthur hyn y mae ei addewid ef yn ein
llithio ni, Hwn yw fy nghorph yr hwn a roddwyd
trosoch, Hwn yw fy-ngwaed yr hwn a dywall-
twyd trosoch.

Am hynny mae'n rhaid i ni ein hunain fod yn
gyfrannogion o'r bwrdd hwn, ac nid * llygadry- * Hylldrem-mu.
thu ar eraill: am hynny mae yn rhaid i ni ymba-
ratoi wrth y bwrdd hwn mewn modd dyledus

parchedig, rhag, megis y mae physygwriaeth a
ddarparer i'r corph, yn gwneuthur mwy o eniwed
nag o lês, os camarferir hi, felly, i'r physygwriaeth
hon sy ddiddanus i'r enaid, os derbynir hi yn am-
mharchedig, droi yn fwy o eniwed ac o dristwch i
1.Cor.11.29. ni. Ac y mae S. Paul yn dywedyd fod yr hwn a
fwyttao ac a yfo yn an-nheilwng yn bwytta ac yn
yfed i ddamnedigaeth ei hun.

Am hynny rhag ofn dywedyd wrthym ni fel y
dywetpwyd wrth yr hwn a wahoddasid i'r wledd
Mat.22.12. fawr, y cyfaill pa fodd y daethost di ymma heb wisc
priodas am danat? Ac er mwyn gallu o honom ar-
fer cynghor S. Paul yn ffrwythlon, Profed dŷn
ei hun ac felly bwyttaed o'r bara hwnnw ac yfed
o'r cwppan hwnnw, Mae yn rhaid i ni ystyried
fod tri pheth yn anghenrheidiol yn yr hwn a ddelo
yn weddaidd i fwrdd yr Arglwydd, fel y dylaid dy-
fod i'r cyfryw ddirgeledigaethau sanctaidd, hynny
yw.

Mat.26.26. Yn gyntaf, bod iddo roi dledus fri ar y dirgele-
1.Cor.11.23. digaeth hyn, a'i ddeall fal y dylei.

Yn ail, bod iddo ddyfod mewn ffydd ddiogel. Ac
* Derbyn. yn drydydd, bod gantho newydd-deb a phurdeb
Luc.22.19. buchedd ar ol derbyn y dirgeledigaethau hyn.

1.Cor.11.24. Ond o flaen pob dim rhaid i ni fod yn siccr o hyn
Mat.26.26. yn enwedig, sef bod gwasanaethu a ministrio y
swpper hon y modd y gwnaeth ein harglwydd a'n
Iachawdwr, ac yn y modd y gorchymmynnodd
ef, ac yr arferodd ei Apostolion ef a'r tadau duwiol
yn y brif-eglwys gynt. O blegid (fel y dywaid
y gwr gwiw gan Sanct Ambros) y mae ef yn
* Hylldem-ain. annheilwng o'r Arglwydd, yr hwn a ministro y der-
geledigaeth hwn mewn modd amgen nac yr or-
deiniwyd ef gan yr Arglwydd. Ac ni all ef fod yn

grefyddgar yr hwn a ryfygo ei gymmeryd mewn modd amgen nag y mae'r awdur yn ei roddi ef.

Am hynny rhaid i ni wachelyd rhag i ni yn lle coffadwriaeth i wneuthur ef yn aberth, rhag yn lle cymmun i ni ei wneuthur ef yn fwyd cartrefol, rhag na bo gennym yn lle dwy ran, onid un, rhag wrth ei wneuthur tros y meirw i ni y rhai sy fyw golli ei ffrwyth ef.

Canlynwn yn hytrach yn y pethau hyn gyngor Cyprian ynghylch y cyfryw bethau, hyny yw, glynu yn ddiogel wrth y dechreuad cyntaf, cadw yn ddiogel draddodiad yr Arglwydd, gwneuthur er coffadwriaeth am yr Arglwydd yr hyn a wnaeth yr Arglwydd ei hun, yr hyn a orchymmynnodd ef ei hun ac a siccrhaodd ei Apostolion ef. Os arferwn y gofal a'r rhagddarbodaeth hyn, yno y gallwn weled y pethau sydd angenrheidiol yn y derbyniwr teilwng, o'r hyn bethau, hwn yw'r cyntaf, sef bod i ni iawn ddeall y peth ei hun.

Ynghylch y peth hynny ni a allwn ein perswadio ein hunain yn siccr, na all y gŵr diwybod na dyledus berchi nac iawn arfer y rhadau chyfeddol a'r doniau yr ydys yn eu cynnyg ac yn eu rhoddi yn y swpper hwnnw: onid naill ai ni wna efe ond bri a chyfrif bychan arnynt, er mawr rwystr Christianogion, ai yntau fe a'u diystyra hwy yn hollawl, i'w llwyr golledigaeth ei hun.

Ac felly wrth ei esceulusdra y mae efe yn haeddu i blaau Duw gwympo arno ac wrth ei ddirmyg a'i ddiystyrwch yn haeddu colledigath dragwyddol.

Am hynny i wachelyd y drygau a'r niweidion Pro.23.1.
hyn, canlyn gyngor y gŵr doeth, yr hwn sydd yn cynghori i ti pan eisteddech i fwytta gyda thywysog.

sog dayarol, ystyried yn ddyfal beth sydd ger dy fron. Felly yn awr yn fwy o lawer y mae yn rhaid i ti chwilio ac ystyried yn ofalus pa ddainteithion ac ammheuthynfwyd sydd gwedi eu harlwyo i'th enaid di ar fwrdd brenhin y brenhinoedd lle yr wyt ti wedi dyfod nid i ddigoni dy fola a'th synhwyrau i lygredigaeth, ond dy ddŷn oddifewn i anfarwoldeb a bywyd, nac i ystyried y creaduriaid dayarol yr wyt ti yn eu gweled, ond y rhadau nefol y rhai y mae dy ffŷdd di yn edrych arnynt ac yn eu canfod. O blegid nid yw'r ford hon (medd Chrysostom) i gawciod siaradus i ddyfod iddi, ond i'r eryrod y rhai a hedant i'r lle mae'r corph marw yn gorwedd.

Ac oni ddichon y cyngor hwn eiddo dŷn ein perswadio ni i ddyfod i fwrdd yr Arglwydd yn ddeallus, gwelwch gyngor yr Arglwydd yn y fâth beth, yr hwn a orchymmynnodd i bawb ddyscu eu plant a'u heppil nid yn unig yn-neddfau a ceremoniau'r Pâsc, ond yn yr achos hefyd a'r defnydd yr ordeiniwyd ef o'i blegid: lle y gallwn ddyscu fod yn gofyn ar ein dwylo ni yr amser ymma wybodaeth berffaithiach, ac na all y diwybod yn ffrwythlon ac yn fuddiol ymarfer yn sacramentau'r Arglwydd.

Ond i ddyfod yn nes at y matter, mae S. Paul wrth feio ar y Corinthiaid am halogi swpper yr Arglwydd, yn dangos mai anwybod am y peth ei hun, ac am ei arwyddoccad, oedd achos eu bod hwy yn ei chamarfer: o blegid yr oeddynt yn dyfod yno yn amharchus heb ystyried corph yr Arglwydd. Oni ddylem ni am hynny, wrth gyngor y gŵr doeth, wrth ddoethineb Duw ac wrth siampl ofnadwy y Corinthiaid, ystyried a gwachelyd na

bo

bo i ni ymwrthio i'r bwrdd hwn mewn anwybodaeth ammharchedig ddiddysc, am gospdigaeth yr hyn beth y gosidiodd ac y griddfaodd eglwys Grist er ys llawer o ddyddiau a blynyddoedd? O blegid pa beth a fu achos cwymp ffydd a chrefydd Grist, ond eisiau gwybod y peth hyn? Pa beth a fu achos y tywyll gauddu wiaeth yn hwyr o ddyddiau, ond eisiau gwybodaeth yn y peth hyn? Pa beth a fu achos yr offerennau aflafar anneallus, ond eisiau gwybodaeth yn y peth hyn? Pa beth fu a pha beth yw'r achos o fod cyn fychaned cariad a charedigrwydd ymmysc dynion, ond eisiau gwybodaeth yn y peth hyn? Llafuriwn ninnau felly i ddeall swpper yr Arglwydd, fel na bo i ni roi achos yn y byd i leihau gwasanaeth Duw, nac achos o gauddu wiaeth, o offerennau mudion, o gasineb a chenfigen, felly y gallwn ddyfod yno yn hyfach i'n diddanwch.

Etto nid rhaid i ni dybied fod y cyfryw gyfarwydd wybodaeth yn anghenrhaid i bob dŷn, fel y byddo ef abl i ddatcan ac i draethu holl brif byngciau dysnddysc yr athrawiaeth hon: ond hyn sydd raid i ni ei wybod yn siccr, nad oes vn ceremoni ofer wag, nac vn arwydd noeth diddeall, nac vn argoel neu ffigur anwir yndddo o beth nid yw bresennol: ond, fel y dywaid yr Scrythur, bord yr Arglwydd, coffadwriaeth am Grist, dangosiad ei farwolaeth ef, cymmun corph a gwaed yr Arglwydd mewn ymgorpholaeth ryfedd, yr hwn trwy weithrediad yr Yspryd glân (gwir rwymyn ein cyssylltiad ni a Christ) a weithir trwy ffydd yn eneidiau'r ffyddloniaid, trwy'r hyn y mae nid yn vnig eu heneidiau hwy yn byw i fywyd tragwyddol, ond y maent hwy hefyd yn siccr obeithio ennill i'w cyrph hefyd Mat 26.26. 1.Cor.11.27.

he fyd adgyfodiad i anfarwolaeth.

Iren. li.4.ca.34
Ignat. ep. ad Eph.
Dionisius.
Origenes.
Optatus.
Cypr. de cæna Dnica.
Athanas de pco in spi. sanct.

Yr hên dadau catholic wrth weled iawn ddeall ac ystyr y mwyniant a'r undeb hwn, sydd rhwng y pen a'r corph, rhwng Christ a'r gwir ffyddloniaid; a dyscu yr un peth hefyd i'w pobl, nid ofnent alw'r swpper hwn rhai o honynt yn eli anfarwolaeth ac yn gyferbyn arbenning yn erbyn angau; eraill yn gymmun yn ein gwneuthur ni yn un a Duw, eraill dainteithion ac ammheuthynfwyd ein Iachawdwr, gwystl iechyd tragwyddol, ymddiffynfa'r ffydd, gobaith yr adgyfodiad, eraill, ymborth anfarwolaeth, y rhâd iachus, a cheidwad y bywyd tragwyddol. Pe cofiem ni yn fynych yr holl ymadroddion hyn o'r Scrythur lân a'r hên dadau duwiol y rhai a ddywetpwyd yn wir ac yn gywir am y wledd nefol hon; hwy a ennynnent ein calonnau ni yn ddirfawr i chwennychu bod yn gyfrannogion o'r dirgeledigaethau hyn, ac i awyddu yn fynych am y bara hwn, ac i sychedu yn wastadol am yr ymborth hwn: Nid gan ystyried yn bennaf y creaduriaid dayarol sydd yn aros, ond gan ddala ein gafael yn wastadol yn y graig o'r hon y gallwn sugno melysder iechydwriaeth dragwyddol, a glynu wrthi trwy ffydd. Ac ar ychydig eiriau, fel hyn y mae'r ffyddloniaid yn gweled ac yn clywed ac yn adnabod caredig drugareddau Duw wedi ei selio, yr iawn a wnaeth Christ wedi ei gadarnhau tu ag attom, a maddeuant pechodau gwedi eu siccrhau. Ymma y gallant weled ac megis clywed gweithio ynddynt lonyddwch cydwybod, cynnydd ffydd cadarnhâd gobaith, helaeth wascariad caredigrwydd brawdol, a llawer eraill o amryw radau Duw. Y rhai ni all y rhai sy wedi boddi mewn pwll dwfn tomlyd

dallineb

dallined ac anwybodaeth, gael gwybod eu blâs.

Oddiwrth y rhai hynny, fymrodyr anwyl, ymolchwch ymmysroedd bywiol gair Duw, lle y gelloch ddeall ac adnabod ymborth yspyrydol y swpper werthfawr hon, a'r ymddiriedau, a'r ffrwythau llwyddianus y mae hi yn ei ddwyn gyd ag hi.

Yn awr y canlyn bod yn rhaid gydâ'r wybodaeth hon, ffydd sicer ddianwadal, nid yn unig ar fod marwolaeth Christ yn bridwerth digonol tros yr holl fyd, i gael maddeuant pechodau a heddychu Duw Dâd; ond hefyd ddarfod iddo wneuthur ar ei groes aberth perffaith a digonol trosot ti, a llwyr lanhau dy bechodau di, fel nad wyt ti yn cydnabod un Jachawdwr, nac un prynwr, nac un cyfryngwr, nac un dadleuwr, nac un eiriolwr ond Christ yn unig, ac y gellych ddywedyd gyd â'r Apostol ddarfod iddo dy garu di a'i roddi ei hun trosot ti.

O blegid hyn yw glynu yn ddiogel wrth addewid Christ yr hwn a wnaeth ef wrth ordeinio'r sacrament hwn, sef gwneuthur Christ yn eiddot dy hunan, a gosod ei haeddedigaethau ef attat dy hun. Ymma nid rhaid i ti wrth help un dŷn arall, nac un aberth nac offrwm arall, nac un offeiriad arall i aberthu, nac un offeren, na modd yn y byd a osodwyd trwy ddychymmyg dŷn.

Ac ni allwn fod yn sicer fod ffydd yn offeryn anhepcor anghenrhaid yn yr holl ceremoniau sanctaidd hyn, O blegid, fel y dywaid S. Paul, heb ffydd y mae yn am-mhossibl bodloni Duw. Pan ddinistriwyd llawer o'r Israëliaid yn yr anialwch, fe fwyttaodd Moses ac Aaron a Phinees y Manna ac a fodlonasant Dduw, am eu bod hwy, medd Heb. 11. 6.

S.

In Ioan. ho.6. S. Augustin, yn deall y bwyd gweledig yn yspryddol, yn yspryddol yr oedd chwant y bwyd hwnnw arnynt, yn yspryddol y bwytasant, fel y digonid hwy yn yspryddol. Ac yn wir megis na all y bwyd corphorol borthi'r dyn oddiallan, oni roir ef mewn cylla iachus difreg, i'w dreulio: felly ni phorthir y dyn oddifewn oddeithr iddo dderbyn ei fwyd i enaid a chalon iachus, ddifreg mewn ffydd. Am hynny, medd Cyprian, pan wnelom y pethau hyn, nid
De cæ.do. rhaid i ni hogi a golymmu ein dânedd ond a ffydd bur berffeithgwbl y torrwn ac y rhannwn y bara cyfan hwnnw.

*wis. Fe a *wyddys yn dda am y bwyd yr ydym ni yn ei geisio yn y swpper hwn, mai ymborth yspryddol ydyw, maeth ein eneidiau, gwledd nefol ac nid daearol, bwyd anweledig ac nid corphorol, sylwedd yspryddol ac nid cnawdol, fal nad ydyw meddwl y gallwn ni fwynhau ei fwytta ef a'i yfed heb ffydd, neu dybaid mai hynny yw ei fwynhau ef, ond breuddwydio am ymborthiad cnawdol a'n ymrwymo yn iselfryd, a'n caethiwo ein hunain i'r *elfennau a'r creaduriaid; lle y dlyem ni wrth gyngor Cymmanfa Nicea, dderchafu ein meddyliau trwy ffydd, a gadel heibio y pethau oddisod daearol ymma, a'i geisio ef yno lle mae haul cyfiawnder yn tywynnu yn wastadol. Am hynny (dydi yr hwn wyt yn chwannog i fyned i'r bwrdd hwn) cymmer y wers hon gan Eusebius Emissenus hên Dâd duwiol, Pan elych i fynu at y cymmun parchedig i'th ddigoni â bwyd yspryddol; edrych i fynu trwy ffydd ar sanctaidd gorph a gwaed dy Dduw, rhyfedda yn barchus, teimla ef â'th feddwl, derbyn ef â llaw dy galon, a chymmer ef yn hollawl â'th ddyn oddifewn.

Margin notes: lluniaeth (beside "ymborth"); elementau (beside "elfennau"); Euseb emissen de Euch. (beside "Eusebius Emissenus").

Fel

Fel hyn y gwelwch, fy-nghyfeillion, y modd y mae yn rhaid i ni wrth ddyfod i'r bwrdd hwn, dynnu ymmaith holl wraidd anffyddlondeb, pob anymddiried a gwanobaith yn addewidion Duw, fel y gallom yn gneuthur ein hunain yn aelodau bywiol o gorph Christ: o blegid ni all yr angrhedadwy a'r diffydd ymborth ar y gwerthfawr gorph hwnnw: lle mae y rhai ffyddlon a'u bywyd ac a'u trigfa ynddo ef, a'u hundeb ac megis eu cydymgorpholaeth gydag ef.

Am hynny profwn a holwn ni ein hunain yn ddiragrith ac yn ddiffuant, pa un a wnawn ai bod yn ganghennau bywiol o'r wir win-wydden, yn wir aelodau o ddirgel gorph Christ, ai nad ydym; a ddarfu i Dduw buro ein calonnau ni trwy ffydd, i gydnabod ei efengyl ef yn bur ac yn diffuant, ac i dderbyn ei drugareddau ef yngh-Christ Jesu: fal nad ydym ni ar y bwrdd hwn yn derbyn yn unig y Sacrament oddiallan, ond y dawn ysprydol hefyd, nid yr arwydd, ond y gwirionedd, nid y cyscod yn unig, ond y corph hefyd, nid i angau, ond i fywyd, nid i golledigaeth, ond i Iechydwriaeth: yr hyn, Duw a ganiattao i ni ei wneuthur trwy haeddedigaethau ein harglwydd a'n Iachawdwr, i'r hwn y bô holl anrhydedd a gogoniant yn oes oesoedd, Amen.

¶Yr

## ¶ Yr ail rhan o'r bregeth ynghylch teilwng dderbyniad a pharch Sacrament corph a gwaed Christ.



Hwi a glywesoch, bobl ddaionus, yn y bregeth a adrodd wyd i chwi yn hwyr o amser, paham y rhyngodd bodd i'n Iachawdwr ordeinio y coffadwriaeth nefol hwnnw o'i farwolaeth a'i ddioddefaint: ac y dylei bob vn o honom gadw 'r coffa hynny ar y bwrdd hwn yn ein presennoldeb ein hunain, nid trwy eraill. Chwi glywsoch hefyd â pha wybodaeth am y dirgeledigaethau braintus hyn, y dylyem ddyfod yno. Chwi a glywsoch a pha ffydd gadarn y dylem ein dilladu a'n trwsio ein hunain, fel y bôn gyfrannogion addas gweddaidd o'r ymborth nefol hwnnw.

Yn awr y canlyn y trydydd peth sy angenrhaid yn yr hwn ni fynne fwytta o'r bara hwnnw nac yfed o'r cwppan hwnnw yn an-nheilwng, hynny yw newydd-deb buchedd a duwiol ymarweddiad. O blegid fod newydd-deb buchedd, megis ffrwythau ffydd, yn anghēraid yn y rhai a fo gyfrannogion o'r bwrdd hwn: ni allwn ddysu wrth fwytta yr oen cyffelybiaeth, i'r hwn ni dderbynnid neb ond a fydde Iuddew, gwedi enwaedu arno a chwedi ei sancteiddio o'r blaen. Ie mae S. Paul yn tystiolaethu, er bod y bobl yn gyfrannogion o'r Sacramentau tan Moses, etto am fod
1.Cor.10.7. rhai o honynt yn ddelw-addelwyr, yn butteinwyr, yn temptio Christ, yn rwgnachwyr, yn chwen-

chwennychu pethau drwg, fe a'u dinistriodd Duw hwy yn yr anialwch, a hynny er siampl i ni, hynny yw, fel y bai i ni Gristianogion edrych ar i ni ddyfod i'n Sacramentau mewn sancteiddrwydd bywyd, heb ymddiried yn y cymeriad oddiallan, a heb ein halogi â chynneddfau llygredig angharîadus. O blegid mae 'n rhaid cyflawnhau byth y farn hon a roes Duw ei hun: Trugaredd a ewyllysiaf ac nid aberth.

Am hynny, medd S. Basil, mae yn rhaid i'r hwn a ddelo at gorph a gwaed Christ, er coffa am yr hwn a fu farw ac a gyfododd eilwaith, nid yn vnig fod yn bur ac yn lân oddiwrth bob brynti y cnawd a'r yspryd, rhag iddo fwytta ac yfed i ddamnedigaeth ei hun: ond hefyd yn eglur dangos coffadwriaeth o farwolaeth yr hwn a fu farw ac a gyfododd eilwaith er ein mwyn ni, yn y pwngc ymma, ar fod iddo yntef farw i bechod ac i'r byd, a byw o hyn allan i Dduw yngHrist Iesu ein harglwydd. Wrth hynny mae yn rhaid i ni ddanges tystiolaeth oddiallan, wrth ganlyn arwyddoccâd dioddefaint Christ, ym-mhlith y rhai nid hyn yw'r lleiaf, sef rhoddi diolch i'r holl-alluog Dduw am ei holl ddoniau, y rhai a gynhwysir yn gryno yn angau a dioddefaint ac adgyfodiad ei anwyl garedig fâb ef.

Ac oblegid y dylyem ni yn bennaf ar y bwrdd hwn roddi'r diolch hwnnw i Dduw, am hynny y mae'r tadau duwiol yn ei alw ef Eucharistia, hynny yw, Rhoddi diolch. Megis pe dywedasent hwy, Yn awr yn hytrach nag vn amser arall y dylyech glodfori a moliannu Duw. Yn awr y gellwch weled defnydd, ac achos, a dechreuad a diwedd pob rhoddi diolch. Os llaeswch yn awr,

yr ydych yn dangos eich bod eich hunain yn ddra-
anniolchus, ac na bŷdd un dawn arall byth abl
eich cyffroi chwi i ddiolch i Dduw, a chwitheu
ymma heb ystyried cymmaint a chynnifer o ddoni-
au buddiol.

Wrth hynny y gan fod Duw'r peth, a'r peth ei
hun hefyd yn ein rhybuddio ni i roddi diolch, off-
rymmwn i Dduw yn wastadol, fel y dywaid S.
Paul, trwy Grist offrwm ac aberth moliant,
hynny yw, ffrwyth y gwefusau yn cyffesu ei enw
ef. O blegid fel y mae Dafydd yn canu, yr hwn a
abertho i Dduw ddiolch a moliant sydd yn ei o-
goneddu ef.

Ond mor ambell ac anaml yw dynion diolch-
gar * ynghyfer yr anniolchgar! Wele, fe a lan-
hawyd deg o rhai gwahanglwyfus yn yr Efengyl,
ond ni ddychwelodd ond un o'r dêg i roddi diolch
am ei iechyd. Ie happus fydde pe medrem ni
gael dau a roddai ddiolch yn ddiffuant ym-mhlith
deugain o gymmunolion. Mor angharedig
ydym, mor anghofus ydym, mor falch gardot-
taion ydym, ac nad ydym ni, nac yn gofalu am
ein budd ein hunain, nac yn gwybod ein dlêd tu
ag at Dduw, ond yn bennaf dim ni chyfaddefwn
ni gwbl ac yr ydym yn eu derbyn. Ie ac os cym-
mhellir ni trwy allu Duw i wneuthur hynny,
etto mor oer ac mor ddiwres yr ydym yn gwneu-
thur hynny nad oes ond ein gwefusau ni yn ei
foliannu ef, a'n calonnau yn ei ogannu ef, nad oes
ond ein tafodau ni yn ei fendithio ef, a'n buchedd
yn ei felldithio ef, nad oes ond ein geiriau ni ei an-
rhydeddu ef, a'n gweithredoedd yn ei dianrhy-
deddu ef.

* ymron.

Oh am hynny dyscwn roddi ymma ddiolch i
Dduw

Dduw yn inion, fel y cynyddo ei odigog ddoniau a'i radau a dywalltodd ef arnom, ac a hwy wedi eu rhoddi i gadw yn-nrhysordy ein calon ni, yr ymddangosont mewn pryd ac amser cyfaddas yn ein bywyd ni a'n hymarweddiad, er gogoniant i'w enw sanctaidd ef.

Hefyd am newydd-deb buchedd, mae'n rhaid ystyried yr hyn y mae S. Paul yn ei scrifennu, ein bod ni, er ein bod yn llawer, yn un bara ac yn un corph, am ein bod ni i gyd yn gyfrannogion o'r un bara. Wrth hynny y mae efe yn dangos nid yn unig ein cyfundeb ni â Christ, ond yr undeb hwnnw hefyd â'r hwn y dylai y rhai a fwyttânt ar y bwrdd hwn fod gwedi eu cyssylltu ynghŷd. O blegid ni ddylent hwy fod wedi ymwahanu oddiwrth ei gilydd trwy anghyttundeb gwâg-ogoniant, chwât anrhydedd, cynnen, cenfigen, dirmyg, casineb, malais: ond bod wedi ymgyssylltu ynghyd â rhwymyn cariad yn un corph ysprydol, megis y mae gronynnau'r bara hwnnw wedi eu cyssylltu yn un dorth. Oblegid y rhwymyn a'r cwlwm cariad ymma, y galwai y gwŷr Gristianogion, yn amser tynerwch Eglwys Grist, y swpper hwn yn swpper cariad. Megis pe dywedent na ddylai neb eistedd ar y swpper hwnnw ac a fai allan o gariad, neb a fai yn dwyn gŵg a dial yn ei galon, neb ac na ddangosai ei garedigrwydd a'i gariad trwy roi rhyw gardod a chynnorthwy i rai o'r gynnulleidfa. A hyn oedd eu harfer hwy. Oh dyna wahoddedigion duwiol, yn gwneuthur dyledus gyfrif o'r wledd hon.

Ond ôh greaduriaid truain ydym ni yr amser ymma y, rhai heb gymmodi â'n brodyr a'r rhai y gwnaethom gam, heb wneuthur iawn i'r rhai y

som iddynt gwympo, heb na meddwl na thosturi tu ag at y rhai a allem eu cynnorthwyo yn hawdd, heb gydwybod yn y byd am enllib, dirmyg, drygair, ymryson, digofaint, neu chwerwedd calon. Je a ninnau wedi ein llwytho â dirgel gasineb Cain, â chuddiedig genfigen Esau, â rhagrithiol ffalsder Joab, a ryfygwn ni ddyfod i fwrdd ei sanctaidd ddirgeledigaethau ofnadwy ef? oh ddŷn i ba le yr wyt ti yn ymwthio mor anweddaidd. Bwrdd tangnheddyf a heddwch yw hwn, ac yr wyt titheu yn barod i ymladd. Bwrdd diniweidrwydd yw hwn, ac yr wyt titheu yn dychymmygu drygioni. Bwrdd tosturi yw, ac yr wyt titheu yn an-nrhugarog.

Gen.4.8. Gen.27.41. 2.Sam.20.10.

Onid ydwyt ti nac yn ofni Duw gwneuthurwr y wledd hon, nac yn perchi Christ yr hwn yw'r bwyd a'r ymborth sy yn y wledd? nac yn ystyried ei briodasferch ef a'i anwyl wahoddedigion? nac yn gofalu am dy gydwybod yr hwn sydd weithiau oddifewn yn dy gyhuddo di? Am hynny o ddŷn, gofala am dy iechydwriaeth dy hun, chwilia a hola dy ewyllys da a'th gariad tuac at blant Duw, aelodau Christ ac etifeddiō etifeddiaeth nef, ie tuac at ddelw Dduw, y creadur godidawg dy enaid dy hun. Os gwnaethost yn erbyn neb, heddycha ag ef yn awr. Os peraist i neb dramgwyddo yn ffordd Duw, yn awr gosod ef eilwaith ar ei draed. Os aflonyddaist ar dy frawd, dyhudda a llonydda ef yn awr: os gwnaethost di gā ag ef, yn awr gwna iawn iddo: os twyllaist di ef, tâl iddo yn awr: os megaist ganfigen, yn awr cofleidia gydymdeithas: os megaist gas a digasedd, dangos yn awr dy gariad a'th garedigrwydd yn oleu, ie bydd barod ac ewyllysgar i beri Iechydwriaeth enaid dy frawd, a'i leshad, a'i ddaioni a'i fôdd, megis yr eiddot dy hū.

Na

Na haedda faich trwm ofnadwy digofaint Duw,
am dy ewyllys drwg tu ag at dy gymmydog, ac am
ddyfod mor ammharchus i fwrdd yr Arglwydd. Yn
ddiwethaf, megis y mae ymma ddirgeledigaethau
heddwch, a Sacrament cydymdeithas Gristiono- Chrisost. ad
gaidd, wrth yr hyn yr ydym yn deall pa gariad clau pop. Ant. ho. 6.
diragrith a ddylai fod rhwng y gwir gymmunoli-
on: felly y mae ymma hefyd arwyddion purder a
diniweidrwydd bywyd, wrth yr hyn y gallwn dde-
all y dylyem lanhau ein heneidiau oddiwrth bob
aflendid, anwiredd a drygioni, rhac i ni wrth dder-
byn bara'r Sacrament, ei fwytta ef mewn lle aflā
(fel y dywed Origen) hynny yw, mewn enaid In Leuit. 23.
gwedi ei halogi a'i ddifwyno gan bechod. Ynghy- ho. 14.
fraith Moses, y gwr a fwytae o'r aberth tâl-diolch
a'i aflendid arno, a *ddifethid o fysc ei bobl: ac a dy- * Ddifhaid.
bygwn ni y bydd escusodol y dŷn drygionus pecha-
durus, ar fwrdd yr Arglwydd? Yr ydym ni yn dar-
llen yn S. Paul guro a chospi Eglwys Corinthus 1. Cor. 11. 30.
am gamarfer swpper yr Arglwydd, ac ni a allwn
weled yn amlwg fod yn blino ac yn gorthrymmu
Eglwys Ghrist yn dôst er ys llawer o flynyddoedd,
am halogi a dirmygu'n anferth y Sacramēt hwn.
Am hynny edrychwn bawb a phob vn o honom ni
ar ein ymarweddiad a'n bywyd, a gwellawn hwy.
Ac yn awr yn enwedig galwn ein hunain i gyfrif,
fal *y byddo chwith gennym am ein drwg ymar- * Chwitho ar-
weddiadd aeth heibio, fel y bô càs gennym bechod, nom.
fel y bô i ni riddfan a galaru tros ein pechodau, fel
y bo i ni mewn *deigrau eu tywallt hwy ger bron * Dagrau.
duw, fel y bô i ni mewn diogel obaith ddeisyf ac er-
fyn eli ei drugaredd ef, yr hwn a brynnwyd ac a
bwrcaswyd trwy waed ei anwyl garedig fab ef
Iesu Ghrist, i iachau ein *gweliau angheuol ag ef. * Clwyfau.

O blegid yn sicer oni lanhawn ni trwy wir ediseirwch gyllau brynton ein heneidiau, ni all na ddigwyddo, megis y mae bwyd a dderbynier i gylla oer afiach yn pydru ac yn difwyno'r cwbl, ac yn achos o glefydau a fo mwy, felly ein bod ninnau yn bwytta'r bara iachus hwn, ac yn yfed y cwppan hwn i'n tragwyddol golledigaeth.

Chryſ. vbi ſupra.

Fel hyn y mae yn rhaid i ni ac nid i eraill, chwilio a holi yn gwbl ac yn gyflawn, ac nid edrych yn yscafn ac yn ddifraw, arnom ein hunain ac nid eraill, ein cydwybodau ein hunain, ac nid bywyd rhai eraill, yr hyn a ddylyem ni ei wneuthur yn iniawn ac yn gywir ac â cherydd cyfiawn.

Chryſ. vbi ſupra. Mat. 20, 18.

Oh, medd S. Chrysostom, na nesaed Judas at y bwrdd hwn, na ddaued un dŷn chwannog iddo. Os bydd neb yn ddiscybl, bydded ef bresennol. O blegid, medd Christ, gydâ'm discyblon y bwytâf y Pâsc.

Pa ham y gwaeddai'r gwaeinidog yn y brifeglwys gynt, Od oes neb yn sanctaidd, deued yn nes? Pa ham yr oeddynt yn gwasanaethu y dirgeledigaethau hyn a drws y gangell wedi ei gaued? pa ham y gorchymmynid i'r rhai a fyddent tan benyd cyhoeddus, a'r rhai oeddynt yn dyscu crefydd Grist fyned ymmaith yr amser hwnnw? onid am na chynnhwysai y bwrdd hwn un dŷn ansanctaidd, aflan, pechadurus, y gwneid hynny? Am hynny oni feiddia gweision ryfygu dyfod i fwrdd eu meistred dayarol, y byddont wedi eu digio: edrychwn na ddelom ni i wydd ein harglwydd a'n barnwr, a'n pechodau heb eu holi.

Os ydynt hwy ar y bai y rhai a gusanant law eu brenhin â min aflan budr; oni byddi di ar y bai a thithau ac enaid drewllyd yn llawn chwant a

godineb a meddwdod a balchder, yn llawn meddyliau drygionus, yn chwythu anadl anwiredd ac aflendid ar fara a chwppan yr Arglwydd? Fal hyn y clywsoch pa fodd y dylech ddyfod yn barchus ac yn weddaidd i fwrdd yr Arglwydd, a chennych wybodaeth allan o'i air ef am y Sacrament hwn a'i ffrwythau, a chan ddwyn gyd â chwi ffydd wir ddianwadal, yr hon yw gwreiddyn a ffynnon newydd-deb buchedd cyfiadl i glodfori Duw ac i garu ein cymydogion, ac i lanhau ein calonnau oddiwrth frynti a budreddi. Megis na pharo anwybodaeth i ni ei ddiystyru ef, ac na pharo anffyddlondeb i ni golli ei ffrwyth ef, ac na ddygo pechod ac anwiredd ddialedd Duw arnom ni: ond trwy ffydd mewn gwybodaeth, a newedd-deb buchedd mewn ffydd, fe a'n cyssylltir â Christ ein pen yn ei ddirgeledigaethau hyn, i'n mawr ddiddanwch ni yn y byd hwn, megis y gallom ni gael cyflawn a gwir fwyniant o hono ef, i'n llawenydd tragwyddol a'n didrangc fywyd, i'r hwn y dycco ef ni yr hwn a fu farw trosom ac a'n prynodd, Iesu Grist y cyfiawn, I'r hwn gydâ'r Tâd a'r Yspryd glân un tragwyddol a gwir Dduw, y bô holl foliant, anrhydedd a llywodraeth yn oes oesoedd, Amen.

## ¶ Pregeth am ddiſcynniad yr Yſpryd glân, a'i amryw ddoniau.

Ar ddydd y Sulgwyn.



Yn manegi mawr ar amryw ddo-
niau yr Yſpryd glân, o'r rhai y
mae Eglwys Duw bob amſer yn
gyflawn, fe fydd angenrhaid
dangos i chwi ar fyrr, o ba le y
caſas gwyl y Pentecoſt neu'r
Sulgwyn ei dechreuad. Am
hynny deellwch fod yn arfer o gadw gwyl y Pen-
tecoſt bob amſer y degfed diwarnod a deugain ar
ôl y Pâſc, yr hon oedd vchelwyl mawr ymmhlith
yr Iuddewon, yn yr hon yr oeddynt yn cadw co-
ffadwriaeth o'u hymwared allan o'r Aipht, a cho-
ffadwriaeth hefyd am gyhoeddiad y gyfraith yr
hon a roddaſid iddynt ar fynydd Sinai ar y dwth-
wn hwnnw.

Fe a ordeiniwyd ac a orchymmynnwyd cadw'r
dydd hwnnw yn vchelwyl, nid gan vn dŷn ar y
Lc.23.16. ddayar, ond o enau yr Arglwydd ei hun, fel yr y-
Deut.16.9. dym ni yn darllein yn y 23. o Leuiticus, a'r 16 o
Deuteron. Y lle a appwyntiaſid i gadw'r wyl
hon oedd Ierusalem, lle'r oedd cyrchfa fawr o
bobl o bob man o'r bŷd, fel y gellir gweled yn
amlwg yn yr ail bennod o Actau'r Apoſtolion, lle
ſon: yr ydys yn *cryb-wyll am y Parthiaid, y Mediaid,
Act.2.9. yr Elamitiaid, trigolion Meſopotamia, a Iudea,
a Chappadocia, a Phontus, ac Aſia, a Phrygia,
a Pamphyſia, a llawer o'r cyfryw leoedd: wrth yr
hyn y gallwn weled pa gynnal mawr arbennig
a arferid ar yr wyl honno.

Ac fel y rhoddwyd hyn yn orchymmyn i'r Iu-
ddewon

ddewon yn yr hen gyfraith, felly o ran y sicerhaodd ein Iachawdwr Christ ef yn ei Efengyl, gan ordeinio megis Sulgwyn newydd i'w ddiscyblon, pan ddanfonodd ef yr Yspryd glân mewn dull gweledig yn rhith tafodau tanllyd gwahanedig, ac y rhoddodd iddynt allu i lefaru ac ymadroddi yn y cyfryw fodd ac y gallai bawb eu clywed hwy a'u deall yn eu tafodiaith eu hunain. Yr hyn wrthiau, fel y bai mewn coffadwriaeth tragwyddol, fe a dybygodd yr Eglwys fod yn dda cadw'r dyddiau hynny yn wyl, yr hwn a elwir yn gyffredinol y Sulgwyn. Ac ymma y gellir ystyried, megis y rhoddwyd y gyfraith ar fynydd Sinai i'r Iuddewon y degfed dydd a deugain ar ol y Pâsc: felly y rhoddwyd pregethiad yr Efengyl, trwy gadarn allu yr Yspryd glân, i'r Apostolion ar fynydd Sion y degfed dydd a deugain ar ôl y Pâsc. Act.2.3.

Ac o hyn y cafas yr wyl hon ei henw Pentecost, o rifedi y dyddiau. O blegid (fel y mae S. Luc yn scrifennu yn Actau'r Apostolion) wedi dyfod dydd y Pentecost (hynny yw wedi cyflawni deng nhiwrnod a deugain) a'r Apostolion ynghyd ac yn gyttun yn yr vn lle, y daeth yr Yspryd glân yn ddisymmwth yn eu mysc hwy ac a eisteddodd ar bob vn o honynt yn rhith tafodau tanllyd gwahanedig. Yr hyn a wnaethpwyd yn ddiammau er mwyn dangos i'r Apostolion a phawb eraill, mai efe sydd yn rhoddi hyawdledd ac ymadroddi i bregethu'r Efengyl, mai efe sydd yn agori'r genau i fynegi mawrion weithredoedd Duw, mai efe sydd yn ennynu ynom ni zel wresog tu ac at air Duw, ac yn rhoddi i bawb dafod, ie tafod tanllyd, fel y gallont yn hŷf ac yn hyderus ac yn galonog gyfaddef y gwirionedd yngolwg yr holl fyd, megis y cynnyscaeddwyd Enon â'r Yspryd hwn. Act.2.1.

Yr

Esai.50.4. Yr Arglwydd, medd Esai, a roddes i mi dafod dyscedig, i fedru mewn pryd lefaru gair i'r diffygiol. Ac mae'r prophwyd Dafydd yn gwaeddi am gael y rhodd hon, gan ddywedyd, Agor fy-ngwefusau, o Arglwydd, a'm tafod a fynega dy foliant. O blegid y mae ein Iachawdwr Christ yn dywedyd yn ei Efengyl wrth ei ddiscyblion, Nid chwychwi yw y rhai sydd yn llefaru, ond Yspryd eich Tâd yr hwn sydd yn llefaru ynoch.

Ps.51.15.

mat.10.20.

Mae'r holl dystiolaethau hyn allan o'r Scrythur lân, yn dangos yn oleu ddigon, fod dirgelwch a dawn tafodau yn arwyddoccau pregethiad yr Efengyl, a chyhoedd gyffessiad ffydd Grist, ym-mhob vn ac a fyddo feddiannol o'r Yspryd glân. Megis os bydd neb yn Gristion mud, heb gyfaddef ei ffydd yn gyhoeddus, ond megis yn ei guddio ac yn ei gelurio ei hun rhac perigl yn yr amser a ddaw; mae fe yn rhoddi i ddynion achos cyfiawn mewn cydwybod i ammau fod rhâd yr Yspryd glân ynddo ef, gan ei fod yn dafodgaeth ac heb allu dywedyd. Fel hyn gan hynny y clywsoch ordinhâd cyntaf gwyl y Pentecost neu'r Sulgwyn cystal yn yr hên gyfraith ym-mhlith yr Iuddewon, ac ymmysc Christianogion yn amser yr Enfengyl.

Bellach ystyriwn pa beth yw'r Yspryd glân, ac felly pa fodd y mae efe yn gweithio ei wyrthiau rhyfeddol mewn dynion.

Yr Yspryd glân sydd sylwedd ysprydol dduwiol, y drydedd berson yn y Duwdod, yn wahanredol oddiwrth y Tâd a'r Mâb ac etto yn deilliaw oddiwrthynt hwy ill dau. Mae Credo Athanasius yn testiolaethu fod hyn yn wir, ac fe a ellir ei brofi yn hawdd hefyd trwy dystiolaethau amlwg allan

sanctaidd

sancteiddrwydd gair Duw.

Pan fedyddiwyd Christ gan Ioan yn afon Iorddonen, yr ydym ni yn darllein ddyfod o'r Yspryd glân i lawr yn rhith colomen, a tharanu o Dduw o'r nef a dywedyd, Hwn yw fy anwyl fab, yn yr hwn y'm bodlonir. Mat.3.16.

Ymma ystyriwch dri amryw berson gwahanedig, Y Tâd, y Mâb a'r Yspryd glân, ac etto nid ydyw'r tri hyn dri Duw onid un Duw. Felly pan ordeiniodd Christ Sacrament y bedydd, fe a ddanfonodd ei ddiscyblon i'r holl fyd, ac a orchymmynodd iddynt fedyddio'r holl genhedloedd yn enw'r Tâd a'r Mâb a'r Yspryd glân. Ac mewn man arall y mae efe yn dywedyd, Mi a weddiaf ar y Tâd ac efe a rydd i chwi ddiddanwr arall. A thrachefn, Pan ddelo y diddanwr yr hwn a ddanfonaf oddiwrth y Tâd. Mat.28.18. Io.14.16. Io.16.7.

Mae'r lleoedd hyn a'r cyfryw leoedd eraill o'r Testament newydd, mor oleu ac mor eglur yn dangos gwahaniaeth yr Yspryd glân oddiwrth y personau eraill yn y drindod, fel nad yw possibl i neb ei ammau oddieithr iddo gablu tragwyddol wirionedd gair Duw.

Tu ag at am briodol naturiaeth a chynneddfau yr Yspryd glân, yr un yw â Duw'r Tâd a Duw'r Mâb, hynny yw, Ysprydol, tragwyddol, digreedig, anymgyffred, oll-alluog, ac ar fyr eiriau, mae fe yn Dduw ac yn Arglwydd tragwyddol. Am hynny y gelwir ef Yspryd y Tâd, am hyn y dywedir ei fod ef yn deilliaw oddiwrth y Tâd a'r mâb, ac am hyn y cyssylltir ef gydâ'r Tâd, a'r Mab yn y gorchymmyn a roddwyd i'r Apostlion i fedyddio yr holl genhedloedd, yn gyd-radd â hwy.

Ond

Ond fel yr ymddangoso hyn yn eglurach yngolwg pob dŷn, fe fydd anghenrhaid dyfod at y rhan arall, hynny yw, rhyfeddol a nefol weithredoedd yr Yspryd glân, y rhai sy yn manegi yn amlwg i'r bŷd ei alluog a'i dduwiol allu ef.

Yn gyntaf y mae yn amlwg ei fod ef yn rhyfeddol yn llywodraethu ac yn cyfarwyddo calonnau y Patriarchaid a'r prophwydi yn yr hên amser, gan oleuo eu meddyliau hwy â gwybodaeth y gwir Fessias, a chan roddi ymadrodd i brophwydo am bethau a ddigwydde yn hir o amser ar ôl hynny. O blegid, fel y tystiolaetha S. Petr, Nid trwy ewyllys dŷn y daeth y brophwydoliaeth gynt,
2.Pet.1.21. eithr dynion sanctaidd duwiol a ddywedasant megis y cynnhyrfwyd hwy gan yr Yspryd glan. Ac am Zacharias yr archoffeiriad y dywedir yn yr
Luc.1.67. Efengyl, iddo ac ef yn llawn o'r Yspryd glan brophwydo a moliannu Duw. Felly y gwnaeth Simeon, Anna, Mair a llawer eraill, i fawr ryfeddod ac aruthredd pob dŷn.

Mat.1.18.&c. Hefyd, onid oedd yr Yspryd glan yn weithredwr galluog ynghenedliad a genedigaeth Christ ein Iachawdwr? Mae Saint Mathew yn dywedyd, cyn myned Ioseph a Mair ynghŷd ei chael hi yn feichiog trwy 'r Yspryd glan. Ac fe a ddywedodd yr Angel Gabriel yn oleu wrthi y dawai hynny i ben, gan ddywedyd, yr Yspryd glan a ddaw
Luc.1.35. arnat, a nerth y goruchaf a'th gyscoda di. Peth rhyfedd yw i wraig feichiogi a dwyn plentyn, heb adnabod gŵr. Ond lle y bytho yr Yspryd glan yn gweithio, nid oes dim yn ammhossibl, fel y mae yn ymddangos yn oleu wrth yr adenedigaeth oddifewn, a sancteiddiad dynion.

Pan ddywedodd Christ wrth Nicodemus, Oddi-

Oddieithr geni dŷn drachefn o ddwfr ac o'r Yspryd
glan, ni all ef fyned i mewn i deyrnas Duw, fe
*synnodd arno yn ei feddwl, ac a ddechreuodd ym- *Hurtodd.
resymmu â Christ, gan ddywedyd, Pa fodd y ge-
nir dŷn ac ef yn hên? a all ef fyned i groth ei fam
drachefn a'i eni? wele dymma bortreiad amlwg
o ddŷn cnawdol. Nid oedd gantho ond ychydig
ddeall am yr Yspryd glân, ac am hynny mae efe
yn myned yn *bŵl ynghylch y gwaith, ac yn go- *Ddwl.
fyn pa fodd y galle hynny fod yn wir. Ond pe bu-
ase ef or tu arall yn gwybod mawr allu yr Yspryd
glân yn hyn o beth; mai efe sydd yn gweithio
adgenhedliad ac ail-enedigaeth yn y dŷn oddi-
fewn; ni buase ddim rhyfeddod gentho am eiriau
Christ, ond yn hytrach fe a gymmerasai achos o
hynny i glodfori ac i ogoneddu Duw. O blegid
fel y mae tri pherson neillduol gwahanredol yn
y drindod: felly y mae swydd neillduol wahanre-
dol i bob un o honynt.

Y Tad i greu, y Mâb i waredu, a'r Yspryd glan
i sancteiddio ac i adgenhedlu. Am y diwethaf o'r
rhai hyn, po mwyaf y cuddier ef oddiwrth ein de-
all ni; mwyaf y dylyai gyffroi pôb dŷn i ryfeddu
dirgel a galluog weithrediad yr Yspryd Duw
glân ynom ni. O blegid yr Yspryd glan ac nid
dim arall sydd yn bywoccau meddyliau dynion,
ac yn cyffroi amcanion daionus duwiol yn eu
calonnau hwy, y rhai sydd gyttunol a gor-
chymmyn ac ewyllys Duw, y rhai oni bai hyn-
ny ni chaent hwy byth yn eu naturiaeth drofaus
ddrygionus eu hunain.

Yr hyn a aned o'r cnawd, medd Christ, sydd Io.3.6.
gnawd, a'r hyn a aned o'r Yspryd sydd Yspryd.
Megis pe dywedai fel hyn, Mae dŷn o'i naturi-

aeth ei hun yn gnawdol, yn llygredig ac yn ddry-
gionus, yn bechadurus ac yn anufydd i Dduw,
heb un wreichionen o ddaioni ynddo, heb un am-
can rhinweddol duwiol, wedi ymroi yn unig i
feddyliau drwg a gweithredoedd annuwiol. Ond
am weithredoedd yr Yspryd, ffrwythau ffydd,
amcanion cariadus duwiol, od oes gantho yr un
o honynt ynddo, maent, hwy yn dyfod oddiwrth
yr yspryd glan yn unig, yr hwn yn unig sydd yn
gweithio ein sancteiddiad ni, ac yn ein gwneu-
thur ni yn ddynion newydd ynghrist Jesu.

Oni weithiodd yspryd sanctaidd Duw yn rhy-
1.Sam.17.15. feddol yn y bachgennyn Dafydd, pan wnaed efo
fugail tlawd yn brophwyd brenhinol? Oni wei-
thiodd yspryd Duw yn rhyfeddol yn Mathew
Mat.9.9. yn eistedd wrth y dollfa, pan wnaed efo Bublican
balch, yn efangylwr ufyd gostyngedig? A phwy a
ddichon amgen na rhyfeddu, wrth ystyried wneu-
thur Petr o byscodwr gwirion yn Apostol galluog
pennaf? a gwneuthur Paul o erlidiwr creulon
gwaedlyd, yn ddiscybl ffyddlō i Grist, ac yn athro'r
cenhedloedd. Cyfryw yw gallu'r yspryd glan i ail-
eni dynion, ac megis i escor arnynt o newydd, fel
na byddont ddim tebyg i'r rhai oeddynt o'r blaen.
Ac nid yw ddigon gantho weithio ysprydol a ne-
wydd enedigaeth dyn oddifewn, oddieithr iddo dri-
go ac aros ynddo hefyd.

1.Cor.3.16. Oni wyddoch mai temil Dduw ydych a bod Ys-
pryd Duw yn aros ynoch, medd S. Paul? Oni
wyddoch am eich cyrph mai temlau ydynt i'r Ys-
pryd glân yr hwn sydd ynoch? A thrachefn y dy-
wed, Nid ydych yn y cnawd, ond yn yr Yspryd.
A pha ham? Am fod Yspryd Duw yn trigo y-
1 Ioh.2.27. noch. A hyn y cytuna athrawiaeth Joan Sant
yn

yn scrifennu fel hyn, yr ennaint a dderbyniasoch
(yr Yspryd glân y mae yn ei feddwl) sydd yn aros
ynoch. Ac y mae athrawiaeth Petr yn dywedyd
yr un peth, yn yr hwn y mae'r geiriau hyn, Yspryd 1.Pet.4.14.
y gogoniant ac Yspryd Duw a orphywys arnoch.

Oh pa gyssur yw hyn i galon gwir Ghristion, feddwl fod Yspryd Duw yn aros ynddo? Os bydd Duw gyda ni, medd S. Paul, pwy a ddichon bod yn ein herbyn? (Ru.8.31.) Ond fe alle y dywed rhyw un, Pa fodd y gallaf wybod fod yr Yspryd glân yn aros ynof? Yn wir fel yr adnabyddir y pren wrth ei ffrwyth, felly yr adwaenir yr yspryd glân. (Gal.5.22.) Ffrwythau'r Yspryd glân yn ôl meddwl S. Paul, yw y rhai hyn, Cariad, llawenydd, tangnheddyf, ymaros, cymmwynascarwch, daioni, ffydd, llarpeidd-dra, dirwest. O'r gwrthwyneb, gweithredoedd y cnawd yw y rhai hyn, Cor-priodas, godineb, aflendid, digywilydd-dra, delw-addoliad, swyngyfaredd, casineb, llid, gelyniaeth, digofaint, ymrysonau, tersyscau, heresiau, cenfigennau, lladdiadau, meddwdod, cyfeddach, a'r cyffelyb.

Dymma'r drych a'r gwydr, yn yr hwn y gelli dy weled dy hunan, a gwybod pa un sydd ynot ai'r Yspryd glân, ynteu yspryd y cnawd. Os gweli fod dy weithredoedd yn ddaionus ac yn rhinweddol, yn cytuno ag iniawn reol gair Duw, heb arnynt na blas nac archwaith y cnawd, ond yr yspryd, yno bydd sicer dy fod di wedi dy gynyscaeddu â'r yspryd glân: heb hynny os tybygi di yn dda o honot dy hunan, nid wyt ti ond dy dwyllo dy hunan.

Y mae'r yspryd glân bob amser yn ei ddangos ei hunan wrth ei ddoniau ffrwythlon grasol, Hynny yw, trwy eiriau doethineb, trwy eiriau gwybodaeth

eth, yr hyn yw iawn ddeall yr Scrythyrau, trwy
1.Cor.12.7. ffydd i wneuthur gwrthiau, trwy iachau'r clwyfus,
trwy brophwydoliaeth, yr hyn yw manegi
dirgelion Duw, trwy wahaniaeth yspyrdion,
trwy amryw dafodau, a chyfieithiad tafodau a'r
cyfryw. Ac fel y mae'r holl ddoniau hyn yn dyfod
oddiwrth yr un yspryd, a chwedi eu rhoddi yn
ddosparthedig i bob dŷn, yn ôl y mesur y rhyngo
bodd i'r yspryd glan gyfrannu: felly nid heb achos
da, y maent hwy yn dwyn dynion i ryfeddu o blegid
duwiol allu Duw.

Pwy ni ryfedda o blegid yr hyn sydd scrifennedig yn Actau'r Apostolion, wrth glywed eu eofn gyffes hwy gar bron y Cyngor yn Ierusalem? Ac wrth ystyried pa fodd yr aethant oddiger bron y Cyngor yn llawen ac yn hyfryd am eu cyfrif yn deilwng i ddwyn ammarch er mwyn enw'r Iesu? Gwaith galluog yr Yspryd glân oedd hyn, yr hwn am ei fod yn rhoddi dioddefgarwch a llawenydd mewn profedigaethau a blinderau, a elwir yn yr Scrythur lân ar enw y diddanwr.

Pwy ni ryfedda wrth ddarllein pregethau nefol dyscedig Petr a'r discyblion, wrth ystyried na ddygwyd hwy erioed i fynu mewn yscol o ddysc, ond gwŷr a alwyd oddiwrth eu rhwydau i fod yn Apostolion? Gwaith galluog yr Yspryd glân oedd hyn hefyd, yr hwn am ei fod yn cyfarwyddo calonnau'r gwirion yngwir wybodaeth Dduw a'i sanctaidd air, a elwir wrth ei iawn enw a'i ditul, Yspryd y gwirionedd.

Mae Eusebius yn ei histori eglwysig yn adrodd
Li.11.ca.3. histori ryfedd, am ryw phylosophydd dyscedig cyfrwys-gall,
yr hwn ac ef yn wrthwynebwr mawr i
Grist a'i athrawiaeth, ni ellid trwy ddysc yn y bŷd

ei droi i'r ffydd, ond a fedre yn hawdd atteb yr holl resymmau a ellid i roi yn ei erbyn ef, heb boen yn y byd. Yn y diwedd fe a gyfododd i fynu ryw ddyn gwael disyml, a'i synwyr yn fychan a'i ddysc yn llai, yr hwn a gyfrifid yn ynfyd ym-mhlith y dyscedigion: a hwn yn enw Duw ni fynnai lai nag ymddadleu a'r philosophydd balch hwn. Fe a ofnodd yr Escobion a'r gwyr dyscedig oedd yno am hyn o beth, ac a dybiasant y gwradwyddid hwy oll yn gyhoeddus o'i blegid ef. Er hynny efe a aeth yn ei flaen, a chan ddechreu yn enw'r Arglwydd Iesu, ef a ddug y philosophydd yn y diwedd, yn erbyn pob tybygaeth, i gydnabod fod gallu Duw yn ei eiriau ef, ac i roddi lle i'r gwirionedd. Onid oedd hyn yn weithred ryfedd, fod i ddŷn truan diddysc wneuthur y peth ni allai Escobiō a gwyr dyscedig deallus byth ei wneuthur? Mor wir yw geiriau Beda, Lle y bo yr Yspryd glân yn addyscu ac yn cyfarwyddo, nid rhaid edrych am ddŷsc. Hom. 9. super Luca.

Llawer ychwaneg a ellid ei ddywedyd ymma am amryw ddoniau a rhadau'r Yspryd glân, y rhai sydd odidog a rhyfeddol yn ein golwg ni, ond ni chynnwys yr amser wneuthur hir draethawd ar y cwbl. A chan ddarfod i chwi glywed y rhai pennaf, chwi a ellwch yn hawdd ddeall y rhai eraill. Yn awr fe a fyddai angenrhaid agoryd y pwngc ymma, A ydyw pawb ac sydd yn ymffrostio fod yr Yspryd glan genthynt, yn ei arddel yn gyfiawn ai nad ydynt? Yr hyn beth am ei fod yn angenrheidiol ac yn fuddiol, a agorir ac a amlygir (a Duw yn y blaen) yn y rhan nesaf o'r homili hon.

Yn y cyfamser, rhoddwn (fel yr ydym rwymedicaf)

diccaf) wir galonnog ddiolch i'n Tâd o'r nef, ac i'w fâb Jesu Grist, am ddanfon y diddanudd hwn i lawr i'r bŷd, gan attolwg iddo yn ostyngedig, weithio yn ein calonnau ni trwy allu ei Yspryd glân, fel y bo i ni wedi ein hadgenhedlu a'n ail-eni ym-mhob daioni a sobredd a gwirionedd, gael yn y diwedd ein gwneuthur yn gyfrannogion o fywyd tragwyddol yn ei deyrnas nefol ef, trwy Jesu Grist ein harglwydd a'n Jachawdwr, Amen.

¶ Yr ail rhan o'r bregeth ynghylch yr Yspryd glân, yn agoryd y dowt ymma, Pa vn a wna ai bod pawb ac a ymarddel o'r Yspryd glân yn ymarddel o hono yn gyfiawn, ai peidio.



PAN ydoedd ein Jachawdwr Christ yn mynned allan o'r bŷd at ei Dâd, fe a addawodd ddanfon iddynt ddiddanwr arall yr hwn a arhosai gyd â hwy yn dragywydd i'w cyfarwyddo ymmhob gwirionedd. Ac y mae'r Scrythur lân yn tystiolaethu yn oleu ddigon ddarfod cyflawni hynny yn ffyddlon ac yn gywir. Ac ni ddylyem ni dybied ddarfod addo neu roddi y diddanudd hwn yn vnig i'r Apostolion, ond hefyd i gyffredinol eglwys Grist, yr hon sydd wascaredig tros yr holl fŷd. O blegid oni bai fod yr Yspryd glân yn wastad yn bresennol, yn llywodraethu ac yn cadw ei Eglwys o'r dechreuad, ni allasai hi byth oddef cymmaint a chymmaint o frwydrau blinder ac erlid, heb gael mwy o golled ac o enwed nac a gafodd hi.

Io.14.15.

Ac y mae geiriau ein Jachawdwr Christ yn oleu

iawn yn y peth hyn, gan ddywedyd yr arhosai Yspryd y gwirionedd gyd â hwy yn dragywyddol; y byddai ef gyd â hwy trwy ei râd a'i rinwedd a'i allu, hyd ddiwedd y bŷd. Mae efe hefyd yn y weddi a wnaeth ef at ei Dâd ychydig o flaen ei farwolaeth, yn eiriol nid yn unig trosto ei hun a'i Apostolion, ond yn ddiwahaniaeth tros bawb oll ac a gredent ynddo ef trwy eu geiriau hwy, hynny yw tros ei holl Eglwys. Mae S. Paul yn dywedyd hefyd, Y neb nid oes gantho Yspryd Christ, nid yw eiddo ef. Rom. 8. 14.
A hefyd yn y geiriau a ganlynāt, Ni a dderbyniasō yspryd mabwysiad, trwy'r hwn yr ydym yn llefain Abba Dâd. Vers. 15.
Wrth hyn gan hynny, y mae yn amlwg ac yn eglur i bawb, ddarfod rhoddi'r Yspryd glân, nid yn unig i'r Apostolion, onid hefyd i holl gorph Eglwys Grist, er nad yn yr un dull a mawrhydi ac y daeth ef i lawr yr ŵyl y Pentecost. Ond yn hyn y mae'r ymryson, A ydyw pawb yn ymarddel yn gyfion o'r Yspryd glân ai nad ydynt. Mae Escobion Rhufain er ys llawer o amser yn ymarddel o hono yn daer, gan ymresymmu drostynt ei hunain yn y modd hyn. Yr yspryd glân, meddant hwy, a addawyd i'r Eglwys, ac nid ymedy ef bŷth â'r Eglwys: ond nyni yw'r pennaduriaid uchaf a'r rhan odidowgaf o'r Eglwys, am hynny mae yr Yspryd gydâ ni yn dragywydd, a pha bethau bynnag a orchymmynnom ni, maent yn wirionedd diammau, ac yn ymadroddion nefol yr yspryd glân.

Fel y bo i chwi yn well ddeall gwendid y ddadl hon, fe fydd anghenrhaid dangos i chwi yn gyntaf pa beth yw gwir eglwys Grist, a chwedi hynny ei chyffelybu hi ac eglwys Rufain, fel y geller gweled pa fodd y mae'r naill yn cyttuno â'r llall. Gwir eglwys Grist yw cynnulleidfa neu gyddymdeithas

gyffredinol y ffyddloniaid ac etholedig bobl Dduw, wedi ei hadeiladu ar sail yr Apostolion ar prophwydi, ac Iesu Ghrist ei hun yn bencongl-faen. Ac y mae iddi yn wastadol dri nôd neu farc, trwy y rhai yr adnabyddir hi. Athrawiaeth bur ddifreg, ministro y Sacramentau yn ol sanctaidd ordeinhâd, ac iawn arfer *llywodraeth eglwysig. Mae y portread ymma ar yr Eglwys yn gyttunol ag Scrythyrau Duw, ac ag athrawiaeth yr hên dadau, fel na all neb yn gyfiawn feio arno. Bellach os cyffelybwch yr Eglwys ymma ag eglwys Rufain, nid megis yr oedd hi yn y dechreuad, ond fel y mae hi yn awr ac y bu hi er ys nawcant o flynyddoedd ac ychwaneg: chwi a ellwch weled yn hawdd fod ei stât hi mor bell oddiwrth naturiaeth y wir eglwys ac nas dichon dim fod bellach. O blegid nid adeiladwyd hwy ar sail yr Apostolion a'r prophwydi, gan gynnal pur ac iachus athrawiaeth Christ Iesu, ac nid ydynt nac yn trin y sacramentau, nac yn arfer *agoriadau'r eglwys, yn y modd y gosododd ac yr ordeiniodd ef hwy ar y cyntaf: ond hwy a gymmyscasant eu traddodiadau a'u dychymmygion eu hunain, gan newid a chyfnewid, ychwanegu a thynnu ymmaith, fel y gellir canfod eu bod hwy yn awr wedi eu troi ar ddull newydd.

* Discyblaeth.

* Allweddau.

Fe a orchymmynnodd Christ i'w Eglwys Sacrament ei gorph a'i waed: hwythau a'i newidiasant ef yn aberth tros fyw a meirw. Fe a ministrodd Christ y Sacrament hwn i'w Apostolion, a'i Apostolion i eraill yn ddiwahanol yn y ddwy ryw: hwythau a yspeiliasant y bobl o'r cwppan, gan ddywedyd fod un rhyw yn ddigon iddynt hwy. Nid ordeiniodd Christ arfer yn y Bedydd un *elfen ond dwfr yn

* Element.

unig.

unig, yr hwn pan gysyllter y gair ag ef, a wnair
(medd S. Augustin) yn Sacrament cyflawn per-
ffaith: maent hwythau, gan dybied eu bod yn ddo-
ethach na Christ, yn credu na wneir mo hono yn
iawn ac yn drefnus, oddieithr iddynt arfer rhyw
swyn-gyfaredd, oddieithr iddynt fendigo'r dwfr,
oni bydd olew a halen a phoeryn a chanwyllau,
a'r cyfryw Ceremoniau mudion eraill, heb wa-
sanaethu i adeiladu yn y byd, yngwrthwyneb i
reol olau Sanct Paul, yr hwn sydd yn gorchym- 1.Cor.1.14.
myn gwneuthur pob peth yn yr Eglwys er adei-
ladaeth. Fe a ordeiniodd Christ awdurdod yr
* agoriadau i escymmuno pechaduriaid cyhoe- * Allwyddau.
ddus, ac i ollwng a rhyddhau y rhai a fo gwir
edifeiriol: maent hwythau yn cam arfer y gallu
hwnnw fel y gwelont hwy fod yn oreu; gan fell-
dithio'r duwiol â llyfr a chlôch a chanwyll, a chan
ryddhau'r annuwiol y rhai a wyddys eu bod yn
an-nheilwng o gydymdeithas Christianogion: a
phwy bynnag a fynno weled siampl o hyn, chwi-
lied eu bucheddau hwy. Ar ychydig eiriau, edry-
chwch beth a ddywedodd ein Iachawdwr Christ
am yr scrifenyddion a'r Phariseaid yn yr Efengyl,
hynny a ellir ei ddywedyd yn * hyfach a chydwybod * Eofn.
dda am escobion Rhufain, sef darfod iddynt ym-
wrthod, a'u bod yn ymwrthod beunydd a gor-
chymmynion Duw, i osod i fynu eu traddodiadau
eu hunain.

Gan fod hyn yn wir, fel y mae yn rhaid i bawb ac
sydd gantho ddim goleuni yngair Duw gyfaddef,
ni a allwn ddiweddu â rheol S. Augustin: Nad
yw escobion Rhufain a'u canlynwyr, yn wir Eg-
lwys Grist, llai o lawer y dylid eu cymmeryd
hwy yn bennaethiaid ac yn llywodraethwyr ar

yr Eglwys. Pwy bynnag (medd ef) sydd yn an-
Aug. contra Petil. Donatistæ epistol. cap. 4. ghytuno â'r Scrythyrau ynghylch pen yr E-
glwys, etto nid ydynt hwy o'r eglwys er eu bod
hwy ym-mhob man ac y mae'r Eglwys. Dyna le
eglur, yn profi yn amlwg yn erbyn eglwys Ru-
fain.

Pa le yn awr y mae'r Yspryd glân, yr hwn y maent hwy yn ymarddel o hono mor daer? Pa le yn awr y mae Yspryd y gwirionedd, yr hwn ni oddef iddynt gyfeiliorni? Os possibl ei fod ef lle nid yw gwir Eglwys Grist, mae efe yn Rhufain: ac onid e nid yw'r cwbl ond gwagfost, heb ddim amgen.

Mae S. Paul, fel y clywsoch o'r blaen, yn dy-
Rom. 8, 9. wedyd, Os oes neb heb Yspryd Christ ynddo, nid yw hwnnw yn eiddo ef. A chan droi y geiriau, fe a ellir dywedyd yn wir, Yr hwn nid yw yn eiddo Christ, nid yw'r Yspryd gantho. Yn awr fel y gallom adnabod pwy sydd yn eiddo ef, a phwy nid ydyw, fe a roddwyd i ni y rheol hon, fod ei ddefaid
Ioa. 10. ef bob amser yn gwrando ei leferydd ef. Ac y mae S. Ioan yn dywedyd, fod yr hwn sydd o Dduw, yn gwrando geiriau Duw.

Ioa. 8. O hyn y canlyn fod y Pabau wrth fod heb wrando lleferydd Christ, fel y dylent, ond gosod eu traddodiadau eu hunain o flaen eglur air Duw; yn dangos yn oleu i'r byd, nad ydynt hwy o Grist, ac nad yw ei Yspryd ef ynddynt.

Ond yma y dodant hwy drosynt eu hunain, fod llawer o byngciau angenrheidiol heb eu traethu yn yr Scrythur lân, y rhai a adawyd i ddatguddiad yr Yspryd glân. Yr hwn sy wedi ei roddi i'r Eglwys yn ol addewid Christ, ac a ddyscodd lawer o bethau o amser i amser, y rhai ni allai yr

Apo-

Apostolion etto eu dwyn gyd â hwy. Hyn y ga- Ioa. 16.
llwn atteb yn hawdd â geiriau eglur Christ yn
dangos i ni mai swydd briodol yr Yspryd glân yw,
nid appointio ac ordeinio cyfreithiau newydd
yngwrthwyneb i'r athrawiaeth y mae ef gwedy
ei dangos o'r blaen, ond deongl ac egluro y pethau
a ddangosodd ef o'r blaen, fel y gellid eu deall hwy
yn iniawn ac yn dda. Pan ddel Yspryd y gwi-
rionedd, medd ef, efe a'ch tywys chwi i bob gwiri-
onedd. Pa wirionedd y mae efe yn ei feddwl? A Ioa.16.13.
yw efe yn meddwl amgē wirionedd nag a ddatcu-
ddiasai ef ei hun yn ei air? Nag yw. O blegid y
mae efe yn dywedyd, Ef a gymmer o'r eiddofi, ac
a'i mynega i chwi. A thrachefn, Ef a ddwg ar gof Ioa.16.14.
i chwi yr holl bethau a leferais wrthych.

Am hynny nid rhan a dylêd Christion yw, yn
rhith bod yr Yspryd glân gantho, dwyn ei ddy-
chymmygion a'i freuddwydion ei hunan. Ond
rhaid iddo ddarbod yn ddyfal fod ei athrawiaeth
a'i gyfreithiau ef yn cyttuno â Thestament sanc-
taidd Christ. Os amgen, wrth wneuthur yr Ys-
pryd glân yn awdur o'r pethau hynny, mae efe yn
dywedyd celwydd yn erbyn yr Yspryd glan, i'w
golledigaeth ei hun.

Bellach i adel heibio eu hathrawiaeth hwy, ac i
ddyfod at byngciau eraill. Pa beth a dybygwn
ni, neu a farnwn am falchedd afrifed y Pâb?
Mae'r Scrythur yn dywedyd, duw a wrthladd 1.Pet. 5.5.
y beilchion ac a rydd râs i'r rhai ufydd. Ac y mae
hi yn galw yn fendigedig y rhai sy dlodion yn yr
Yspryd, ac yn addo y derchefir y rhai a ymostyngo. Mat.5.3.
Ac y mae ein Iachawdwr Christ yn erchi i bawb Mat.23.12.
o'r eiddo ef ddyscu gantho ef, am ei fod yn llaryeidd Luc. 14.11. & 18.14.
ac yn ostyngedig o galon. Am falchedd, mae S.

Gregori yn dywedyd mai gwreiddyn pob drygioni yw hi. A barn S. Augustin yw ei bod hi yn gwneuthur dynion yn gythreuliaid.

Am hynny, a all un dyn ac a ddarllennodd neu a ddarllenno fucheddau 'r Pabau, ddywedyd yn gywir fod yr Yspryd glân ynddynt hwy? Yn gyntaf lle y mynnant eu galw yn Escobion cyffredinol ac yn ben ar holl eglwysydd Crêd, mae gennym farn Gregori yn eglur yn eu herbyn hwy, yr hwn wrth scrifennu ac Mauritius yr Ymmerodr, sydd yn condemnio Joan Escob Constantinopol am yr un peth, ac yn ei alw ef am hyn yn dywysog balchedd, yn ganlynudd Lucifer, ac yn flaenorwr Anghrist. S. Bernard hefyd sydd yn cyttuno a hyn ac yn dywedyd, Pa falchedd mwy a all fod, ná bod i un dŷn osod ei farn ei hunan o flaen barn yr holl gynnulleidfa, fel pe byddai yspryd duw ynddo ef yn unig? Ac mae S. Chrysostom yn cyhoeddi barn erchyll yn eu herbyn hwy, gan ddywedyd yn oleu, Pwy bynnag a geisio bod yn bennaf ar y ddayar, y caiff ef wradwydd yn y nef; a'r hwn ymdrecho am fod yn oruchaf, na chyfrifir ef ym-mhlith gweision Christ. A thrachefn y dywaid, Peth da yw dymuno gwaith da, ond ceisio y radd bennaf o anrhydedd, sydd wagedd diledryw. Onid yw y lleoedd hyn yn ddigonol yn argyoeddi eu balchedd anllywodraethus hwy yn cymmeryd arnynt eu hunain oruchafiaeth uwch law pawb eraill, cystal gweinidogion ac Escobion, a brenhinoedd ac ymmerodron? Ond fel yr adwaenir y llew wrth ei ewinedd, felly dyscwn ninnau adnabod y gwŷr hyn wrth eu gweithredoedd.

Lib 3.Ep.76. 78.

Ser 3.de resur. Dom.

Dial.lib.3.

Super Mat.

Pa beth a ddywedwn ni am yr hwn a barodd rwymo y brenhin ardderchog Dandalus á chadwyn

wyn *erbyn ei wddf a gorwedd dan ei fwrdd ef a * Ger ei wddwg.
chnoi escyrn fel ci? A ddywedwn ni fod gantho ef
yspryd Duw yntho: ac nid yn hytrach yspryd dia- Sabellic, Ennead.9.l.7.
fol? Y cyfryw dyrant creulon oedd Bab Clemens
y chweched. Pa beth a ddywedwn ni am yr hwn
a *lathrodd yr ymmerodr Frederic yn falch ac yn
ddirmygus tan ei draed, gan ddywedyd am dano * Ddansiolodd.
ei hun y wers hon o'r Psalm. Ar y llew a'r asp Psal.91.13.
y cerddi, ar genaw llew a'r ddraig y sethri? A ddy-
wedwn ni fod gantho ef yspryd Duw ynddo, yn-
tau yn hytrach yspryd diafol? Y cyfryw dyrant
oedd Bâb Alexander y chweched. Pa beth a ddy-
wedwn am yr hwn a arfogodd ac a annogodd y
mâb yn erbyn ei dâd, gan beri ei ddal ef a'i newy-
nu i angeu, yn erbyn cyfraith Dduw a na-
turiaeth hefyd? A ddywedwn ni fod yspryd
Duw ynddo, ynteu yn hytrach yspryd diafol? y
cyfryw dyrant oedd y Pab Paschalis yr ail. Pa
beth a ddywedwn am yr hwn a ddaeth i'w Baba-
eth fel *llwynog, a reolodd fel llew, ac a fu farw * Cadno.
fel ci? A ddywedwn ni fod Yspryd Duw yndo, yn-
teu yn hytrach Yspryd diafol? y cifryw dyrant oedd
y Pâb Bonifacius yr wythfed. Pa beth a ddywe-
dwn am yr hwn a wnaeth i Harri yr ymmerodr a'i
wraig a'i blentyn ieuaingc sefyll wrth borth y ddi-
nas yn y gayaf garw yn esceirnoeth droednoeth,
heb ddim yn eu cylch ond gwlanen deneu heb
fwytta dim o'r boreu hyd yr hwyr, a hynny tros
dri diwarnod? A ddywedwn ni fod Yspryd Duw
ynddo, ynteu yn hytrach yspryd diafol? y cyfryw
dyrant oedd y Pâb Hildebrand.

Llawer o siaplau erill a ellid eu hadrodd ymma,
megis am y Pâb Ihoan y buttain honno, yr hon a
*escorodd ar blentyn yn yr heol wrth gerdded pro- * Ganed iddi.
sessiwn: am y Pâb Iulius yr ail, yr hwn o'i wir-fodd

a

*Ffettanau.

a daflodd agoriadau Petr i afon Tibris: am y Pâb Urban y chweched yr hwn a barodd ddodi pump o Gardinaliaid mewn * sachau a'u boddi: am y Pâb Sergius y trydydd yr hwn a erlidiodd gorph marw ei flaenor Formosus a gladdesid er ys wyth mlynedd: am y Pâb Ioan y pedwerydd ar ddêg o'r henw hwnnw, yr hwn pan gafodd ei elyn mewn gafael, yn gyntaf a barodd ei ddiosc yn noeth lymmyn, ac eillio ei farf, a'i grogi erbyn ei wâllt tros ddiwrnod cyfan, ac yno ei osod ar assen a'i wyneb yn ôl, a'i ddwyn felly amgylch y ddinas o ddirmyg arno, a'i guro yn flin â gwiail, ac yn ddiweddaf oll ei yrru allan o'i wlâd, a'i ddeol a'i afwladu yn dragywydd.

Ac i ddibennu, cymmerwch y wers hon ar fyrr eiriau, Pa le bynnag y gweloch yspryd rhyfyg a balchder, yspryd cenfigen a chasineb, ac ymryson, a chreulonder, llofruddiaeth, cribddail, swyn-gyfaredd, consurio, a'r cyfryw; byddwch siccr mai yspryd diafol sydd yno ac nid yspryd Duw, er maint y rhith sancteiddrwydd a gymmeront arnynt yngolwg y byd. Oblegid fel y mae'r Efengyl yn ein dyscu ni, Yspryd Iesu yspryd daionus yw, yspryd sanctaidd, yspryd llarygidd, yspryd gostyngedig, yspryd trugarog, yn llawn caredigrwydd a chariad, yn llawn trugaredd a thisturi, heb dalu drwg am ddrwg, na chreulonder am gariad, ond â daioni yn gorchfygu drygioni, ac yn maddeu pob camwedd o eigion ei galon.

Yn ôl y rheol hon pwy bynnag a fyddo byw, am dano ef y gellir dywedyd yn ddiogel fod gantho Yspryd Duw ynddo: os amgen, dyna arwydd eglur ei fod ef yn cymmeryd arno enw'r Yspryd glân yn ofer.

Am

Am hynny, fy anwyl garedigion, yn ôl cyngor da Ioan sanct, Na chredwch bob yspryd, eithr profwch yr yspryddion ai o Dduw y maent. Llawer medd Christ, a ddeuant yn fy enw i, ac a ymrithiant yn rhith angylion y goleuni, ac a dwyllant, pe bydde bossibl, yr etholedigion. Hwy a ddeuant attoch yngwiscoedd defaid, onid oddifewn bleiddiaid rheibus ydynt. Fe fydd ganthynt oddiallan rith sancteiddrwydd mawr a diniweidrwydd bywyd, megis y bydd anhawdd i chwi eu hadnabod hwy. Ond dymma y rheol fydd raid i chwi ei chanlyn, wrth eu ffrwyth yr adnabyddwch hwy. O blegid os byddant anuwiol a drwg, am-mhossibl yw bod y pren yn dda, yr hwn y maent yn tyfu arno. Cyfryw rai oedd holl Bâbau Rhufain gan mwyaf, fel y mae yn eglur yn histori eu bucheddau hwy. Am hynny da y cyfrifir hwy ym-mhlith y gau brophwydi a'r gaugristiau, y rhai a dwyllasant y byd tros gyhyd o amser.

1.Io.4.1.
Mat.24.24.
Mat.7.15.
Mat.7.16.

Arglwydd nef a daear an hymddiffynno ni rhag eu creulonder a'u balchder hwy, fel na ddelont hwy byth i'w winllan ef, i drallodi ac i darfu ei braidd bychan ef: ond cael o honynt eu gwradwyddo a'u gorchfygu ym-mhob man o'r byd: a'r un Arglwydd o'i fawr drugaredd a weithio ynghalon pob dyn, trwy alluog nerth yr yspryd glân, fel y bo pregethu a derbyn a chanlyn yn gywir ddiddanus efengyl ei fab ef Iesu Ghrist ym-mhob lle, er curo i lawr bechod, ac angau a'r Pab a'r cythraul a holl deyrnas Anghrist, fel y gallom ni o'r diwedd fel defaid gwascaredig wedi eu casclu ynghyd i'r un gorlan, gael gorphywys ynghyd ym-mynwes Abraham, Isaac a Iacob, a bod ynno yn gyfrannogion o'r bywyd tragwyddol heb drangc heb orphen

trwy

trwy haeddigaethau Iesu Grist ein Iachawdwr. Amen.

## ¶ Homili neu bregeth ar wythnos y derchafael, Bod pob peth daionus yn dyfod oddiwrth Dduw.



R wyf fi yn bwriadu heddyw, Gristianogion daionus, fanegi i chwi haeddedicca f glod a chanmoliaeth yr Holl-alluog Dduw, nid yn unig wrth ystyried rhyfeddol greadwriaeth y byd hwn a'i gadwedigaeth a'i lywodraeth, yn yr hyn y mae ei allu a'i ddoethineb ef yn ymddangos yn odidog, i'n * cynnyrfu ni i'w anrhydeddu ac i'w ofni ef; ond yn enwedig wrth ystyried ei helaetha'i haelionus ddaioni ef yr hwn y mae ef yn ei roi beunydd i ni ei greaduriaid rhesymmol ef, er mwyn y rhai y gwnaeth efe'r holl fyd a'i holl gymmwynasau a'i olud. Pe cofiem ni yn dda ac yn ddyfal ei ddaioni godidog hyn, fe a ddylai ein cyffroi ni hefyd i'w garu ef o wir ewyllys ein calonnau, ac i'w glodfori ef mewn gair a gweithred, ac i'w wasanaethu ef holl ddyddiau ein heinioes.

Cyffro.

Ac yr ydwyf yn gobeithio nad rhaid i mi lawer o amgylchion geiriau i'ch cyffroi chwi i wrando yn ddyfal ar beth mor wiw i mi ei draethu ac mor fuddiol i chwithau ei wrando. Yn unig mi a ewyllyswn fod eich meddyliau wedi eu dirgel gynhesurynoch, i* gynhyrfu ynoch ddiolchgarwch i ddaioni yr Holl-alluog Dduw ymmhob pwngc ar a egorer

Gyffro.

egorer i chwi yn naillduol yn fy-nrhaethawd i. Og amgen, pa beth a dâl i ni wrando a gwybod mawr ddaioni Dduw tu ag attom, a gwybod fod pob peth daionus yn dyfod oddiwrtho ef, megis o lygad y ffynnon ac oddiwrth unig awdur pob dâioni: neu wybod fod yn rhaid i bob peth ac a ddelo oddiwrtho ef, fod yn ddaionus ac yn iachus: oni phair ei glywed ef i ni ddim ond ei wybod yn unig: Beth a fu well doethion y byd er bod ganthynt wybodaeth am allu a Duwdod Duw, trwy ei ddirgel yspyrdeliaeth ef: a hwytheu heb ei anrhydeddu a'i ogoneddu ef yn eu gwybodaeth, megis Duw? Pa glod oedd iddynt hwy weled ei ddaioni ef, wrth ystyried creadwriaeth y byd, a hwythau heb fod yn ddiolchgar iddo am ei greaduriaid? Pa beth a haedddodd y dallineb a'r anniolchgarwch hyn ar law Dduw, ond bod iddo ymwrthod a hwy yn gwbl: ac felly gwedi i Dduw eu gwrthod, ni allent amgen na chwympo i eithaf anwybodaeth ac amryfysedd. Ac er eu bod hwy yn gwneuthur cyfrif mawr o honynt eu hunain yn eu synwyr a'u gwybodaeth, ac yn ymogoneddu yn eu doethineb: etto hwy a ddifannasant ynnallineb eu meddyliau, ac a aethant yn ffoliaid, ac a gyfrgollwyd yn eu ffolineb. Ni all bod amgen diwedd i'r rhai a nessânt at Dduw trwy wybodaeth, ac a ânt oddiwrtho trwy anniolchgarwch, ond dygyn golledigaeth. Rom.1.21.

Fe a welodd Dafydd yn ei ddyddiau ef fod hyn yn wir. O blegid mae efe yn dywedyd yn ei Psalmau, wele difethir y rhai abellânt oddiwrthit, peraist dorri ymmaith bob un a butteinio oddiwrthit. Fe a welodd y sanctaidd broph wyd Jeremi fod hyn yn wir, O Arglwydd, medd ef, y rhai Psa.73.27.

oll a'th wrthodant a wradwyddir, scrifenner yn y ddayar y rhai a giliant oddiwrthit ti, am iddynt adel yr Arglwydd, ffynnon dyfroedd y bywyd.

Ni wna lles, bobl ddaionus, gwrando manegi daioni Duw, oddieithr i hynny ennynnu ein calonnau i'w anrhydeddu ef ac i ddiolch iddo. Ni wnaeth lles i'r Iuddewon, er eu bod yn bobl ddewisol Dduw, wrando llawer am Dduw, gan na dderbyniasant ef i'w calonnau trwy ffydd, ac na ddiolchasant iddo am y doniau a roddodd efe iddynt: eu hanniolchgarwch hwy a fu achos o'u distryw.

Gwachelwn ni arfer y cyfryw rai, a chanlynwn yn hytrarch siampl yr Apostol bendigedig S. Paul, yr hwn pan welodd ef mewn dwfn fyfyrdod, ryfeddol weithredoedd yr holl-alluog Dduw, ac ystyried anfeidrol ddaioni Duw yn trefnu ei greaduriaid, fe a dorrodd allan yn y diwedd i'r geiriau hyn, O hona'w ef, a thrwyddo ef, ac ynddo ef y mae pob dim oll. A chwedi iddo adrodd y geiriau hyn, ni safodd ef ar hyn yn unig, ond yn y man fe a gyssylltodd y geiriau hyn, Iddo ef y byddo gogoniant yn oes oesoedd, Amen. Ar sail y geiriau hyn eiddo S. Paul y mae yn fy mryd i wrandawyr, adailad fy-nghyngor i chwi heddyw. Lle y gwnâf fy-ngorreu, yn gyntaf ar brofi i chwi fod pob dawn daionus a phob rhodd berffaith yn discyn oddiuchod, oddiwrth Dâd y goleuni.

Rom.11.36.

Iac.1.17.

Yn ail, mai Iesu Ghrist ei Fab ef yw'r cyfrwng trwy'r hwn yr ydym yn derbyn ei haelionus ddaioni ef.

Yn drydydd, mai trwy allu a rhinwedd yr Yspryd glân yr ydys yn ein gwneuthur ni yn addas ac yn abl i dderbyn ei ddoniau a'i radau ef.

Yr

Yr hyn bethau os ystyriwn bob un o'r naillu tu, acyn bwyllog yn ein meddyliau, hwy a'n cym-mhellant ni mewn parch gostyngedig, yn ôl ein rhwymedig ddlŷed, i roddi diolch iddo â thystio-laeth ein calonnau am ei haeddedigaethau ef tu ag attom ni. Ac fel y bo traethiad y peth sydd gen-nym yn llaw, er gogoniant i'r holl-alluog Dduw, galwn o un fydd a chariad ar Dâd y drugaredd, oddiwrth yr hwn y mae pob dawn daionus, a phob rhodd berffaith yn dyfod, trwy gyfryngad ei anwyl fâb ein Iachawdwr, ar ini gael ein cyn-horthwyo trwy *gydrychioldeb ei Yspryd glân ef, ac ac ar ini ymddwyn yn iachus o'n rhan nin-nau, wrth ddywedyd, ac wrth wrando, er iechyd-wriaeth ein eneidiau.

*Bresennoldeb.

Ynnechreuad fy ymadrodd wrthych, Gristio-nogion da, na thybygwch fy mod yn cymeryd ar-naf fynegi i chwi odidawg allu, a doethineb an-nhraethadwy yr holl-alluog Dduw: fel pa myn-nwn i chwi gredu y gellir mynegi hyn i chwi mewn geiriau. Nagê, ni ellir tybied y gall geiri-au dŷn gynnwys y peth ni all dim ei ymgyffred. A gormodd rhyfyg yw i *lethrod a lludw dybied y gall ef yn gymhessur fanegi sylwedd ei wneuthu-rwr. Mae 'n myned ymmhell tuhwnt i ddeall doe-thineb un dŷn marwol, draethu yngwbl ei ddu-wiol fawrhydi ef, yr hwn ni all yr angylion dde-all mo hono. Am hynny ni a adwn heibio sôn am aniã ddyfn anchwiliadwy yr holl-alluog Dduw, gan gydnabod ein gwendid yn hytrach nag yn ynfyd geisio cynnwys yr hyn sydd uwch law deall dŷn. Gweddusach yw i ni mewn gostyngeiddr-wydd issel, berchi ac ofni ei fawrhydi ef yr hwn ni allwn ei ymgyffred, nag wrth chwilio 'n rhy fa-

*Lwch.

nol

nol cael ein gorthrechu a'i ogoniant ef. Ni a drown yn gyntaf ein holl gydsynnaid dros ennyd i atteb ei ddaioni ef tuag attom yn yr hyn atrafaelwn yn fuddiolach, ac y gallwn yn * eofnach chwilio.

Mysach.

Ni ddichon ystyried ei fawr allu ef ond gwneuthyr i ni * echrydio, ac ofni: fe allai ystyriaeth ei uchel ddoethineb ef yn hollol ddigalonni ein gwendid ni, fod ini ddim a wnelom ag ef: ond wrth ystyriaid ei ddaioni anfeidrol ef, yr ydym yn *ymeofnhau ailwaith i ymddired yn dda iddo ef. Trwy ei ddaioni ef yr ydym ni yn ymsiccrhau ac ei gymeryd ef yn ymddiffynfa, yn obaith, ac yn ddiddanydd, yn Dad trugarog yn holl lwybrau'n heinioes. Mae ei allu a'i ddoethineb ef yn ein tymmell ni i'w gymmeryd ef yn Dduw hollalluog, anweledig, yr hwn sydd yn teyrnasu yn y nef, ac ar y ddaer, a chanttho bob peth dan ei draed, ac ni fyn neb o'i gyngor, na neb i ofyn rheswm am ei weithred. Oherwydd fe all wneuthur y peth y fynno, ac ni all neb sefyll yn ei erbyn ef. Oachos mae fe'n gweithio pob peth yn ei farn ddirgel, fal y mae yn fodlon gantho fe: ie y drygionus i ddamnedigaeth fal y dywad Salomon. Oachos yr anian hyn y gelwir efe yn yr scrythyr yn dan yfol, ac yn Dduw ofnadwy. O'r rhan hyn am hynny ni allwn ni gael cyfaillach ag ef, na dyfodiad atto. Ond mae ei ddaioni ef ailwaith yn tymheru tosted ei uchel allu ef, yn ein * eofnhau ni, ac yn ein dodi ni mewn gobaith, y bydd ef gyda ni, ac y bydd ef yn esmwyth wrthym.

Arswydo.

Ymhyfhau.

Ei ddaioni sydd yn ei gynhyrfu ef yn yr scrythyr i ddywedyd, Hoff yw gennyf fod gyda maibion dynion, Ei ddaioni ef sydd yn ei gynhyrfu ef i'n

galw

galw ni atto, i gynnyg i ni ei gymdeithas, a'i bre-
sennolder. Ei ddaioni ef sydd yn goddef yn oddef-
gar i ni gyfeilio'rni oddi wrtho, ac i ymaros wr-
thym ni yn hir, er ein hennill ni ietifeirwch. O'i
ddaioni y gwnaeth ni yn greaduriaid rhesym-
mol, ac ef yn gallu ein gadel ni yn anifeiliaid an-
rhesymmol. Ei drugaredd ef oedd gael o hanom
ni ein geni ym-mysc Christionogion; a thrwy
hynny bod yn nês o lawer i iechydwrieth ac i
obaith bywyd tragwyddol, lle gallessid (oni bai
ei ddaioni ef) ein geni ni ymmysc paganiaid heb
Dduw ac heb obaith bywyd tragwyddol. A pheth
y mae ei laferydd caredig mwyn ef yr hwn a drae-
thir yn ei air ef, (lle y mae efe yn ein galw ni i'w
bresenoldeb a'i gymdeithias) yn ei fanegi amgen,
onid ei ddaioni ef yn unic heb * synned am ein hae- *Edrych.
ddiant ni? a pheth amgen sydd yn ei gyffroi ef i'n
galw ni atto pan ydym yn cyfeilio'rni oddiwrtho,
i'n goddef ni yn oddefgar er ein hennill i etifeir-
wch heb un tippyn o'n haeddiant ni? Dased y
rhai y sydd gwedi eu gogoneddu yn y nef, yn awr
oll ynghyd, a gwrandawn pa atteb a wnelont
hwy yn y pyngciau a soniassom ni o'r blaen am
danynt, pa un ydoedd eu cread cyntaf hwy ai o
ddaioni Duw, ai o hanynt eu hunain. Yn wir fe
a attebai Ddafydd, ac a ddywedai drostynt oll,
Gwybyddwch yn sicr mai'r arglwydd yw Duw,
efe a'n gwnaeth ac nid ni ein hunain. Pe gofyn-
nid iddynt ailwaith i bwy y dlyid diolch am eu
chyfiawnhâd hwy, ac am eu iechydwriaeth hwy?
pa un ai i'w haeddiant hwy ai i unic ddaioni
Duw?

Er bod pob un yn y pwngc hyn yn addef yn ddi-
gonol wirionedd y peth hyn yn ei berson ei hun.

etto attebed Dafydd ar hyn o amser, megis eu genau hwy oll; yr hwn ni ddichon ddewis na ddywedo, Nid i ni o Arglwydd ond i'th enw di y rhoddir pob diolch, er mwyn dy drugaredd a'th wirionedd di. Os gofynnwn ni ailwaith o ba le y daeth eu gweithredoedd a'u gorchwylion gogoneddus hwy, y rhai a wnaethont yn eu hoesoedd, â'r rhai y boddlonasant ac yr addolasant hwy Dduw yn gymmaint: hebryngwn i mewn ryw dyst arall i destiolaethu yr un peth, fel yngenau dau neu dri yr adnabydder y gwirionedd.

Es.26. Yn wir mae 'r prophwyd Esai yn testiolaethu gan ddywedyd, O Arglwydd ti a'th ddaioni a wneuthost yr holl weithredoedd hyn ynom, ac nid ni ein hunain. Ac er cynnal i fynu wirionedd y peth hyn, yn erbyn yr holl ymgyfiawnhawyr, a'r hypocritiaid, y rhai a yspeiliant yr holl-alluog Dduw o'i anrhydedd, ac a'i rhoddant iddynt eu hunain, mae Saint Pawl yn dwyn i mewn hyn,
2.Cor.3. Ni allwn ni, medd ef, o hanom ein hunain megis o hanom ein hunain, feddwl un meddwl da: ond mae 'n holl allu ni, o ddaioni Duw, o herwydd yndo efe y mae i ni oll ein bod, ein bywyd, a'n
* Cwhw-fan. * cynhyrfiad. Os mynnwch wybod etto ymmhellach pa le y cawsant hwy eu rhoddion, a'u aberthau, y rhai a offrymment hwy yn wastad yn eu bywyd i'r holl-alluog Dduw, ni allwn lai na chydtuno â Dafydd, lle mae fe yn dywedyd, O'th law hael di, o Arglwydd, y derbyniasom yr hyn a roddasom i ti. Am hynny os ydyw 'r compni sanctaidd hyn yn addef mor * eofn fod yr
* Hyf. holl ddaioni a'r rhadau, â 'r rhai y cynyscaeddid eu heneidiau hwy', yn dyfod oddi-wrth ddaioni Duw yn unic, beth rhagor a ellir i ddywedyd i

*brusso fod pob daioni yn dyfod oddiwrth yr holl-alluog Dduw? Ai addas i ni dybied fod pob daioni ysprydol yn dyfod oddiwrth Dduw, oddi-uchod yn unic, a bod un daioni arall megis daioni natur neu ffortun (fal y galwn hwy) yn dyfod o un achos arall? ydyw Duw a'i ddaioni yn harddu 'r enaid a'i holl alluon, megis y mae efe, ac a ddaw y doniau â 'r rhai y cynnysgaeddir y corph oddi-wrth neb arall? Os ydyw ef yn gwneuthur yr hyn sydd fwyaf, oni all ef wneuthur yr hyn y sydd lai? Mwy o waith (medd Sainct Awstin) yw cyfiawnhau pechadur, a'i greu ef o newydd o ddyn drwg yn wr cyfion, na gwneuthur o newydd y nef, a'r ddayar, yn y modd y gwneuthpwyd hwy eisoes. * Brofi.

Rhaid yw ini gyfaddo pa wyddaioni bynnag sydd ynom, o rad, o natur, neu o ffortun, ei fod o Dduw yn unic, megis yr unig awdur a'r gwneuthurwr. Ac etto ni ddlyid meddwl ddarfod i Dduw greu yr holl fyd cyffredinawl yn y modd y mae efe, ac iddo ef gwedi ei wneuthur ef unwaith, roddi i fynu ei reolaeth ef, ac y gallwn ni am hynny ei arfer ef yn ol ein synhwyrau a'n dychymygion ein hunain, ac felly nad ydyw ef yn cymeryd dim mwy o ofal amdanaw: megis y gwelwn fod y saer llongau wedi iddo orphen gwneuthur ei long, yn ei rhoi hi yn llaw 'r llongwr, heb ofalu mwy am dani. Nage, ni chreodd Duw y byd, a bod gwedi hynny heb ofalu am danaw, ond mae fe yn cadw hwn yn wastad â'i ddaioni, mae yn ei gynnal bob amser yn ei gread: o herwydd yn amgen, heb ei ddaioni enwedigawl ef, ni allai sefyll yn ei ssat.

O'r achos hyn y mae Saint Paul yn dywedyd.

Heb.1.3. Y mae fe 'n cadw ac yn cynnal pob peth â'i air rhag iddynt hebddo ef gwympo yn ddiddim o'r hyn y gwneuthpwyd hwy. Oni byddai fod y daioni hyn yn bresennol ym-mhob lle, fe a ai bob creadur allan o'i iniawn drefn, ac ni byddai un creadur yn ei iawn gynneddf, yn yr hon y crewyd ef. Mae fe am hyn yn anweledig ym-mhob lle, ac ym-mhob creadur ac yn cyflawni nêf a dayar â'i bresennolrwydd: yn y tân i roddi gwrês, yn y dwfr i roddi gwlybni, yn y ddayar i roddi ffrwyth, yn y galon i roddi nerth, ie mae fe yn ein bara ni a'n diod i roddi ymborth ini, o herwydd hebddo ef ni all y bara a'r ddiod roddi llyniaeth, na llyseuyn iechyd. Fal yr addef y gwr call yn oleu, gan ddywedyd, nid amledd ffrwythau sydd yn porthi dynion, ond dy air di o Arglwydd a geidw y rhai a ymddiredant ynoti. Ac mae Moses yn cyfuno â hynny, lle mae fe yn dwedyd nad ydyw dŷn yn byw ar fara 'n unig, onid ar bob gair ac y sydd yn dyfod o enau 'r Arglwydd. Nid y llysewyn na 'r eli sydd yn rhoddi iechyd, onid dy air di, o Arglwydd (medd y gwr call) y sydd yn iachau pob peth.

Am hynny nid gallu y creaduriaid sydd yn gweithio yn ffrwythlawn onid daioni Duw sydd yn gweithio yndynt. Yn ei air ef yn wir y mae pob peth yn sefyll. Trwy y gair hwn y gwneuthpwyd nef a daiar, a thrwy y gair hwn y cynhelir, y maentaenir ac y cedwir hwy mewn trefn, medd S. Petr, ac y byddant hwy hyd oni thynno 'r hollalluog Dduw ei allu oddiwrthynt, ac y gosodo ef eu gollyngdod hwy.

Oni byddai fod daioni Duw fal hyn yn ffrwythlon yn ei greaduriaid i'w rheoli hwy, pa fodd y gellid cadw y mor mawr yr hwn sydd yn rhuo, ac

yn

yn trafaelu i orchguddio 'r ddaear, o fewn ei der-
fynau a'i dorlennydd, fal y cedwir efe.

Fe welodd y gwr sanctaidd Job yn eglur dda-
ioni Duw yn y pwngc hyn, ac a addefodd oni by-
ddai fod espyssawl ddaioni duw yn cadw y ddaear,
na ellyd na orchgiddiai y môr hi, mewn ychydig
amser. Pa fodd y gallai yr elementau a hwy mor
anghyttun ac mor wrthwyneb i'w gilydd, gyfu-
no ac aros ynghŷd mewn heddwch er ein gwasa-
naethu ni heb ddifetha ei gilydd, oni byddai fod
daioni Duw felly yn eu tymhertu hwy? pa fodd
na loscai ac na ddifai y tân y cwbl oll, pe gollyn-
gid ef i fyned lle y mynnai, a phe nad attelid ef
trwy ddaioni Duw o fewn ei rôd, i wressogi yn
fesurol y creaduriaid isod hyn i'w haeddfedu?

Ystyriwch anfeidrol faint y ddayar, mor drom
ac mor fawr yw hi: pa fodd y gallai hi sefyll mor
ddiogel yn y lle y mae hi, oni byddai fod daioni
duw yn ei chynnal hi, i ni i drafaelu arni? Tydi
(medd Dafydd) o Arglwydd a seiliaist y ddayar,
â'th air y cynhaliaist hi, fel nad yscogai, ac na
chwympai.

Ystyriwch yr anifeiliaid a'r pyscod cryfion, etto
trwy ddaioni Duw ni orchfygant yn ein herbyn,
onid hwy a gedwir mewn caethiwed i'n gwasa-
naethu ni. Oddiwrth bwy y daeth y gyfarwyddyd
hyn i'w * gormeilio hwy, ac i wneuthur iddynt * Gorescyn.
wasanaethu er budd inni? ai o ymmenydd dŷn?
Nagê, yn hytrach fe ddaeth y gyfarwyddyd hyn
oddiwrth ddaioni Duw yr hwn a gynhyrfodd
ddeall dŷn i gael ei feddwl ar bob creadur. Pwy,
medd Job, a osododd ewyllys a deall ym-mhen
dŷn onid daioni duw yn unic? Ac (fal y dywaid
yr un Job, yr ydwyf fi yn deall fod meddwl ym-

(medd ef) am-mherffaith yw ein synhwyrau, a 'n meddliau a'n amcanion sydd anhyspys. Am hyn ni all neb chwilio ystyr y pethau hyn, oni roi di iddo ddoethineb, a danfon dy Yspryd oddiuchod.

Os ydyw y gŵr call yn addef fod pob peth da o Dduw, paham na chydnabyddwn ninnau hynny? a thrwy adnabod hynny paham nad ystyriwn ein dlyed tu ag at Dduw, ac na roddwn ddiolch iddo am ei ddaioni. Mi a welaf fod gennyf ormod amledd o ddefnydd, a ellid ei ddwyn i mewn i *brufo y peth hyn. * Brofi.

Pe cymmerwn arnaf ddangos pa fodd y mae daioni yr holl-alluog Dduw yn ymddangos ymmhob lle o'r byd yn ei greaduriaid: Mor rhyfedd ydynt yn eu creadurtaeth, mor hardd yn eu trefn, mor anghenrhaid i'n rhaidiau ni: rhaid fyddai i bawb oll gydnabod nad oes iddynt awdur arall onid yr holl-alluog Dduw. Ei ddaioni ef sydd rhaid iddynt ei ganmoll a'i fawrhau, ymmhob lle, i'r hwn y byddo anrhydedd a gogoniant yn oes oes oesoedd, Amen.

¶ Yr ail rhan o'r bregeth ar wythnos y Derchafel.



MJ a fanegais yn y rhan gyntaf o'r bregeth hon (Gristionogion da) i'ch mysyrdod chwi, fawr ddaioni yr hollalluog Dduw ynghread y byd hwn a'i holl harddwch, er mwyn rhaidiau a diddanwch dyn, fel y cyffroid ni yn hytrach i gydnabod ein dyled ailwaith i'w fawrhydi ef. Ac yr ydwyf yn gobaithio ddarfod i hynny gyffro ynoch chwi nid yn unic gredyniaeth, onid hefyd ddarfod eich cyffro chwi i roddi eich diolch yn ddirgel yn eich calonnau i'r holl-alluog Dduw, am ei garedig fwynder.

Ond fe allai y dwedai rhyw ddyn, y cytuna ef ar hyn, fod pob peth daionus a berthyn at yr enaid, neu a grewyd gyda ni yn y corph, yn dyfod oddiwrth Dduw, megis oddiwrth awdur pob daioni, ac nid oddiwrth neb arall; Ond am y pethau sydd allan o hanynt hwy ill dau, y rhai a alwn yn dda ffortun, megis cyfoeth, awdurdod, derchafiad ac anrhydedd, f'allai fod rhai yn tybied eu bod hwy yn dyfod o'n diwidrwydd ni, a dyfaldod ein poen, a'n trafael ni, yn hytrach nag y tybient eu bod yn bethau uwch nadawn naturiaeth.

Yn awr, bobl dda, ystyriwch od oes un awdur o'r pethau hyn yn cyd-weithio a phoen a diwydrwydd dyn, ai addas rhoddi y pethau hynny i neb arall heblaw Duw: fal y camsynnai y cenhedloedd y philosophyddion, a'r beirdd, y rhai a gymmerasant ffortun, ac a'i gwnaethant hi yn dduwies, i'w hanrydeddu am y fath bethau? Na atto duw

Gri-

(Gristionogion da) ini dderbyn yn ddiscri y dychymmyg hyn, y rhai ydym addolwyr y gwir Dduw: gweithredon, ac arferon yr hwn a gyhoeddwyd yn eglur ini yn ei air ef.

Opinionau ac ymadroddion dynion anghredadwy ac nid Christionogion ydyw y rhai hyn, o herwydd maent hwy yn wir yn credu, ac yn dywedyd, (fal y dywad Job) fod Duw yn aros yn y cymmylau, heb ddarbod am danom ni, Epicuriaid ydyw y rhai a ddychymygant fod duw yn rhodio o amgylch y nefoedd, heb ofalu am bethau oddidano, ond bod yr holl bethau hyn yn dyfod wrth siawns neu ddamwain neu trwy drefnid ffortun, ac nad oes gan Dduw un ergid ynddynt. Iob.22. Ddigwydd.

Pa beth yw dywedyd hyn, amgen na thybied gyda'r ffol yn ei galon nad oes Duw? y rhai nid argyhoeddwn ni yn amgen, onid â geiriau Duw ei hun, drwy enau y prophwyd Dafydd, Gwrando, medd efe, fymhobl, mysi ydwyf dy Dduw di, te dy Dduw di mi bieu holl anifeiliod y coedydd, y defaid a'r ychen a grwydrant ar y mynyddoedd, mi a adwen holl adar y nefoedd, gwaith fy nwylaw yw tegwch y maes, holl amgylch y byd, a'r holl amledd y sydd ynddo. Ac ailwaith trwy y prophwyd Jeremi, A dybygi di fy mod i yn Dduw o leoedd agos, ac nad ydwyf Dduw o leoedd pell oddiwrthyf, medd yr Arglwydd? A all dyn ei guddio ei hun mewn lle mor ddirgel, fel nas gwelwyf ef? onid ydwyf yn llanw nef a daear, medd yr Arglwydd? Psal.14. Psal.99.

Pa un o'r ddau hyn a ddalyem ni ei gredu orau? ai ffortun yr hon y maent hwy yn ei phaintio yn ddallo'i dau lygad, yn anwadal yn ei rhodd bob amser, yn-nwylaw yr hon y dywedant fod y pethau

thau hyn? ai yntau Duw, yngallu ac ynnwyplaw yr hwn, y mae y pethau hyn yn wir: yr hwn am ei wirionedd, a'i ddianwadalrwydd, nid argyoeddwyd er ioed etto? o herwyd mae ei olygon ef yn edrych trwy nef a dayar, a gweled y mae ef bob peth yn gydrychiol â'i lygaid, nid oes dim rhy dywyll iddo na rhy guddiedig oddiwrth ei wybodaeth ef, ie ynmeddyliau dirgelein calonau.

Gwir yw fod pob cyfoeth, pob gallu, pob awdurdod, pob iechyd pob llwyddiant, a phob hawddfydd, oddiwrth Dduw, o'r hyn ni chaem ni yn rhan heb ei gyfraniad hael ef, ac oni bai ei fod yn dyfod oddiuchod. Yn gyntaf mae Dafydd yn testiolaethu am gyfoeth a meddiannau:
Psa.104.28. Os rhoddi di lwyddiant, hwy a gynnullant, os agori dy law hwy a lanwir â daioni, ond os troi di dy wyneb oddiwrthynt hwy a drallodir.
Pro.10. Ac fe ddowaid Salomon, Bendith yr arglwydd sydd yn cyfoethogi dynion. A hyn y cyfuna y
1.Sam.2. wraig sanctaidd Anna, lle ydywaid hi yn ei chaniad, Yr arglwydd y sydd gwneuthur yn dlawd, ac yn gwneuthur yn gyfoethog, yn dyrchafu, ac yn tynnu i lawr, efe a ddichon gyfoddi'r anghenus o'i flinder ac o'r dommen, efe a all gyfodi'r tlawd, ai osod i eistedd gyda thywysogion, ac i gael gorseddfa gogoniant: o herwydd efe biau holl derfynau'r ddaiar.

Yn awr os gofyn neb pa welliant y sydd ini o wybod, fod pob dawn daionus, megis doniau naturiaeth a ffortun, (y rhai a alwir felly) a phob rhodd berffaith, megis o râd o blegid yr enaid, yn dyfod oddiwrth Dduw, ac mae ei roddion ef yn unig ydynt hwy? Yn wir am lawer o achosion mae 'n addas ini wybod hynny. O herwydd felly yr

adna-

adnabyddwn, os addefwn ni y gwirionedd, pwy
yn gyfion a ddylyai gael diolch am danynt hwy: fe-
lly y lleihair ein balchedd ni gan ddeall, nad oes
dim yn dyfod o hanom ni ein hunain, onid pechod
a bai: ac os bydd dim daioni ynom, i roddi yr holl
glod a moliant am hynny i'r holl-alluog Dduw, fe
wna hyn ini nad ymdderchafom ymlaen ein cym- Ddiystyrom.
mydogion: ac na * fychanom neb am fod ei ddo-
niau ef yn * ambellach na'n doniau ni, o her- Anamlach.
wydd bod Duw yn gossod ei ddoniau lle y myn-
no: fe wna hyn ini wrth ymyrraid ein doniau,
beidio a'n dderchafu ein hunain ymlaen ein cym-
mydogion. fe wna hyn i'r gwr doeth beidio ac ym-
mogoneddu yn ei ddoethineb, a'r cryf yn ei gryf-
der, ac i'r cyfoethog beidio ac ymogoneddu yn ei
gyfoeth, onid yn y Duw byw, yr hwn yw awdur
yr holl bethau hyn: rhag os gwnaent felly eu ce-
ryddu hwy â geiriau S. Pawl, Pa beth sydd gen-
nyd ac ni dderbyniaist, ac os derbyniaist paham
yr wyt yn ymffrostio fel pe nas derbyniasit?

Pwnc o ddoethineb mawr, fyngymydeithy-
on, yw addef fod pob peth da yn dyfod oddiwrth
yr holl-alluog Dduw, o herwydd wrth addef hyn-
ny ni a wyddom i ba le yr awn i'w ceisio hwy os
bydd eu diffyg hwy arnom, fel y mae S. Iaco yn Iac.1.5.
gorchymmyn ini, gan ddywedyd, Os bydd neb
ac eisiau doethineb arnaw, gofynned hi gan
Dduw, yr hwn sydd yn rhoddi yn helaeth i bawb,
ac heb edliw i neb, ac hi a roddir iddo. Fely gwna-
eth y gwr call, ac yntef ac eisiau y fath rodd arno,
ei daith at Dduw am dani, fal y testiolaetha ef yn
ei lyfr, Yn ol (medd ef) im wybod na allwn fod
yn ddiweir onis caniatae Dduw hynny imi; (ac
megis y mae efe yn scrifennu yno, doethineb uchel
oedd

oedd wybod rhodd pwy oedd hi) mi a frysiais at yr Arglwydd ac a eiriolais yn ddifrif o wraidd fy-ng halon arno ef ar ei chael hi.

Gwae ni, fy-nghymdeithion, nad elem ni at Dduw yn ein diffygion a'n anghenau, megis y mae S. Iaco yn gorchymmyn ini, a'r gwr doeth yn dangos ini ei fyned ef. Mi a fynnwn, pe credem ni yn ddianwadal mai Duw yn unic sydd yn eu rhoddi hwy, o herwydd nid aem ni mwy mor fynych, er cyflawni ein haisiau a'n dyffygion, at y diawl a'i wasanaethwyr fal y gwelir beunydd. O herwydd os bydd diffyg iechyd arnom, i ba le yr aiff y bobl gyffredinawl ond at swynau a hudoliaethau a'r fath eraill o ddichellion diawl.

Ped adnabyddem mai Duw yn unic yw rhoddwr y dawn hyn, ni a arferem y * cyfarddonau a appwyntiodd ef, ac a arhosem ei * arfod ef, hyd oni welai efe fod yn dda roddi hyn ini. Ped adnabyddai y marsiandwr a'r marchnadwr bydol mai Duw sy yn rhoddi cyfoeth, fe fyddai fodlon i fyw ar gymmaint ac a alle efe ei gael, trwy foddion inion cymmeradwy gan Dduw, ac ni chaisiai fod yn gyfoethoccach nag y goddefai gywirdeb iddo fod, ni chaisai ef ennill ac ni ofynnai gyfoeth ar law diawl.

Cyfryngau.

Hamdden.

Na atto Duw, meddwch chwi, i neb gymmeryd eu cyfoeth oddiwrth ddiawl. Yn wir y sawl sydd yn ymgyfoethogi trwy occr, drwy drais, drwy anudonrwydd, drwy ledrad, drwy dwyll a hocced, maent yn derbyn ei cyfoeth oddiwrth ddiawl. A phawb oll ac a ymroddant i'r fath ffyrdd, ac a ymwrthodasant a'r wir ffordd yr hon a osododd Duw, a'i gwrthodasant ef, ac a aethant yn addolwyr y diawl er mwyn eu mael a'u hennill.

hennill. Y fath ddynnion hyn sydd yn cwympo ar eu glinian i lawr ymmlaen y diawl ac yn ei addoli ef wrth ei orchymmyn. O herwydd mae fe 'n addo os gwnânt hwy felly, y rhydd efe iddynt hwy y byd a'r cyfoeth y sydd ynddo. Ni allant hwy yn well wasanaethu y cythrel nag wrth wneuthur ei fodd ef a'i orchymmyn: a'i ddymuniad a'i ewyllys ef yw ini ymwrthod â'r gwirionedd ac ymroi o honom i ffalsedd, i gelwydd ac anudonrwydd.

Y rhai gan hynny a gredant yn berffaith yn eu calonnau mai Duw a ddlyid ei anrhydeddu, ac mai iddo ef y dlyid gofyn rhodd pob peth anghenreidiol, ni ddlyent geisio un ffordd arall i gyflawni eu anghenau ond cywirdeb a gwirionedd, na gwasanaethu neb ond Duw i gael pob peth anghenrheidiol. Ni cheisiai wr yn ei angen ei gynorthwyo ei hun drwy ledrad. Ni roddai wraig ei chorph i oddineb er mwyn ennill i gynorthwyo ei hangen a'i thlodi. Os Duw yn wir yw awdur bywyd, iechyd, cyfoeth a braint, awn atto ef megis at yr awdur, ac ni a'i cawn gantho, medd S. Iaco. Je doethineb mawr uchel yngolwg y gwr call yw gwybod pwy yw rhoddwr y pethau hynny: o herwydd ym-mysc llawer o gelfyddydon eraill, doethineb yw adnabod a chredu fod pob daioni a rhadau yn dyfod oddiwrth Dduw megis yr awdur.

Yr hyn ped ystyrid yn dda fe wnai ini feddwl fod yn rhaid ini roddi cyfrif am yr hyn y mae duw yn ei roddi ini i'w drefnid, ac a'n gwnai ni yn ddyfal i'w treulio hwy i ogoniant duw a budd i'n cymydogion, fel y gallom roddi cyfrif da yn y diwedd a chael ein cannol am fod yn oruchwilwyr

da, megis y caffom glywed y gairiau hyn gan ein
barnwr, Da was da ffyddlon, buost ffyddlon ar y-
chydig, mi a'th wnaf yn llywydd ar lawer, dos i
mewn i lawenydd dy feistr. Hefyd os bydd wyn yn
credu mai Duw yw awdur pob rhodd ac sydd ge-
nym, fe wnaiff hynny ini fod yn ddistaw ac yn o-
ddefus pan dynner hwy oddiwrthym ni ailwaith.
O herwydd Duw o'i drugaredd a'u canniataodd
hwy ini i'w harfer: felly weithiau mae efe yn eu
tynnu hwy oddiwrthym ni yn gyfion ailwaith er
profi ein goddefgarwch ni, er arfer ein ffydd ni, ac
felly wrth dynnu ychydig oddiwrthym, neu roddi
yn brinnach, mae efe yn ein dangos ni i'w harfer
yn fwy i'w ogoniant ef, pan roddo ef hwy ail-
waith ini.

Mae llawer a fedran ddywedyd â'i geneuau eu
bod yn credu mai Duw yw awdur pob dawn da
ac sydd ganthynt. Ond mewn amser profedi-
gaeth maent yn mynd yn eu gwrthol o'r grêd
hon, maent yn dywedyd hyn mewn gairiau ac yn
eu gweithredoedd yn ei wadu. Edrychwch arfer
y byd, ac edrychwch ydyw ef yn gywir. Edrych-
wch ar y gŵr cyfoethog yr hwn a gynyscaedd-
wyd â golud, os tynnir ei gyfoeth ef oddiwrtho
trwy adfyd, pa ffrommi, a pha lidiwa wnaiff ef?
pa rwgnach ac anobeithio? os twittir enw da un
dŷn a fyddo mewn dim cyfrif gan dafod drŵg, mor
anesmwyth fydd efe, ac mor ddyfal i ddial i lid?
Os bydd gan neb doethineb, os cyfrif rhyw ewy-
llyswr drwg ef yn ffwl ac os honnir ei fod ef fe-
lly, mor flin gantho fod yn ei gyfrif ef felly? A dy-
bygwch chwi fod y rhai hyn yn credu yn ddiscri fod
Duw yn rhoddwr y doniau hyn? paham na odde-
fant yn esmwyth i Dduw gymmeryd atto ei roddi-

on

on ailwaith, y rhai a ganiataodd ef iddynt hwy yn rhad, ac y rhoddodd eu benthyg dros cyhyd amser?

Ond chwi a ddywedwch, bodlon fyddwn i roddi i Dduw ailwaith y doniau a roddodd ef imi, pe cymmerai fe hwy ailwaith oddiwrthif: ond yn awr yr ydys yn myned a hwy oddiwrthif trwy aflwyddiannus ddigwydd, a thrwy furfennod ffailston, a thrwy goeg-ddynion drwg: pa fodd y gallaf oddef hyn yn esmwyth? I hyn y gellir atteb fod yr holl-alluog Dduw o nattur anweledig, ac na ddaw ef at vn dyn mewn dull gweledig, yn ol arfer dyn, i gymmeryd oddiwrtho y donniau a roddodd ef eu benthyg: ond pa beth bynnac a ewyllysio Duw ei wneuthur yn y peth hyn, fe a'i dwg i ben trwy 'r offerau a ordeiniodd ef i hynny. Mae gantho angylion da, mae gantho angylion drwg, mae gantho ddynnion da, mae gantho ddynnion drwg, mae gantho ef law a chesair, mae gantho wynt a * thrysau, gwres ac oerfel: mae gantho aneirif offerau a chenhadon trwy y rhai y mae fe 'n gofyn ailwaith y pethau a orchymmynnodd ef i'n cadwedigaeth ni, fal yr addef y gwr doeth: Rhaid i'r creadur wasanaethu ei wneuthurwr i beri dialedd ar yr anghyfion. O herwydd, fal y dywaid yr vn awdur, mae fe 'n arfogi 'r creadur i ddial ar ei elynnion, ac weithiau i brofi ein ffydd ninnau mae fe 'n cyffro y fath gawadau. Tharanau. Doeth 16. v. 24.

Ac am hyn pa fodd bynnac neu trwy ba offerau bynnac y cymmer Duw ei ddonniau oddiwrthym, rhaid ini fod yn fodlon mewn ammynedd i farn Duw, a chydnabod mai efe sydd yn rhoddi ac yn dwyn ymmaith, fal y dywaid Iob, yr Arglwydd a roddodd yr Arglwydd a ddygodd ymmaith, pan oedd ei elynnion ef yn gyrru ei anifei-

ffeiliaid ef ymmaith, a phan oedd diawl yn lladd ei blant ef, ac yn poeni ei gorph ef â chlefyd tost.

Y fath larieidd-dra oedd yn y brenin a'r prophwyd sanctaidd Dafydd, fal pan regwyd ef gan Simei yngwydd ei holl lu, fe a'i cymmerodd yn oddefgar heb regi ailwaith, ond gan addef mai Duw oedd awdur ei ddiniweidrwydd a'i enw da ef, a chan ei offrwm ef iddo i wneuthur o hono 'r hyn a fai fodlon gantho: Gedwch iddo, medd ef wrth un o'i farchogion yr hwn a fynnasai ddial y gabledd honno, o herwydd yr Arglwydd a ddywedodd wrtho ef, melldithia Ddafydd, onid odid fe ddyry yr Arglwydd imi ddaioni am ei felldith ef y dydd hwn.

Ac er bod yr offerynn weithiau yn gwneuthur yn ddrwg yn ei orchwyl ef sydd yn dyfod o genfigen, etto o herwydd bod Duw yn troi ei orchwyl drwg ef i brofiad ein āmynedd ni, ni a ddylyem yn hytrach ymostwngi oddefgarwch nâ digio wrth wialen Duw, yr hon onid odid gwedy iddo ein ceryddu ni er ein haddyscu, a dafla ef i'r tân, fal y mae hi 'n haeddu.

Cydnabyddwn felly hefyd yn gywir mai rhoddion Duw yw ein holl ddonniau ni a'n braint, fel y byddom barod i'w rhoddi hwy i fynu pan ewyllysio a phan fo bodlon gantho fe hynny ailwaith. Addefwn trwy ein holl oesoedd fod pob peth da yn dyfod oddiwrth Dduw, pa beth bynnac fytho ei henw neu ei natur, nid yn unig y pethau llygradwy ymma am y rhai y soniais i yn awr ddiwethaf, ond yn fwy o lawer y rhadau ysprydol buddiol i'n eneidiau ni, heb ddaioni y rhai ni alwir neb i'r ffydd, ac ni chynhalir ynddi, fal ar ol hyn yn y rhan nesa o'r homili hon y manegaf i chwi.

ichwi. Yr ennyd hynny, nac anghofiwch yr hyn a ddywedwyd wrthych eisoes, nac anghofiwch fod eich barn yn gyttunol a gwirionedd yr athrawaeth hon, nac anghofiwch ei harfer hi yn holl stât eich bywyd, trwy'r hyn y gellwch gael y fendith y addawodd ein Iachwdwr Christ, Bendigedig yw y rhai a wrandawant air Duw, ac a'i cadwant. Yr hon fendith canniataed ef ini oll, yr hwn sydd yn teyrnasu ar y cwbl oll, un Duw mewn trindod, y Tâd y Mab a'r Yspryd glân: i'r hwn y bytho holl anrhydedd a gogoniant yn oes oesoedd, Amen.

## ¶ Y drydedd ran o'r bregeth ar wythnos Derchafael.



Mi a addewais fynegi i chwi fod pob doniau a phob rhadau Ysprydol yn dyfod yn enwedig oddiwrth Dduw. Ystyriwn wirionedd y peth hyn, a gwrandawn beth a dystolaethir yn gyntaf am ddawn ffydd, y dyfodiad cyntaf i fywyd Christionogawl, heb yr hon ni ddichon neb fodloni Duw. O herwydd mae S. Paul yn cyffesu yn oleu mai dawn Duw yw hi. Ac ailwaith mae S. Peter yn dywedyd mai trwy allu Duw yw nad ydym yn siglo yn ein gobaith tuag atto ef. Gweithred Duw yn wir ynom ni yw y cariad perffaith â'r hwn y carwn ein brodyr. Os etifarhawn yn ol cwympo, trwyddo fe yr ydym yn etifarhau, yr hwn sydd yn estyn ei law drugarog i'n cyfodi ni i fynu. Os bydd un ewyllys ynom i gyfodi, efe sydd yn rhagflaenu ein

* Agweddu. ewyllys ni, ac yn ein * hyweddu ni i hynny. Os yn ol drylliaid y galon y clywn ni ein cydwybodau mewn heddwch a Duw trwy ollyngdod o'n pechodau, ac felly gwedy'n cymmodi ailwaith i ffafor Duw, ac i obaith bod yn blant iddo ac yn etifeddion bywyd tragwyddol; pwy sydd yn gwneuthur y gwrthiau hyn ynom? Ai ein haeddiant ni a'n teilyngdod, a'n hegni, a'n synhwyrau a'n rhinwedd? nag ê yn wir. Ni fyn S. Paul i bridd
* Ymryfygu. a chlai, * ymeofnhau i'r fath ryfyg: ac am hynny y dywaid fod y cwbl o Dduw yr hwn a'n cymmododd ni ag ef ei hun trwy Jesu Grist. O herwydd yr ydoedd Duw yng-hrist pan gymmododd ef y byd ag ef ei hun.

Duw Tâd y drugaredd a weithiodd y dawn uchel hyn ini, nid yn ei berson ei hun ond trwy gyfryngiad, ac nid trwy gyfryngwr llai nâ'i unic fab ei hun, yr hwn nid arbedodd ef oddiwrth boen na chosp er gwneuthur lles ini. O herwydd arno efe y gosododd ef ein pechodau ni, arno fe y gosododd ef dalu iawn drosom ni, efe a wnaeth ef yn gyfryngwr rhyngtho ef a ninnau, cyfryngiad yr hwn oedd mor gymmeradwy gan Dduw Dâd o herwydd ei ufydd-dod cyfiawn perffaith, fal y cymmerodd efe ei weithred ef yn gwbl iawn am ein holl anufydd-dod a'n gwrthrhyfelgarwch ni: cyfiawnder yr hwn a gymmerodd ef i bwyso yn erbyn ein pechodau ni: pridwerth yr hwn a osodai ef i sefyll yn erbyn ein damnedigaeth ni.

Pa beth sydd gennym i ryfeddu ynom ein hunain am dano yn y peth hyn, fyngharedigion anwyl? Nid oes, o'm tŷb, lai gennym nag a ddywad Sanct Paul wrth gofio rhyfeddol ddaioni Duw yn hyn; Yr wyf yn diolch i Dduw trwy Je-

su

su Grist ein Harglwydd: o herwydd trwyddo ef y derbyniasom yr vchel rodd hon o râd. O herwydd megis trwyddo ef (ac efe yn ddoethineb tragwyddol) y gwnaeth Duw dâd y byd a phob peth a gynhwysir ynddo: felly trwyddo ef yn vnic ac yn hollol y mynnai ef adferu pob peth yn y nef ac ar y ddayar.

Trwy ein cyfryngwr nefol hwn am hynny yr ydym yn adnabod ffafor a thugaredd Duw Dâd, trwyddo ef yr ydym yn adnabod ei ewyllys ef a'i serch tuag attom. O herwyd ef yw llewyrch gogoniant ei dad, a gwir lun ei berson ef, efe yw 'r hwn y mae 'r Tâd yn fodlon i'w gymeryd yn fâb anwyl iddo ei hun, i'r hwn y mae 'n rhoddi awdurdod i fod yn ddyscawdwr ac yn athro ini, ar yr hwn y mae fe yn gorchymmyn ini wrando gan ddywedyd Gwrandawch arno fe: Trwyddo ef y mae 'n Tâd nefol, yn ein bendithio mewn nefolion bethau, â phob bendith ysprydol: er mwyn yr hwn, (fal yr scrifenna Joan,) y derbyniasom râd a ffafor. I'r ceidwad a'r cyfryngwr hwn y rhoddodd Duw Dad allu yn y nef ac ar y ddayar, a chyfiawnder ac awdurdod i rannu i olud ef a'i roddion a orchymmynnwyd iddo: o herwydd felly yr scrifenna 'r Apostol, I bob vn o honom y rhoed grâs yn ol mesur dawn Christ. Ac ar hynny i wneuthur yn ol yr awdurdod a roesid iddo, gwedy iddo ddwyn pechod a'r cythrel i gaethiwed megis na wnelent mwy eniwed i'w aelodau ef, fe a escynnodd ailwaith at ei Dâd ac oddiyno y danfonodd roddion hael i'w anwyl weision ac mae fyth gantho allu i rannu doniau ei Dad yn wastad yn ei Eglwys, i'w chadarnhau hi a'i diddanu. A thrwyddo ef yr ordeiniodd yr holl-alluog

Dduw ddattod y bŷd a galw yn ei flaen i'w barnu fyw a meirw: ac yn ddiwethaf, trwyddo ef y condemnia ef y drygionus i dân tragwyddol yn uffern, ac y rhydd ef i'r daionus fywyd tragwyddol ac a'u gesyd yn ddiogel yn ei wydd yn y nef yn dragwyddol.

Fal hyn gwelwch fod y cwbl o Dduw, trwy ei fab Christ ein Harglwydd a'n Iachawdr. Cofiwch meddaf ailwaith eich dlyed o ddiolch, na fydded diffyg hynny byth: ymgyssylltwch yn wastadol i ddiolch: ni ellwch chwi byth offrwm i Dduw well aberth: o herwydd mae fe ei hun yn dywedyd, Aberthau moliant a diolch a'm anrhydeddant i. Yr hyn a ddeallodd y prophwyd sanctaidd Dafydd yn ddifai pan ddywedodd ef mor ddifrif wrtho ei hun fal hyn, fy enaid bendithia'r Arglwydd, a chwbl sydd ynof ei enw sanctaidd. Ac ailwaith, fy enaid bendithia'r Arglwydd, ac nac anghofia ei holl ddonniau ef.

Psal. 56.

Psal. 103. 2. 2.

Duw a roddo ini râs, bobl dda, i adnabod y pethau hyn ac i'w hyffyried hwy yn ein calonnau. Nid yw yr adnabyddiaeth a'r ystyr hyn ynom ni ein hunain, a thrwyddom ein hunain ni allwn ddyfod iddo, a thrueni mawr fyddai ini golli gwybodaeth mor fuddiol.

Galwn am hynny yn ostyngedig ar yr Yspryd sanctaidd hwnnw, yr Yspryd glân, yr hwn sydd yn dyfod oddiwrth ein Tâd trugarog, ac oddiwrth ein cyfryngwr Christ, ar iddo ef ein cynnorthwyo a'n cynhyrfu ni â'i bresenoldeb, megis, yndo ef y gallom wrando daioni Duw a fynegir ini er ein Iachawdwriaeth. O herwydd heb ei gynhyrfiad bywiol dirgel ef ni allwn unwaith gymmaint ac enwi ein cyfryngwr, fal y tystiolaetha

tha Paul yn eglur. Nid oes neb (medd ef) a all ddywedyd yr Arglwydd Jesu eithr yn yr Yspryd glan, llai o lawer y gallwn ni gredu a gwybod y dirgelion mawr hyn a agorir ini trwy Grist. 1.Cor.12.3.

Mae S. Paul yn dywedyd nad edwyn neb bethau Duw onid Yspryd Duw. A nyni, medd ef, a dderbyniasom nid yspryd y byd, ond yr Yspryd yr hwn sydd o Dduw, fel y gwypom y pethau a roddes Duw ini. Mae'r gwr doeth yn dywedyd fod yn aros yngallu a rhinwedd yr Yspryd glan, bob doethineb a gallu i adnabod Duw a'i fodloni ef. O herwydd mae fe'n scrifennu nad ydyw yngallu dyn iniawni ei ffordd. Pwy a wyr dy gyfrinach di oddieithr iti roddi doethineb ac anfon dy Yspryd sanctaidd o'r uchelder. Anfon, medd ef, am hynny (gan weddio) o'th nefoedd sanctaidd, a gyrr ef o orseddfaingc dy ogoniant, fel y cymmero ef boen yn bresennol gyda mi, ac y gwypwyf beth sydd fodlon gennit ti. 1.Cor.2.11. Sap.9.17. Vers.10.

Gweddiwn ninneu a chystadl galon ag y gweddiodd yntef, ac ni phalla gennym gael ei gynhorthwy ef. O herwydd ebrwydd y cair ef gan y rhai a'i carnat, a'r rhai a'i ceisiant a'i cânt ef. O herwydd hael a mwyn yw Yspryd doethineb. Yn ei allu ef y gallwn yn ddigonol wybod ein dlyed at Dduw, yndo ef y'n diddanir ni, ac y'n *eofnhair i rodio fel y dlyem, yndo fe y byddwn llestri addas i dderbyn gras yr Hollalluog Dduw. * Hyfhair.

O herwydd efe sydd yn glanhau ac yn puro'r meddwl trwy ei weithrediad dirgel. Ac efe'n unig sydd bresennol ym-mhob lle trwy ei allu anweledig, ac sydd yn cadw pob peth dan ei lywodraeth. Mae fe'n goleuo'r galon i feddwl meddyliau teilwng am yr holl-alluog Dduw, mae fe'n

eistedd yn-nhafod dŷn i'w gyffro ef i ddywedyd i anrhydedd Duw. Nid oes vn iaith yn guddiedig rhagddo, o herwydd y mae fe 'n gwybod pob iaith, efe yn vnic sydd yn rhoddi nerth ysprydol i holl alluon ein cyrph ni a'n eneidiau.

Mae 'n rhaid ini gydnabod mai gallu ei Yspryd ef sydd yn cynnorthwyo ein gwendid ni, ac yn ein cynnal ni i gadw 'r ffordd yr hon a ddarparodd Duw, ac i rodio 'n inion yn ein taith. Trwy yr Yspryd hwn, yr hwn sydd yn gweddio drosom ni a pharhaus ocheneidiau, y gallwn ddyfod yn eofn mewn gweddi a galw ar yr holl-alluog Dduw megis ein Tad. Os bydd vn dawn gennym trwy yr hwn y gallwn weithio i ogoniant Duw a lles ein cymydogion, fe weithir y cwbl trwy ei vn Yspryd ef ei hun, yr hwn sydd yn rhannu i bob vn o'r naill du megis yr ewyllysia ef. Os bydd gennym ddoethineb nid yw o hanom ein hunain, ni allwn ymogoneddu ynddi, megis pe byddai ei dechreuad hi o hanom ni, ond ni a ddylyem roddi 'r gogoniant i Dduw, oddiwrth yr hwn y daeth hi attom ni, fal yr scrifenna 'r prophwyd Ieremi, y neb a ymffrostio ymffrostied yn hyn, ei fod yn deall ac yn fy adnabod i, canys myfi ydwyf yr Arglwydd a wna drugaredd a barn a chyfiawnder yn y ddaiar, o herwydd y rhai hynny a ewyllysiaf medd yr Arglwydd. Ni ellir cael y doethineb hyn onid trwy addysc Yspryd Duw, ac am hynny y gelwir hi yn ddoethineb ysprydol. Ac ni allwn ni chwilio yn vn lle yn siccrach am yr wybodaeth hon o ewyllys Duw, wrth yr hon y dlyem gyfeirio ein gweithredoedd a'n gorchwylion, nag yn yr scruthyrau sanctaidd. O herwydd hwynt hwy, medd ein Iachawdwr Christ, ydynt yn testiolaethu am dano ef.

Ruf.8.6.&c. Gal.5.22.&c. 1.Cor.12.11.

Ier.9.24.

Iohn.5.39.

ef. Fe a ellir galw yn wybodaeth ac yn ddysc yr hyn a gessir mewn lleoedd eraill allan o'r gair: ond mae'r gwr doeth yn testiolaethu 'n oleu nad ydynt oll ond oferedd oni bydd ynddynt y ddoethineb hon am Dduw. Doeth.13.1.

Ni a welwn i ba oferedd y daeth yr hên philosophyddion y rhai oeddynt heb yr wybodaeth hon, yr hon a gair ac a chwilir am dani yn ei air ef. Ni a welwn â pha oferedd y cymyscir athrawaeth yr Yscolwyr, am na chwiliasant yn y gair hwn am ewyllys Duw, ond yn hytrach yn ewyllys rheswm, yn hên arferon, yn llwybr y Tadau, yn arferon yr Eglwys.

Darllenwn am hynny a thrown ddolennau 'r scruthyrau sanctaidd ddydd a nos, o herwydd Gwyn ei fyd yr hwn sydd a'i holl ewyllys arni. Honno sydd lusern i'n traed i rodio. Honno hefyd sydd yn rhoddi doethineb i'r gwirion a'r disyml. Ynddi hi y cawn fywyd tragwyddol. Yn yr scruthyrau sanctaidd hyn y cawn ni Grist, yngHrist y cawn ni Dduw, o herwydd efe yw gwir lun ei Dad. Yr hwn sydd yn gweled Christ sydd yn gweled y Tad. Psal.1.2. Psal.119.105. Ioa 5.39. Heb.3. Ioan.14.9.

Ac o'r gwrthwyneb, fal y dywaid S. Jerom, anwybod yr scruthyrau yw bod heb adnabod Christ: bod heb adnabod Christ yw bod mewn tywyllwch ynghenol ein goleini cnawdol bydol o reswm a philosophi: bod heb Grist yw bod mewn ffolineb: o herwydd efe yw unic ddoethineb ei Dâd yn yr hwn y mae cyflawnder y Duwdod yn gorphorol. A'r hwn pwy bynnac a gynyscaeddir trwy ffydd yn ei galon ac sydd wedi ei wreiddio mewn cariad, fe a osododd sail ddiogel i adail arno, trwy r' hyn y gall ef ymgyffred gydâ 'r holl Col.2.9.

saint beth yw'r lled a'r hŷd a'r dyfnder, ac adnabod cariad Christ. Yr wybodaeth a'r ddoethineb gwbl gyffredinol hon y mae S. Paul yn ei dymuno i'r
Ephes.3.19. Ephesiaid ymma, megis y trysor mwyaf a ellir ei gael tan ynefoedd. Am y ddoethineb hon y mae y gwr doeth yn scrifennu fal hyn megis y prosfasai
Doeth 7.11. 12.13. ef eisoes, Pob daioni a ddaeth imi gydag y hi, a golud annifeiriol trwy ei dwylo hi. Ac mae'n cydsylltu ailwaith yn yr vn man mai hi yw eu mam hwynt oll: o blegid diball drysor yw hi yr hwn pwy bynnac a'i harfero y maent hwy yn ymgyfeillach â Duw.

Mi a allwn â llawer o airiau gyffroi rhai o'r fawl a'm clywant ymma i chwilio am y ddoethineb hon, i neilltuo eu rhesswm i ganlyn gorchymmyn Duw, i dafiu oddiwrthynt synhwyrau eu ymmhenyddau, i ffafro y ddoethineb hon, i wrthod doethineb a synwyr y bŷd ynfyd hwn, i brofi ac i arogli honno, at yr hon y galwodd ffaswr ac ewyllys Duw hwy, a'r hon yn ddiwethaf yr ewyllisia ef ini ei meddiannu, pe gwrandawem arno. Mi a frysiaf at y drydedd ran o'm text yn yr hon yr adroddir ym-mhellach mewn doethineb pa fodd y mae duw yn rhoddi i'w ddewisol ddeall cyffroad y nefoedd a chyfnewidiad ac amgylchennau yr amser. Yr hyn beth fal y canlyn mewn geiriau yn gyflawnach yn y text a adroddais ddiwethaf i chwi: felly mae'n rhaid iddo ganlyn yn y rhai a gynyscaedder â'r doethineb Yspryddol ymma. O herwydd fal y medrant chwilio pale y gallant gael y ddoethineb hon, ac y gwyddant gan bwy y gofynnant hi: felly y gwyddant hefyd mai mewn amser y cair hi, ac am hynny hwy fedrant eu tymmheru eu hunain i gyfaddasrwydd yr amser, heb

oddef

oddef vn amser i fyned heibio, yn yr hwn y gallant drafaelu am y ddoethineb hon a chynnuyddu yn-ddi. Hwy a wyddont fod Duw o'i aneirif drugaredd a'i addfwynder yn rhoddi ymma amser a lle i edifaru. Ac maent yn gweled y drygionus yn camarfer eu hamser mewn balchedd (fal yr scrifenna Iob) ac am hynny y mae 'r duwiol yn cymeryd gwell afel ar yr amser, i'w brynu allan o'r fath gam-arferon yn y rhai y difwyna 'r drygionus efe. Fe a feidr y rhai sydd a'r ddoethineb hon oddiwrth Dduw ganthynt gynull addysc wrth ddyfal a difrif astudrwydd y bydol yn y bywyd presennol hwn. Maent hwy yn disgwil eu hamser, ac yn ymroi ar bob amser cyfaddas, i gynull golud, i helaethu eu tiroedd a'u treftadaeth: maent yn gweled yr amser yn myned rhagddo ac am hynny maent yn cymeryd gafael arno, ie yn y fath fodd megis yn fynych y maent yn colli eu cyscu a'u hesmwythder, ac yn goddef llawer o boenau wrth orddiwes yr amser a gynnygir, gan wybod na ellir cael ailwaith yr hyn a elo vnwaith heibio: fe ddichon edifeirwch ganlyn, ond nid oes vn rhwymedi i'w gael. Paham am hynny na wilia y rhai ydynt ddoethion yspyrdol yn eu cenhedlaeth, eu hamser i gynyddu mor fuan yn ei stât, ac i ennill ac i fuddio 'n dragywydd? maent yn ymresymmu pa angof anifeiliaidd a fyddai i ddŷn a gynyscaeddir â rheswm, fod heb wybod ei amseroedd a'i dymhorau, pan ydynt yn gweled y Ciconia yn adnabod ei thymhorau, y turtur hefyd a'r garan a'r wennol a gadwant amser eu dyfodiad: eithr fymhobl i ni wyddant farn yr Arglwydd, medd Ieremi. Iob. 24. Ierem. 8. 7.

Mae S. Pawl yn gorchymmyn i ni brynu 'r amser.

amser am fod y dyddiau yn ddrwg. Nid cyngor S. Pawl yn unig yw hwn ond cyngor pawb eraill hefyd, ac a roesont erioed orchymmyn am ddoethineb. Ni roddwyd ac ni orchmynnwyd un gorchymmyn yn ddifrifach nac am adnabod yr amser. Ie am fod Christionogion yn clywed mor flin y mae Duw yn yr Scrythyrau yn achwyn ac yn bygwth y rhai nid adnabyddant amser eu ymweliad, y dyscir hwy yn hytrach i ymroi i hynny.

Yn ol i'n Iachawdwr Christ broffwydo â daigrau wylo am ddinistr Jerusalem, yn y diwedd y mae'n dangos yr achos, Oh na wybasit amser dy ymweliad. Oh Prydain ystyria amser trugarog ymweliad Duw a ddangosir iti o ddydd i ddydd, ac etto nid ystyri di? Ni'th yrrir di â chosp i wneuthur yr hyn y ddylaid, ac ni'th annogir a doniau i roddi diolch, pe gwybyddit pa beth a ddichon gwympo arnat am dy heddwch.

Fy-mrodyr, er bod y bŷd yn gyffredinol yn ymroi i anghofio Duw, gwiliwn ni yn neilltuol ar ein hamser, ac ennillwn yr amser trwy ddyfalwch, ac ymrown i'r goleuni a'r grâs a gynnygir ini. Oni chyffro ffafwr a barn Duw, trwy yr hon y mae yn gweithio yn ein hamser ni, mo honom i gofio y pethau a berthynant i'n Iechydwriaeth: etto annoged cenfigen y cythrel a drygioni'r byd ni, (y rhai yr ydym yn gweled eu bod yn gweithio beunydd yn yr amseroedd periglus diwethaf ymma, yn y rhai y gwelwn fod ein dyddiau gwedy eu gosod mor enbyd,) i wilied yn ddyfal ar ein galwedigaeth, i rodio ac i fyned yn ein blaen ynddi. Cyffroed y blinder a'r byrr lawenydd ammharhaus (y rhai a welwn yn anwadalrwydd ein dyddiau yr hyd y bônt yn ein dwylo) ni yn ddifrif i

fod

fod yn gall, ac i bwyso grasusol ewyllys Duw tuag attom, yr hwn fal y dywaid y prophwyd, sydd yn estyn ei law ar hŷd y dydd tuag attom ni, fynychaf ei law drugarog, ac weithiau ei law drom: megis gwedy ein addyscu gan hynny y gallom ddiangc rhag yr enbeidrwydd sydd raid cwympo ar yr anghyfion, y rhai sydd yn byw mewn llwyddiant ynol eu hewyllys, heb wybod ewyllys Duw tuag attynt, ond yn ddisymmwth yr ânt i waered i uffern.

Gadwn ein cael yn wilwyr ac mewn heddwch yr Arglwydd fal yn y diwedd y'n ceffer heb na brychni na bai. Je ymhyder wn Gristionogion da, i gadw perfennolder ei Yspryd sanctaidd ef yn ddyfal. Ymwrthodwn a phob aflendid, o blegid yspryd purder yw ef. Gwagelwn bob rhagrith, o herwydd yr yspryd sanctaidd hyn a * ffŷ oddiwrth dwyll. Taflwn heibio bob cenfigen a drwg ewyllys, o herwydd nid aiff yr yspryd hwn i galon ddrygionus. Taflwn ymmaith y clamp pechod sydd o'n hamgylch, o herwydd ni chyfannedda ef mewn corph caeth i bechod. Ni allwn ni fod yn ddiolchus i'r holl-alluog Dduw a gweithio 'r fath eniwed i Yspryd y grâs, trwy'r hwn y'n sanctaiddir ni. Os ymhyder wn nid rhaid ini ofni, ni a allwn orefcyn ein holl elynnion a ymladdant yn ein herbyn. Yn unig ymegniwn i dderbyn Yspryd y gras yr hwn a gynnygir ini. Mae ini ddiddanwch yn yr holl-alluog Dduw am ei ddaioni. Yr ydym ni yn siccr o gyfryngiad ein Jachawdwr Christ.

Doeth.1.1.4.

* Gilia.

Heb.12.

Heb.10.

Ac fe adrodd yr Yspryd sanctaidd hwn ini y peth sydd iachus ac a'n cadarnha ni ym-mhob peth. Am hyn ni ddichon na bo gwir yr hyn a ddy-

waid

waid Paul, O hono ef, ynddo ef, a thrwyddo ef y
mae pob peth: ac ynddo ef yn ol y bywyd darfode-
dig hwn y cawn bob peth. O herwydd mae S.
Pawl yn dywedyd, pan ddarostyngo Mâb Duw
1.Cor.15,28. bob peth dano, y bydd Duw oll yn oll.

Os ewyllysiwch wybod pa fodd y bydd Duw oll yn oll, yn wir yn y modd ymma y gellwch ddeall hynny. Yn y byd hwn chwi a welwch mae 'n gorfod arnom fenthycca llawer o bethau gan lawer o greaduriaid i gyflawni ein anghenion: nid un peth sydd yn ddigon i'n holl anghenion ni. Os bydd newyn arnom, ni a chwenychwn fara. Os bydd syched arnom, ni a geisiwn dorri 'n syched â chwrw neu win. Os bydd annwyd arnom, ni a geisiwn ddillad. Os byddwn cleifion ni a geisiwn feddyg. Os byddwn trymion ni a geisiwn ddiddanwch gan gymdeithion neu gyfeillion, megis nad oes un creadur wrtho ei hun a ddichon bodloni ein holl diffygion ni, a'n chwantau.

Ond yn y byd a ddaw yn y llwyddiant tragwyddol hwnnw, ni cheisiwn ac ni ddymunwn mwy ein diddanwch a'n buddiau neilltuol gan amryw greaduriaid: ond ni a gawn feddiannu pob peth a allom ei ddamuno a'i geisio, yn-unw, a Duw a fydd pob peth ini. Fe fydd yn dâd a mam ini, yn fara ac yn ddiod, yn ddillad, yn feddig, yn ddiddanwch: fe a fydd yn bob peth ini, a hynny mewn modd bendigediccah, ac fal y bodlonir ni 'n gyflawnach nag y bodlonodd y creaduriaid hyn ni er ioed, mewn rhagor eglurwch nag y dichon rheswm dyn ei ymgyffred, ni all llygad weled, na chlust glywed, na chalon dyn ymgyffred y llawenydd a ddarparodd Duw i'r rhai a'i carant ef.

Cawn

Cawon y ewbl ag vn llaferydd a geiriau S. Pawl: Iddo ef yr hwn a ddichon wneuthur pob peth yn fwy trâ-rhagorol nac yr ydym ni yn dymuno o herwydd y nerth sydd yn gweithio ynom, y byddo gogoniant yn yr Eglwys trwy Grist Iesu tros yr holl genhedlaethau hyd yn oes oesoedd. Amen.

## ¶ Annogaeth i'w hadrodd lle maent yn arfer mynd o amgylch ar wythnos y derchafael i edrych ar ffinniau a therfynau eu trefydd.



R ein bod ni yn awr gwedy ymgynull ynghyd, Gristionogion da, yn bennaf i foliannu ac i roddi diolch 'ir holl-alluog Dduw am ei ddoniau mawrion, wrth edrych ar y maesydd yn llawn o bob rhyw ffrwythau er ein ymborth ni 'an * porthiant: ac i wneuthur ein gweddiau gostyngedig ar ei dadawl rygweliad ef i gadw'r ffrwythau hyn, gan ddanfon y fath dywydd tymherus fal y gallom gynnull y ffrwythau hynny i'r defnydd y darparodd ef hwy ini: Etto yn ail fe roddwyd ini achos arall, hynny yw ystyried, wrth dreiglo a'r y dyddiau hyn, hên ffiniau a therfynau ein plwyfau a phlwyfau ein cymydogion nesaf o'n hamgylch, er mwyn gallu o honom fod yn fodlon i'r hyn sydd * eiddom ni, ac na ymrysonom yn gynhennus am bethau eraill i dorri cariad, trwy oresgyn ar i gilydd neu ssiasams y naill gan y llall ymhellach nag y gosododd ein hên dadau hwy allan yn heddychlon, wrth hên arfer

* Llunaeth.

* Abiassom.

arfer a chyfiawnder er ein budd ni a'n didda-nwch.

Camsynnaeth mawr yn siccr y fyddai ini, y rhai ydym Gristionogion ac yn addef yr un ffydd, ac yn edrych beunydd am yr etifeddiaeth nefol yr hon a brynwyd i bob un o honom trwy waed-dywalltiad ein Iachawdwr Iesu Grist, ymrysson ac ymgynhennu am ffinniau a therfynau dayarol ein plwyfau, ei aflonyddu 'n bywyd ein hunain, er traulio 'n da trwy 'r fath draul a chost mewn cyfraith.

Ni a ddlyem gofio nad ydyw ein trigfa ni onid darfodadwy a byrr yn y bywyd marwol hwn. Mwy yw'r cywilidd ini ymryson a châs anfar-wol yn ein plith ein hunain, am feddiannau mor ddarfodedig, a cholli felly ein etifeddiaeth dra-gwyddol yn y nef.

Fe oddef cariad yn ddifai i Gristion faentei-nio ei gyfiawnder yn llonydd. A rhan gwladwr da yw cynnal yn oreu ac y gallo rydd-did, ffi-niau a therfynau ei drêf neu eu wlâd. Ond ym-gynhennu am ein cyfiawnder a'n dlyed trwy dor-ri cariad perffaith, yr hon yw unig nôd a lifrai Christion, neu trwy dorri heddwch ac esmwyth-der duwiol, yn yr hon y'n rhwymir ni mewn un gymdeithas gyffredinol o dolwyth Christ yn un teulu cyffredinol Duw, fe waherddir hynny yn hollol: ac mae hynny yn ffiaidd ac yn gas gan Dduw, yr hyn sydd yn fynych yn annog llid yr holl-alluog Dduw i ddwyn oddi arnom weithiau 'n gwbl ein buddiau an rhydd-did am ein bod yn eu camarfer felly o blegyd matteron cynnen ymryson ac a'nghyfundeb.

Mae S. Pawl yn ceryddu y Corinthiaid yn

fawr

fawr fawr, am y fath ymgyfraithio ymrysongar yndynt ei hunain, er dwyn gair duwg i'w profess yngwydd gelynnion crefydd Grist: gan ddywedyd wrthynt, Mae diffyg mawr yn eich plith, gan eich bod yn ymgyfreithio â'i gilydd. Paham yn gynt nad ydych chwi yn goddef cam? paham nad ydych yn gynt yn cymmeryd colled? Os ceryddodd S. Pawl y Christionogion hynny am fod rhai o honynt am eu cyfiawnder eu hunain yn ymgyfreithio yn ymrysongar, gan ganmol trwy hynny amunedd mewn Christion: Os mynai ein Iachawdwr Christ yn hytrach ini ddioddef cam, a throi'r rudd aswy i'r hwn a'n tarawo ar y rudd ddehau, i ddioddef un cam yn ol y llall yn hytrach nag ymddiffyn yr eiddom allan o gariad: ym-mha stât wrth hynny y maent hwy ger bron Duw sydd yn gwneuthur y cam? I ba felldithion y cwymp y rhai trwy gaudystion a dwyllant eu cymydogion neu eu plwyfau o'u cyfiawnder a'u hiniawn feddiant? y rhai nid arbedant dyngu i sanctaidd enw Duw awdur pob gwirionedd er gosod allan eu camwedd a'u celwydd? Oni wyddoch chwi medd S. Pawl na chaiff y rhai anghyfiawn etifeddu teyrnas Dduw? 1.Cor.6.7. Mat.5.39.

Pa beth wrth hynny a enillwn er halaethu ychydig ar ffiniau a meddiannau ein tiroedd a cholli meddiant yr etifeddiaeth dragwyddol? Gochelwn am hynny rhag i ni wrth faenteinio ein ffinniau a'n meddiannau wneuthur cam a thrais ag eraill. Gochelwn rhoi ferdit ddisymmwth mewn pethau amheuus. Pstyriwn yn dda rhag taeru o honom fod un peth yn siccr wir, yr hyn nid ydym yn ei wybod neu yn ei gofio'n dda, nac y marddel o'r peth nid oes gennym gyfiawnder da yndo.

Mae

Mae'r holl-alluog Dduw yn gorchymmyn yn ei gyfraith, Na symmud derfynau dy gymydog y rhai afuant o'r blaen o fewn dy etifeddiaeth. Na symmud, medd Salomon, mor hen derfynau a osododd dy henafiaid. Ac rhag ini dybied nad yw onid bai bychan, deallwn, fod yn ei gyfrif ef ymmhlith melldithion Duw a gyhoeddir yn erbyn pechadurjaid. Melltigedig (medd yr holl-alluog Dduw, trwy Moeses) yw'r hwn a symmudo derfyn ei gymydog, a dywedéd yr holl bobl gan atteb, Amen. Megis i gadarnhau y felldith ar bwy bynnac y cwympai.

Mae'r rhai hynny yn annog dial Duw arnynt eu hunain yn annial y rhai sydd yn torri twynau a marciau y rhai a osodwyd er yr hên amseroedd, i rannu terfynau a ffinnau yn y maesydd, er dwyn y perchennogion i'w cyfiawnder. Maent hwy yn gwneuthur yn ddrwg dros ben y rhai a arddant derfynau'r maesydd, y rhai osododd gwyr gynt trwy fawr ludded, trwy'r hyn y newidir cof-lyfrau yr Arglwyddi (y rhai yw goleuni'r deiliaid am eu tir) ac y troir hwy weithiau i dreisio'r ymddifad tylawd, a'r weddw dylawd.

Ni wyr y dynion trachwantus ymma pa eniweid y maent yn ei wneuthur. Weithiau trwy'r fath dwyll a dichell y gwnair ymryson ac anllywodraeth mawr wrth ymhelcyd am eu tiroedd, ie weithiau lladdiadau mawrion a thywallt gwaed, o'r hyn bethau yr ydwyti yn euog yr hwn a roddaist yr achosion.

Am hynny mae'r fath ddichellion trachwantus am dir a da dy gymydog yn gâs gan yr holl-alluog Dduw. Na fydded medd S. Paul i neb orthrymmu na thwyllo ei frawd: canis yr Arglwydd

glwydd sydd ddialudd ym-mhob cyfryw beth: Duw pob cyfiawnder ac inionded yw Duw, ac am hynny mae fe'n gwahardd yn ei gyfraith bob mâth ar ddichell a thwyll yn y geiriau hyn, Na wnewch gam mewn barn, mewn pwysa mesur, bydded gennit garrec gyfiawn ac epha gyfiawn. Deu.25.15.
Cloriannau anghywir medd Salomon ydynt ffiaidd gan yr Arglwydd. Diar.11.1.

Cofiwch yr hyn a ddywaid S. Paul, mai Duw sydd ddialudd pob cam ac anghyfiawnder, megis yr ydym yn gweled ymlaen ein llygaid beunydd, fal y mae'r hyn a ennillir trwy dwyll a dichell yn tyccio'n anrasson. Mae addysc amser yn dangos i ni nad ydyw yr holl-alluog Dduw yn goddef un amser y trydydd etifedd i fwynhau y meddiannau a gynnullodd ei Dâd trwy gamwedd, ie ac weithiau hwy a ddygir oddi-arno ei hun cyn ei farw.

Nid ydyw Duw yn rhwym ei gynnal y meddiannau a gesclir trwy ddiawl a'i gyngor. Fe a geidw yr holl feddiannau a'r da ac a fwynhair ac a feddiannir trwyddo efe, ac a'u ymddiffyn hwy rhag pob gorthrech trahaus. Felly y testiolaetha Salomon, Yr Arglwydd a ddiwreiddia 'r beilchion, ond efe a gadarnhâ derfyn y weddw. Ac yn Diar.15.25.
siccr, medd Dafydd, gwell yw ychydig a gynullir trwy gyfiawnder, nag aml olud y treiswyr.

Gochelwn am hynny, bobl dda, bob drwg ddichellion er ennill a maenteinio a chynnal ein meddiannau, ein tiroedd, ein terfynau, ein rhydd-did, gan gofio fod yr holl feddiannau hynny yn sefyll dan ddial Duw.

Ond pa sôn yr ydym am dir a da? Mae'r scruthyrau yn dywedyd fod Duw yn ei lid yn diwreiddio teyrnasoedd am gam a gorthrech, ac yn sym-

mud brenhiniaethau o un genedl at arall am an-
ghyfiawnder, a thrais a chyfoeth a gnullir trwy-
dwyll. Hyn, medd Daniel, a wna 'r hwn sydd
sanctaidd, fal y gwybydder mai efe sydd yn llywo-
Dan.4.25. draethu ar frenhiniaeth dŷn, ac a'i rhydd i'r neb y
mynno efe.

Hefyd beth yw achos prinder, cyfyngder, dru-
daniaeth a newyn? ydynt hwy yn ddim amgen
nag arwydd o lid Duw yn dial y cam a'r trais a
wnawn ni a'i gilydd? Mae Agge prophwyd
* E dliw. Duw yn *dannod gan ddywedyd, Hauasoch
lawer a chludasoch ychydig, bwytawsoch ond
nid hyd ddigon, yfasoch ac nid hyd fod yn ddiwall,
Agge.1.6.8. gwiscasoch bob un ac nid hyd glydwr iddo, a'r
hwn a ymgyflogo sydd yn casclu i gyflog i god dy-
llog. Edrychasoch am lawer ac wele ychydig, dy-
gasoch adref a chwythais arno medd yr Ar-
glwydd.

O ystyriwch am hynny lid Duw yn erbyn lloff-
wyr cynullwyr a gorescynwyr ar dir a meddian-
nau eraill. Peth galarus yw gweled mewn lla-
wer lle y modd y mae dynnion trachwantus yn
ein hamser ni yn arfer aredig a thraisio ar diroedd
ei cymmydogion, yr hyn diroedd sydd yn gorwedd
yn nesaf attynt: pa fodd y mae dynnion trach-
whantus yn yr amser hyn yn aredig mor agos i'r
chwysau cyffredin, a'r treiglfau a wnaeth dynnion
yr amseroedd gynt yn fawriō ac yn llydain, mewn
rhan er i'w gymydog gael lle. gwell i rodio ac
mewn rhan er rhagorborfa y cynhaeaf er ymborth
i anifeiliaid ei gymydog tylawd.

Cywilydd yw gweled na ellir digoni llawer o
ddynnion trachwhantus yn ei gorchwilion: fal
lle y gadodd eu rhieni hwy o'u tiroedd lwybrau lly-
dain,

dain, megis y gallid yn hawdd ddwyn elorau arnynt a myned a chyrph i'w claddu yn Gristionogaidd, pa fodd y mae dynnion yn tymhigo y fath lwybrau elor, y rhai o waith hir arfer a ddylyid eu cadw fyth i'r defnydd hynny heb eu torri: Ac yn awr er hyn maent hwy yn eu aredig hwy yn hollol, ac yn troi y cyrph i'w dwyn o amgylch ymhellach hyd yr heolydd, neu os gadawant un terfyn o'r fath hyn, mae hi yn rhy gyfyng i neb i rodio erni.

Gymydogion da fe a ddylaid edrych ar y fath orescyn rhyfedd. Fe a ddylaid edrych ar y pethau hyn yn y dyddiau imma, pan ydym ni yn treiglo oddiamgylch. Ac yn ol hyn y dylaid rhybyddio ac iniawni y dynnion sydd yn gwneuthur y pethau hyn er mael neilltuol iddynt eu hunain, a chywilydd i'r plwyf, a cholled i'r tlawd. Fe a ddylaid wrth rodio ystyried yr heolydd cyffredin er mwyn gwybod pa leoedd y gosodwch eich diwarnodau gwaith yn ol yr statudau da a ddarpawyd i'r defnydd hynny. Gorchwyl da o drugaredd yw gwellau ffyrdd dyfnion enbaid, fal nad elo dy gymydog tylawd sydd yn marchogaeth ar aneifil gwan *ynglŷn yndi, ac felly bod gwasanaethu y farchnad yn waeth, gan fod y dynnion tylodion y rhai a ddygant luniaeth yno, yn ofni dyfod o'r achos hynny. Os mynnwch am hynny i'r holl-alluog Dduw wrando eich gweddiau er cynnydd eich yd, a'ch aneifeiliaid, a'u cadw hwy rhag cawadau annhymherus, rhag *cesair, a'r fath stormydd, cerwch inioneb a chyfiawnder, dilynwch drugaredd a chariad perffaith, yr hyn y mae Duw yn ei ofyn ar eich dwylaw chwi. Yr hyn y mae'r holl-alluog Dduw yn edrych arno fwyaf wrth wneuthur

*Yn ffest.

*Cenllysc.

Leuit.23.22.
Deut.23 19.
Leuit.19.9.

 thur

thur ei gyfraithiau moesawl i'r Israeliaid, gan orchymmyn i'r perchennog na chasclent eu hŷd yn llwyr y cynhauaf, na grawnwin eu hole wyddend gadel peth o'r cywyys yn eu hol i'r lloffeid tylodion.

Wrth hyn yr ydoedd yn meddwl eu dwyn hwy i gymmeryd trugaredd ar y tylawd, i gynnorthwyo'r anghennus, ac i ddangos trugaredd a lledneisrwydd. Ni ellir colli'r hyn er ei fwyn ef a rodder i'r tylawd. O herwydd yr hwn a rydd hâd i'r hauwr a bara i'r newynog, yr hwn sydd yn anfon y cynharlaw a'r glaw diweddar ar eich maesydd chwi i lenwi eich yscuboriau chwi ag ŷd, a'ch gwinwryfoedd chwi â gwin ac olew efe meddaf yr hwn sydd yn talu am holl weithredoedd daionus yn adgyfodiad y cyfiawn, efe yn sicer a dâl am bob gorchwylion trugarog a wneler i'r anghennus, er mor anabl a fytho'r tylawd i'r hwn y gwnelir hwy i dalu.

Oh, medd Salomon, na ád ti i drugaredd a
Doeth.3.3 9. gwirionedd ymadel â thi, clymma hwy am dy wddf, scrifenna hwy ar lêch dy galon, felly y cei di râs a deall gerbron Duw a dynion. Anrhydedda'r Arglwydd â'th gyfoeth ac â chynffrwyth dy doreth, felly y llenwir dy yscuboriau â digonoldeb a'th winwryfoedd a lenwir o win newydd. Je mae Duw ei hun yn addo agoryd ffenestri'r nef ar y gŵr hael cyfion, fal na bytho dim diffyg arno. Fe a attal y Locust rhag difa eich ffrwythau chwi. Fe a rydd i chwi heddwch a llonyddwch i gasclu eich ffrwythau, fal yr eisteddo pob vn o honoch yn llonydd dan ei winwydden heb ofni rhac i elyn oddifaes eich gorescyn: ni rydd ef yn vnig i chwi ymborth i'ch ymborthi, ond fe a rydd i chwi gylla iachus hefyd, fel y galloch gael eich

diddanu

diddanu yn eich bwyd ac ym-mhob peth gael eich digoni.

Yn ddiwethaf fe a'ch bendiga chwi â phob * cyflawnder yn y bywyd darfodedig hwn, ac a'ch cynyscaedda chwi a phob rhyw fendith yn y byd a ddaw yn-nheyrnas nef, trwy haeddiant ein harglwydd a'n Iachawdwr: i'r hwn gyda'r Tâd a'r Yspryd glân y byddo anrhydedd yn dragywydd, Amen. * Amledd.

# ¶ Pregeth am stât Priodas.



MAe gair yr holl-alluog Dduw yn testiolaethu ac yn mynegi o ba le y daeth dechreuad priodas, a phaham yr ordeiniwyd hi. Hi a ordeiniwyd gan Dduw o fwriad ac fod i ŵr a gwraig fyw yn gyfraithlon mewn cymdeithias gyfaillachgar dragwyddol, i ddwyn ffrwyth ac i wachelyd goddineb, fel y gallid cadw cydwybod dda o'r ddwy blaid, a ffrwyno llygredig hyblygedd y cnawd o fewn terfynau honestrwydd.

O blegid fe waharddodd Duw bob aflendid a phuteindra, ac o amser i amser fe a gospodd yn dôst y gwyniau anllywodraethus ymma, fal y manegodd pob histori ac oes.

Hefyd fe a ordeiniwyd cynnal a halaethu eglwys Duw a'i deyrnas trwy'r fath fywyd, nid yn vnig am fod Duw trwy ei fendith yn rhoddi plant, onid hefyd am fod yn eu dwyn hwy i fynu gan eu tadau a'u mamau duwiol yng wybodaeth gair Duw, fal y gallid yn y modd hyn trwy eppiliaeth draddodi oddiwrth y naill at y llall wybodaeth

daeth am Dduw a'i wir grefydd, fal yn y diwedd y gallai lawer swynhau anfarwolaeth dragywyddol.

* Am hynny, o herwydd bod priodas yn gwasanaethu cystadl i wachelyd pechod a bai, ac i halaethu teyrnas Dduw: rhaid i chwi a phawb eraill a ddawant i'r stât honno gydnabod dawn Duw â meddyliau pur diolchus, am iddo felly reoli eich calonnau chwi fal nad ydych yn canlyn siampl y byd drygionus, y rhai a osodant eu meddyliau ar frynti pechod, er eich bod chwi eich dau yn ofni Duw ac yn casau pob brynti.

O herwydd yn sicer, godidawg rodd Duw yw hyn. Lle mae siampl gyffredin dynnion bydol yn dangos fod y diawl gwedy rhwymo eu calonnau hwy, a'u llindagu hwy mewn llawer o rwydau fal yn eu stat o weddwdod y maent yn rhedeg i lawer o ffiaidd bethau cyhoeddus, a'u cydwybod heb wrthwynebu hynny. Y fath ddynnion hyn ac ydynt yn byw mor ddiobeith ac mor frwnt, mae S. Pawl yn dangos pa farn sydd yn aros ar eu medr; Ni chaiff na godinebwyr na phuteinwyr etifeddu teyrnas Dduw. Yr ydych chwi wedi diangc rhag yr * erchyll farn Duw hon, os chwi a fyddwch fyw ynghyd yn ol ordeinhad Duw heb ymado y naill a'r llall.

1.Cor.5.9.

* Echrydus.

Ond ni fynnwn i chwi fod yn ddiofal heb wiled, o herwydd fe a brawf diawl bob peth i geisio rhwystro a lluddio eich calonnau a'ch bwriadau duwiol chwi, os rhowch iddo dyppyn bach o le: o herwydd naill ai fe a drafaela i dorri y cwlwm a ddechreuwyd rhyngoch, neu ar y lleiaf fe a gais ei rwystro ef ag amrafael flinder ac anfodlonrwydd.

A hyn

A hyn yw ei ddichel pennaf ef i wneuthur anghytundeb yn eich calonnau chwi, fal lle mae yn awr gariad mawr melus rhyngoch, fe a ddwg yn lle hynny anghytundeb chwerw diflas. Ac yn siccr mae ein gelyn hwn megis oddiuchod yn ceisio treisio nattur a chyflwr dyn: o herwydd mae'r ffolineb hyn gwedy tyfu gyda ni o'n Jeuengctyd, sef dymuno rheoli, tybied yn dda am danom ein hunain, megis nad oes neb yn tybied fod yn addas iddo berchi arall o'i flaen ei hun. Mae'r bai melltigedig hwn o ystyfnigrwydd ewyllys a'n rhygaru ein hunain, yn addasach i dorri ac i wahanu cariad y galon, nag i gynnal cytundeb.

Rhaid am hyn i bobl briodol roddi eu meddyliau yn ddifrif i gytundeb, a rhaid iddynt geisio yn wastad gan Dduw nerth ei Yspryd sanctaidd ef, i reoly eu calonnau, ac i rwymo eu meddyliau ynghytundeb.

Mae'n anghenrhaid i'r rhai priodol arfer y weddi hon yn fynych, gan weddio y naill dros y llall yn fynych, rhag i gasineb ac anghytundeb gyfodi rhyngthynt. Ac am nad oes ond rhai yn ystyried hyn, a llai etto yn ei gyflawni (gweddio dros i gilydd yr ydwyf yn ei fedd wl) ni a welwn pa fodd y mae diawl yn sennu ac yn gwatwar yr stat hon, mor ambell y mae y rhai priod heb ymdaeru, ymryson, ymsennu, etifaru, rhegu chwerw, ac ymladd. Ac Pwy bynnac sydd yn gneuthur y pethau hyn nid ydynt yn ystyried mai llithiad y gelyn ysprydol ydyw hyn, yr hwn sydd hoff iawn gantho hynny: o herwydd oni bai hynny hwy a ymegnient â phob hydr yn erbyn y drygioni hyn, nid yn unic trwy weddi ond trwy bob diwydrwydd ac a allent.

Ie ni roent le i annogaeth llid, yr hwn a'u cy-
ffro hwy i'r fath airiau neu ddyrnodau gairwon
llymmion, yr hyn yn ddiddan yw hudad diawl,
profedigaeth yr hwn os ni a'i canlynwn, fe a dde-
chrau ac a wena ynom ni yn sicr bob trueni a
thristwch. O herwydd mae hyn yn wir sicr
iawn, y canlyn o'r fath ddechreuad y torrir gwir
gytundeb yn y galon, trwy 'r hyn ar fyrr ennyd
y dyrrir bob cariad o'r galon allan.

Yno ni ellir na bytho 'n druan gweled fod yn
rhaid iddynt hwy fyw ynghŷd a hwy heb allel bod
ynghŷd yn gyttun. Ac mae hyn i'w weled ym-
mhob lle haechen yn arferol. Ond pa beth yw 'r
achos? Yn wir am nad ydynt yn ystyriaid di-
chellion twyllodrus diawl, a'u bod am hynny
heb ymroi i weddio ar Dduw ar fod yn wiw
gantho attal ei allu ef.

Hefyd nid ydynt yn ystyriaid pa fod y maent
yn cynnorthwyo bwriad diawl, gan ganlyn llid
eu calonnau, trwy fygwth y naill y llall, trwy
droi pob peth yn eu ynfydrwydd dibyn dobyn,
trwy beidio a rhoddi i fynu eu cyfiawnder (fal y
tybygant hwy) ie a thrwy beidio 'n fynych a rho-
ddi i fynu y rhan gamweddus. Os chwenychi
di am hynny fod heb y trueni hwn, os chwceny-
chi fyw yn heddychlon ac yn ddiddanus mewn
priodas, dysc weddio 'n ddifrif ar Dduw ar iddo
lywodraethu eich calonnau chwi eich dau â'i Ys-
pryd glân, ac attal gallu diawl, trwy 'r hyn y
parha eich cytundeb chwi yn dragywydd.

Ond mae 'n rhaid cydsylltu â'r weddi hon ddie-
scaelusrwydd godidawg: am yr hwn y mae S.
Petr yn rhoddi y gorchymmyn hwn, gan ddy-
weddyd, Chwi y gwyr cydgyfanneddwch â'ch
gwra-

gwragedd, fel y gweddei i rai gwybodol, gan roddi anrhydedd i'r wraig megis i'r llestr gwannaf, fel rhai sydd gydetifeddion grâs y bywyd, rhag rhwystro eich gweddiau chwi.

Mae'r gorchymmyn hwn yn perthyn yn neillduol at y gwr, o herwydd efe a ddylai fod yn arweinydd ac yn awdur cariad, yr hyn sydd yn cael lle pan fytho efe rhesymmol ac nid yn rhy greulon, ac os goddef ef y wraig i gael rhan o'i meddwl. O herwydd y wraig yw 'r creadur gwannaf, ac ni chynyscaeddir hi â'r fath rym a chadernid meddwl, am hynny yr aflonyddir hwy yn gynt, ac maent yn barottach i bob gwyniau gweinion, ac i bob hyblygedd meddwl nag yw gwyr, ac maent hwy yn yscafnach ac yn oferach yn eu ffansiau a'u hopinioneu.

Rhaid i'r gwr ystyriaid y pethau hyn fal na byddo efe yn rhy afrywiog, am hyn rhaid iddo am rywbethau na chymero ef arno weled mo honynt, rhaid iddo ddeongl pob peth yn fwyn.

Ond mae 'r cyffredin bobl yn barnu nad addas i wr fod mor llarpaidd. O herwydd hwy a ddywedant mai a wydd yw hyn o lysfrdra gwraiddgaidd: ac am hynny y tybygant mai rhan gwr yw cyffroi ac ymladd â'i ddwrn a'i ffon.

Ond beth bynnac a dybygant hwy, mae S. Petr yn ddiammau yn barnu yn well beth sydd addas i wr, a pheth sydd resymmolaf iddo ei wneuthur. O herwydd medd ef, rhesymm a ddylaid ei afer, ac nid ymladd. Je mae fe 'n dywedyd ymhellach y dylai y wraig gael rhyw barch ac anrhydedd, hynny yw gan ei harbed hi, a dwyn gyda hi, yn hytrarch am ei bod hi yn llestr gwannaf, yn galon frau, ac yn annwadal, ac hi

Fuan. a gyffroi᷑ â gair yn * ebrwydd i ddigofaint. Ac am hynny gan ystyriaid ei gwendid hwn hi, hi a ddylai yn hytrarch gael ei harbed.

Felly ni fegi di gytundeb yn inig, ond ti a gai ei chalon hi i'w rheoli yn ol dy ewyllys, O herwydd fe gedwir naturiaeth honest i wneuthur ei dlyed yn hytrach wrth airiau mwynion nag wrth ddyrnodau.

Ond am yr hwn a wnel bob peth trwy greulondeb a bod yn dôst, ac a arfero 'n wastad o fod yn llym yn ei airiau a'i weithredoedd, pa beth a ennill ef yn y diwedd? yn wir dim, ond ei fod ef yn hyfforddi gweithred diawl, mae fe 'n gyrru ar encil gytundeb, cariad, addfwynder peraidd, ac yn d'wyn i mewn anghytundeb, casineb a blinderau mwyaf ac a allant fod mewn cariad rhwng y naill a'r llall a chyfeillach bywyd dyn.

Heb law hyn hefyd, mae hynny yn d'wyn drygioni arall gydag ef, mae 'n dinistr ac yn rhwystro gweddi: o herwydd yr ennyd y byddir yn cynnal y meddwl mewn ymryson ac anghytundeb, ni ellir arfer gwir weddi, O herwydd mae gweddi'r Arglwydd yn edrych cystadl ar y eglwys yn gyffredinol ac ar bob dyn o'r neilltu; yn yr hon yr ydym yn traethu 'n gyhoedd ein bod ni yn maddau i'r sawl a wnaeth yn ein herbyn, fal yr ydym yn ceisio gan Dduw faddauant o'n pechodau. Yr hyn beth pa fodd y gellir ei wneuthur yn inion pan fyddo eu calonnau hwy mewn anghytundeb? Pa fodd y gallant weddio y naill dros y llall pan fo'r naill yn casau 'r llall.

Os tynnir ymmaith nerth gweddi, pa fodd yr ymgynhaliant mewn diddanwch? O herwydd ni allant mewn un modd arall wrthwynebu di-

awl

awl nac etto fod eu calonnau yn sefyll mewn diddanwch diogel ym-mhob enbeidrwydd ac anghenrhaidiau ond trwy weddi.

Fal hyn y mae pob afles cyftadl ysprydol a chorphorol yn canlyn yr arferô afrywiog, chwerw, llym, creulon hyn, y rhai ydynt addasach i anifeiliaid gwylltion, nag i greaduriaid rhesymmol.

Nid ydyw S. Petr fodlon i'r pethau hyn, ond mae diawl yn eu chwennychu hwy yn llawen: gochelwch chwithau yn fwy am hynny. Ac etto fe ddichon gwr fod yn wr er nad arfero ef y fath greulondeb, ie pe byddai weithiau heb gymmeryd arno weled arferon ei wraig. A rhan gwir Gristion yw hyn, yr hyn sydd hoff gan Dduw: ac mae hyn hefyd yn gwasanaethu'n dda i ddiddanu stât priodas.

Yn awr o blegid dlyed y wraig pa beth sy weddus iddi hithen: a gamarfer hi fwynder a thirionedd ei gwr, ac a dry hi yn ol ei hewyllys bob peth dibyn dobyn? Na wnaed ddim o hynny. O herwydd mae hynny mor gwbl hefyd yn erbyn gorchymmyn Duw.

O herwydd fal hyn y mae S. Petr yn pregethu iddynt hwy, Chwi wragedd byddwch ostyngedig i'ch gwŷr priod. Nid gorchymmyn a rheoli yw bod yn ostyngedig, ac etto hwy allant wneuthur y pethau hyn i'w plant a'u * tylwyth: Ond am eu gwŷr rhaid iddynt fod yn ostyngedig iddynt hwy, a pheidio a gorchymmyn, a chyflawni gostyngeiddrwydd ac ufydd-dod. O herwydd yn sicer mae hyn yn magu cytundeb yn dra rhagorol, pan yw'r wraig yn barod ar orchymmyn ei gwr, pan yw hi yn ymroi i'w ewyllys ef, pan fytho hi yn ym-egnio i geisio ei fodloni ef

1.Pet.3.1.

* Teuleu.

ni ef a'i lawenhau, pan wachelo hi bob peth ac a
allai ei ddigio ef. O herwydd fal hyn y gwirhair
geiriau'r bardd yn gywir, y caiff gwraig dda wrth
fod yn ostyngedig i'w gwr, reoli fal y byddo hoff
a llawen gantho ddyfod yn gynt adref etti. Ond
o'r ystlys arall, pan fytho eu gwragedd hwy yn a-
frywog ac yn llymion ac yn chwerwon, fe yrir
eu gwyr hwy trwy hynny i gashau ac i gilio allan
o'u tai, fal pe bai rhyngthynt ryfel a'u gelynni-
on. Ac etto mae yn odid na chwympo weithiau
ryw wrthyneb rhyngthynt, o herwydd nad oes
neb yn byw heb fai: ond yn enwedig am fod y
wraig yn llestr gwannaf, gochelant hwy rhag
sefyll yn eu baiau a'u hatcafrwydd, ond cydnaby-
ddant hwy yn gynt eu ffolineb a dywedant, fy-
ngwr, fal hyn y gyrrodd fy-nigofaint fi i wneu-
thur hyn ymma neu hyn accw, maddauwch imi,
ac ar ol hyn mi a wachela. A pha parottaf y by-
ddo gwraig i wneuthur yn erbyn ei gwr, parot-
taf y dylai hi fod i wneuthur fal hyn: ac nid er
mwyn ymgadw oddiwrth ymryson a anghy-
tundeb yn unic y dylai wneuthur hyn, ond yn
hytrach er mwyn gorchymmyn Duw, fal y mae
S. Pawl yn ei adrodd ef yn y geiriau hyn, y
gwragedd ymostyngwch i'ch gwyr priod megis
i'r Arglwydd, oblegid y gwr yw pen y wraig me-
gis y mae Christ yn ben i'r Eglwys.

Ymma y gwelwch fod Duw yn gorchymmyn
i chwi gydnabod awdurdod y gwyr a rhoddi iddo
barch ufydd-dod.

Ac mae S. Petr yn dywedyd yn y lle a adrodd-
wydd o'r blaen, i fodrabedd sanctaidd gynt ym-
drwsio nid oddi allan o blethiadau gwallt, ac am-
gylch osodiad aur, neu wiscad dillad gwychi-

on,

on, onid gan obeithio ar Dduw a bod yn ddarostyngedig i'w gwr priod, megis yr ufyddhaodd Sara i Abraham gan ei alw ef yn Arglwydd, merched yr hon fyddwch chwi, meddef, o wneuthur yn dda.

Addas a fyddai i wragedd argraphu yr ymadrodd hwn yn eu meddyliau.

Gwir yw fod yn rhaid iddynt hwy yn enwedig oddef poenau a doluriau eu priodas, am fod yn gorfod arnynt roi heibio rydd-did eu llywodraeth a bod mewn doluriau escor, ac yn dwyn eu plant i fynu.

Yn y swydd au hyn maent hwy mewn perigl au mawrion: heb y rhai y gallent fod, pe byddent heb briodi.

Ond mae S. Petr yn dywedyd mai hwn yw 'r trwsiad pennaf i wragedd santaidd, gobeithio ac ymddiried yn-nuw, hynny yw, nad ymgadwasant rhag priodas oblegid ei gofalon a'i doluriau, a'i henbeidrwydd, ond gorchymmyn i Dduw bob peth a allai ddigwyddo ynddi, gan obeithio cael ei nerth ef yn sicer yn ol iddynt alw arno am ei gymmorth hwy.

O wraig gwna dithau felly ac yno y trwsir di 'n odidawg gerbron Duw a'i holl Angylion a'i Saint, ac nid rhaid iti geisio ym-mhellach am wneuthur gwaith a fyddo gwell. O herwydd bydd ostyngedig i'th wr, synia ar ei ddymuniadau ef, ac ystyria beth y mae ef yn ei ofyn ar dy law di, felly y gelli di anrhydeddu Duw, a byw yn heddychlon yn dy dy.

Ac heblaw hyn fe ganlyn Duw di a'i fendithion, fal y llwyddo pob peth gyda thi, cyfiadl iti ac i'th wr, ac fal y dywaid y Psalm, Gwyn

Coloss. 3.22
Ephes.5.5.

ei

ei fudd pob un sydd yn ofni 'r Arglwydd, sef yr hwn sydd yn rhodio yn ei ffyrdd ef canys mwynhei lafur dy ddwylo, gwyn dy fyd a da fydd it. Dy wraig sydd fel gwinwydden ffrwythlon ar hyd ystlysau dy dŷ: a'th blant fal planhigion oliwydd o amgylch dy fordd. Wele fel hyn yn ddiau y bendithir y gwr a ofno 'r arglwydd medd Dafydd.

Bydded hyn yn-meddwl y wraig yn wastad yn hytrarch am fod gwisc ei phen hi yn ei rhybyddio am y peth hyn, trwy 'r hyn yr arwyddoccair ei bod hi dan lywodraeth ac mewn ufydddodd i'w gwr: Ac fel y gosododd natur y wisc honno i fanegi ei hufydd-dod hi, felly y mae S. Pawl yn gorchymmyn fod i bob rhan arall o'i dillad hi ddangos gŵyledd a sobredd. O herwydd onid yw gyfraithlon i wraig fod yn bennoeth, ond dwyn ar ei phen arwydd o'r gallu sydd erni, pa lè bynnac yr elo hi: mwy y gofynnir ar ei llaw hi ddangos yr hyn a arwyddoccair wrth hynny; Ac am hynny y galwodd yr hên wraged o'r hen fyd eu gwyr yn Arglwyddi ac a ddangosasant eu parch yn ufyddhau iddynt.

Ond onid odid hi a ddywaid fod y gwyr hynny yn gwir garu eu gwragedd. Mi a wn hynny yn dda, ac yr ydwyf yn ei gyfio yn ddifai. Ond pan ydwyf yn eich rhybyddio chwi i'ch dlyed, na chofiwch chwi eu dlyed hwy tuag attoch. O herwydd pan fythom ni ein hunain yn dyscu ein plant i ufyddhau ini, megis i'w tadau a'u mammau, neu pan fythom yn addyscu 'n gweision ac yn dywedyd wrthynt y dlyent ufyddhau i'w meistri nid â llygad wasanaeth, ond fel gweinidogion Christ: pe dywedent hwy wrthym ninnau

Coloss. 3. 22
Ephes. 6. 5.

ailwaith am ein dlyed ninnau ni thybygem ni eu bod hwy yn gwneuthur hynny yn dda.

O herwydd er bod gan wr gyfaill yn ei fai, ni wnae hynny ei fod ef yn ddifai. Ond hyn sydd raid iti edrych arno, am fod dy hun yn ddifai. O herwydd Adda a swriodd y bai ar y wraig, a hithau a'i bwrodd ar y sarph: etto nid escuswyd yr vn o honynt. Ac am hynny na ddwg attati yn awr y fath escuson, ond gosod dy holl ddiwydrwydd i wrando y dylait ti vfyddhau i'th wr.

O herwydd pan wyf yn rhybyddio dy wr i'th garu di ac i'th gysuro, etto ni phaidiaf a gosod allan y gyfraith a osodwyd i'r wraig, cystadl ac y mynnwn i'r gwr wneuthur yr hyn a scrifennir yn y gyfraith iddo yntef.

Dos di am hynny ynghylch y pethau a berthynant iti yn vnig, a dangos dy hun yn hynaws i'th wr. Neu yn hytrach os vfyddhau di i'th wr er mwyn gorchymmyn Duw, yno adrodd pa beth a ddylaief ei wneuthur, ond cyflawna di yn ddiescaelus y pethau y mae gwneuthur wr y gyfraith yn gorchymmyn iti eu gwneuthur. O blegid fal hyn yr vfyddhai di i Dduw yn orau os peidi di a thorri ei gyfraith ef.

Nid yw'r hwn sydd yn caru ei gyfaill yn gwneuthur gorchest yn y byd: ond mae'r hwn a anrhydeddo y neb sydd yn ei gashau ef ac yn ei ddrygu, yn haeddu mawrglod. Felly meddwl dithai os goddefi di wr anhwaith y caidi am hynny wobr mawr.

Ond os ceri di ef yn inig am ei fod ef yn dirion ac yn fwyn: pa wobr y rhydd Duw iti am hynny? Etto nid ydwyf yn dywedyd hyn fal pe ewyllysiwn i'r gwyr fod yn anhowaith tuag at eu gwragedd, ond annog yr ydwyf i y gwragedd i ddwyn yn ddio-

ddefus.

ddefus gydag anhywaithder eu gwyr. O herwydd pan wnelo pob un o'r ddwy ran ei gorau i gyflawni eu dlyed un i'w gilydd, yno yn y man y canlyn budd mawr i'w cymydogion, wrth eu siampl hwy. O herwydd pan fyddo'r wraig yn barod i oddef gwr anhywaith, a phan na byddo'r gwr rhy dost wrth wraig atgas anhywaith, yno y bydd pob peth yn esmwyth mewn porthladd ddiogel. Fal hyn yn yr hen amser y gwnai bob un ei ddylyed a'i swydd ei hun, ac nid oeddynt ofalus i edrych am ddlyed eu cymydogion. Pscyria adolwg i Abraham gymmeryd atto Lot ei frawd, ac ni faiodd ei wraig arno ef am hynny. Ef a orchymmynnodd iddo fyned i daith bell gydag ef, ac ni ddywad hi ddim yn ei erbyn ef, ond hi a ufyddhaodd i'w orchymmyn ef.

A thrachefn yn ol holl flinderau a gofidiau a phoenau mawrion y daith honno, yn ol gwneuthur Abraham megis yn Arglwydd o'r cwbl oll, etto fe ganniattaodd i Lot yr oruchafiaeth: ac fe a a oddefodd Sara hynny mor ddiddig ac yr attaliodd hi ei thafod rhag yngan unwaith y fath airiau ac a arfer gwragedd eu dywedyd fynychaf yn y dyddiau hyn, pan welant eu gwyr yn y lleoedd isaf, ac yn ostyngedig i rai iauangach nâ hwynt hwy, yn y man hwy a'i * dannodant iddynt â gairiau ymrysongar, ac a'u galwant hwy yn ffyliaid, yn llyfron ac yn ddihyder, am wneuthur felly.

* Edliwiant.

Ond yr oedd Sara mor bell oddiwrth ddywedyd y fath airiau, ac na feddyliodd hi unwaith ddywedyd felly, ond bod yn fodlon i ddoethineb ac ewyllys ei gwr.

Je, heb law hyn, gwedy darfod i Lot gael fal hyn ei ewyllys, a gadel i'w ewythr y rhan leiaf

o'r tir, fe a gwympodd i ddygyn berigl: yr hyn beth pan wybu y Patriarch hwn, yn y man fe a osododd ei holl wyr mewn arfau, ac a ddarparodd fyned ei hun a'i holl dylwyth a'i gymdeithion yn erbyn llu'r Persiaid: yn yr hwn gyflwr nis cynghorodd Sara ef i'r gwrthwyneb, ac ni ddywad hi wrtho fal y gallasid dywedyd: fyngwr i da le yr a'i di mor fyr-bwyll? pa ham y rhedi fal hyn i wyr dy ben? pa ham yr ymgyrnygi i'r fath beriglon mawrion? Paham yr wyd mor barod i anturio dy fywyd dy hun, ac i osod mewn enbeidrwydd fywyd dy holl dylwyth dros wyr a wnaeth a thi'r fath gam? Ar y lleiaf onid oes gennit ofal am danat dy hun, cymmer drueni arnafi, a minnau er dy fwyn di gwedy gadel fy-ngwlâd a'm cenedl, ac heb imi na chynnorthwywyr na chenedl, a mi gwedy dyfod cy belled o'm gwlâd gydâ thi: tosturia wrthyf, ac na wnâ fi ymma'n weddw, i ddwyn arnaf y fath ofalon a blinderau.

Hyn a allasai hi ei ddywedyd. Ond ni ddywad Sara, ac ni feddyliodd y fath airiau: ond hi a'i cadwodd ei hun yn ddistaw ym-mhob peth.

Hefyd yn yr holl amser ac y bu hi hesp heb ei phoeni fel gwragedd eraill wrth ddwyn ffrwyth yn ei dŷ ef, beth a wnaeth ef? fe a achwynodd nid wrth y wraig ond wrth yr holl-alluog Dduw.

Ac ystyriwch fel y gwnaeth pob un honynt ei ddlyed fal yr oedd yn addas iddynt. O herwydd ni ddiystyrodd ef Sara am ei bod yn hesp, ac ni * ddannododd iddi hynny. Ystyriwch hefyd y modd y gyrrodd Abraham y llaw forwyn allan o'i dŷ pan ddeisyfodd hi [arno wneuthur] felly. Fal wrth hyn y gallaf brofi'n gywir fod pob un honynt yn fodlon i'w gilydd ym-mhob peth.

* Edliwodd.

Ond etto na osodwch eich llygaid ar hyn o beth, ond edrychwch ymhellach pa beth a wnaeth-
Genes.16. pwyd cyn hyn, fod Agar yn dirystyru ei meistres, a bod Abraham ei hun gwedy ei gyffro ychydig yn ei herbyn hi, yr hyn ni allai na bai anniodde-fus a dolurus iawn i wraig ddiwair rwydd ei chalon.

Na fydded gwraig ry brysur i ofyn yr hyn sy ddledus ar y gwr iddi hi, lle dlai hi fod yn barod i gyflawni ei dlyed ei hun, o herwydd nid yw hyn, yn haeddu fawr glôd. Ac felly o'r ystlys arall nag ystyried y gwr yn unig beth a ddlyai 'r wraig ei wneuthur, ac na safed yn rhy ddiffrif i edrych ar hynny, o herwydd nid ei ran ef a'i ddlyed yw hyn. Ond fal y dywedias, bydded pob vn o'r ddwyblaid barod ac ewyllysgar i wneuthur yn enwedig yr hyn sydd yn perthyn atto ei hun. O herwydd os ydym rhwymedig i droi y rudd aswy at ddieithr-aid pan darawant ni ar y rudd ddeheu, pa faint mwy y dylem oddef gwr tost afrywog? Ond etto nid wyf 'n meddwl y dyle wr guro ei wraig, ni at-to Duw hynny. O herwydd y cywilydd mwyaf yw hynny ac a ddichon bod, nid yn gymmaint i'r wraig a gurir, ac i'r gwr sydd yng wneuthur y fath orchwyl.

Ond os digwydd fod iti y fath wr, na fydd ry drist, meddwl di fod gwobr mawr gwedi ei osod i fynu ar dy fedr ar ol hyn, a bod clod fawr iti yn y byd hwn os byddi di goddefgar.

Ond etto wrthych chwi y gwyr y dywedaf, na fydded vn bai mor fawr ac y gyrro chwi i ffusto eich gwragedd. Ond beth a ddywedaf am eich gwragedd, peth anreith ei oddef yw i wr honest o-sod i law ar ei forwyn i'w fusto hi. Am hynny os

yw

ydyw yn gywilydd mawr i wr fusto ei forwyn, oni ddlyai ef ei geryddu 'n fwy am guro ei wraig rydd? A hyn a allwn ei ddeall wrth gyfraithiau a wnaeth Paganiaid, y rhai a roddant rydd-did i'r wraig i ymado oddiwrth y gwr a'i tarawo hi, megis gwr an-nheilwng o'i chymdeithias hi ymmhellach. O herwydd y peth tostaf a ddichon bod ydyw iti drin mor wael ie megis un caeth, gymmar dy fywyd, yr hon a gydsylltwyd â thi o'r blaen, i fod yn gyfaill iti yn y pethau rheitaf o'th fywyd di. Ac am hynny fe a ellir cyffelybu y fath wr (os gellir ei alw ef yn wr ac nid yn anifeil gwyllt) i un a laddo ei dâd neu fam.

A lle gorchymmynnir ini ymwrthod â thadau a mammau er mwyn ein gwaragedd, ac etto nid ydym yn gwneuthur un cam â hwy yn hynny, ond yr ydym yn cyflawni cyfraith Dduw: pa fodd am hynny na welidi mai ynfydrwydd annial yw iti wneuthur yn drahaus â'r hôn y gorchymmynnodd Duw iti ymadel a'th dad a'th fam er ei mwyn? Ie pwy a all goddef y fath ddirmyg? pwy a ddichon yn ddigonol osod allan faint drygioni yw gweled yn yr heolydd cyhoedd gymydogion yn rhedeg ynghŷd ynghylch tŷ y fath wr afreolus, megis at fedlem ynfyd a fai yn ceisio dymchwelyd y cwbl oll sydd gantho? Pwy ni thybygai mai gwell oedd i'r fath wr ddymuno i'r ddaiar agored a'i lyncu ef, na'i weled byth mwy yn y farchnad?

Ond fe allai y gosodi drosot dy hun, i'r wraig dy annog di i wneuthur hyn. Ond ystyria dithau ailwaith mai llestr gwan yw'r wraig, a'th wneuthur di yn rheolwr ac yn ben erni, i gyd-ddwyn â'i gwendid hi yn ei gostyngeiddrwydd. Ac am hynny mystyria di ddangos clod dy awdurdod honest,

yr hyn ni elli di ei wneuthur yn well nag wrth beidio a chyhoeddi ei gwendid hi yn ei gostyngeiddrwydd. O herwydd fel y gwelir y brenin yn bendefigeiddiach, po godidawgaf a phendefigeiddiaf y fo ei swyddogion a'i raglawiaid ef, y rhai pe dianrhydeddai ef, a phe diystyrai ei hawdurdod hwy a'u braint, fe a'i dinoethai ei hun o rhan fawr o'i anrhydedd ei hun: felly os diystyri dithau yr hon sydd gwedy ei gosod yn y lle nesaf iti dy hun, yr ydwyd yn llaihau ac yn peri i odidawgrwydd dy awdurdod dy hun adfeilio. Cyfrif yr holl bethau hyn yn dy feddwl a bydd fwyn a thirion: deall ddarfod i Dduw roddi plant rhyngot ti a hithau a'th wneuthur di yn dâd, ac wrth hynny llonydda di dy hun,

Oni weli di yr llafurwyr, mor ddyfal y maent yn trin eu tir a ddarfu iddynt eu rhentu unwaith, er maint fyddo beiau'r tir megis yn lle siampl, er ei fod ef yn rhy sych, er ei fod ef yn dwyn chwyn lawer, er na allo ef ddioddef gormod gwlybni, etto mae fe'n ei aredig ef, ac felly yn ennill ei ffrwythau ef: felly pe arferit ti yr un dyfalwch i addyscu ac i drefnu meddwl dy wraig briod, pe ymroit ti i chwynnu bob ychydig y chwyn drygionus o arferon anaddas allan o'i meddwl hi trwy addysc iachus, ni allid na chait ti dderbyn ar fyrr o hynny ffrwythau melus eich diddanwch chwi eich dau.

Am hynny, fel na ddigwyddo rhwngoch chwi ymryson, gwna'r cyngor hwn a roddaf iti ymma: pa beth bynnac anfelus a ddigwyddo gartref: os gwnaeth dy wraig ddim ar fai diddana hi, ac na chynydda ei thrymder hi. O herwydd er maint o ofidiau a fo yn dy flino di, etto ni chai di ddim a'th

flino

flino'n fwy nag eisiau ewyllys da dy wraig gartref. Pa wrthwyneb bynnac a elli di ei enwi, etto ni chaid di un mor anrhaith ei oddef a bod yn ymryson a'th wraig. Ac am hyn yn fwyaf dim y dylait ti berchi y cariad hwn.

Ac os yw rheswm yn perri ti oddef rhyw gam ar ddwylo dynnion eraill, mwy o lawer y dylaid oddef cam ar law dy wraig. Os bydd hi tylawd na * ddannod iddi. * Edliw. Os bydd hi gwirion na watwar hi, ond bydd di dirionach wrthi. O herwydd dy gorph di yw hi gwedy ei gwneuthur yn un cnawd â thi.

Ond ti a ddywedi onid odid ei bod hi yn wraig lidiog, yn feddwen, yn anefeilaidd, heb synwyr a rheswm ynddi: am yr achos hyn tosturia wrthi yn hytrach. Nag ynfyda yn dylid ond gweddia ar yr Holl-alluog Dduw, rhybydia a chynnorthwya hi â chyngor da, ymegnia di ar ei rhyddhau hi o'r holl wyniau hyn: ond os curi di hi, ti a chwanegi ei gwyniau drwg hi. o herwydd ni wellhair cyndynrwydd ac atcasrwydd trwy gyndynrwydd, onid trwy amynedd ac addfwynder.

Ystyria pa wobr a gaidi ar law Dduw: O herwydd lle y gallit ti ei churo hi, etto os rhag ofn Duw yr ym-atteli di a dwyn yn oddefgar gyda ei beiau mawrion hi, yn hytrach o ran y gyfraith sydd yn gwahardd i wr droi ymmaith ei wraig pa fai bynnac a fo arni: ti a gai wobr mawr. A chyn y derbynnech y gwobr hynny, ti a gai lawer budd arall. O herwydd trwy hyn y gwnair hi yn ufyddach, a thithau a wnair er ei mwyn hi yn fwynach.

Mae 'n scrifennedig mewn histori fod i ryw

philosophydd dieithr, wraig felldigedig a gas fe-
ddw. Pan ofynnwyd iddo paham yr ydoedd ef yn ddwyn gydâ ei harferū drwg hi; fe attebodd, Trwy hyn, ebe fe, mae imi gartref athro a siampl i ymddwyn pan fyddwyf allan. O herwydd, medd ef, mi a fyddaf gwell fy amynedd ymhlith eraill gwedy fynyscu ac ymarfer beunydd i ddwyn gyd â hi. Yn wir cywilydd yw bod Paganiaid yn ddoethach nâ nyni, nyni meddaf i'r rhai y gorchymmynnir bod yn gyffelyb i Angylion, ie i Dduw ei hun mewn amynedd. O gariad ar rinwedd ni yrrai y philosopydd hwn Socrates ei wraig oddiwrtho. Ie rhai a ddywaid mai am hyn y priododd ef ei wraig, i ddyscu y rhinwedd hon genthi.

O blegyd hyn, am fod llawer heb fod morgall a'r gwr hwn: fynghyngor yw, yn gyntaf ac ym-mlaen pob peth i wr wneuthur ei orau i geisio gwraig dda rinweddol honest. Ond os digwydda ei dwyllo ef, ac iddo ddewis gwraig yr hon nid yw na da nac iawndda, ymo canlyned y gwr y philosophydd hwn, ac addysced ei wraig ymmhob cynneddfeu da, ac na chyhoedded y pethau hyn bythygolwng y byd.

O herwydd oni bydd y marsiandwr gwedy cytuno yn gyntaf â'i oruchwyliwr fal y gallai arfer ei farchnad-negesau 'n llonydd, ni osod ef ei long dan hwyl, na'i law ar ei farsiandiaeth: felly gwnawn ninnau fal y caffom gyfeillach ein gwragedd, y rhai yw goruchwyliaid ein gorchwylion ni gartref yn esmwyth ac yn llonydd ddigon: a thrwy hyn yr aiff pob peth yn llwyddiannus, ac felly yr awn ni trwy beriglau blin-fôr y byd hwn.

O

O herwydd fe fydd stât ein bywyd ni yn fwy anrhydedd a diddanwch ini na 'n tai, ein gweision, ein harian, ein tir, ein meddiannau, ar cwbl oll ar a ellir eu cyfrif, fal na all yr holl bethau hynny os bydd ymryson ac anghytundeb, weithio ini un diddanwch, felly y troir pob peth i'n budd ni, a'n bodd, os tynnwn y iau hon mewn un cytundeb calon a meddwl.

Am hynny ymegniwch i arfer eich priodas fal hyn, ac felly y'ch arfogir chwi o'r ddau ystlys. Chwi a ddiangasoch rhag maglau diawl a chwantau anghyfraithlon y cnawd, ac a gawsoch lonyddwch cydwybod trwy ordeinhad priodas a ordeiniodd Duw, am hynny arferwch weddio 'n fynych arno, ar ei fod ef yn bresennol gydâ chwi, ac ar iddo efe gynnal cariad a charedigrwydd rhyngoch chwi. Gwnewch eich gorau o'ch rhan chwi i'ch ymarfer eich hunain a lledneisrwydd ac ammynedd, a dygwch yn llonydd gydâ'r cam a ddigwyddo; fal hyn y bydd eich ymddygiad chwi yn hyfryd ac yn ddiddanus iawn.

Ac er ei ryw wrthwyneb ganlyn (yr hyn ai ddichon bod yn amgen) ac er i aflwydd digwyddo, weithiau mewn un ffordd, ac weithiau mewn ffordd arall: etto yn y trallod a'r gwrthwyneb cyffredinol hwn, cyffodwch eich dwylaw eich dau tuâ 'r nefoedd, gelwch am gymorth y nerth gan Dduw awdur eich priodas chwi, ac yn siccr fe fydd addewyd eich ymwared chwi yn agos: O blegid mae Christ yn dywedyd yn yr efengyl, Os cyduna dau neu dri o honoch ar y ddaiar am ddim oll, beth bynnac a ddeisyfant a roddir iddynt gan fy-nhad yr hwn sydd yn y nefoedd. Math.18.19.

Paham am hynny yr ydwyd yn ofni perigl, lle y mae iti addewid mor barod, a chymmorth mor agos?

Rhaid i chwi ddeall hefyd mor anghenrhaid yw i Gristion ddwyn croes Christ, o herwydd heb hon byth ni wybyddwn mor ddiddanus yw cymmorth Duw ini. Am hynny rhoddwch ddiolch i Dduw am ei fawr ddawn, gan ddarfod i chwi gymmeryd arnoch stât priodas, a gweddiwch yn wastaddol ar i'r holl-alluog Dduw eich ymddiffyn a'ch maenteinio yn ddi yn llwyddiannus, fal na orfeiler chwi gan un brofedigaeth, na gwrthwyneb: Ond uwchlaw pob peth, gochelwch na roddoch achosion i ddiawl i rwystro ac i luddio eich gweddiau chwi, trwy ymryson ac angytundeb. O herwydd nid oes ymddiffynfa nac atteg gadarnach yn ein holl einioes ni na gweddi, trwy 'r hon y gallwn alw am nerth Duw a'i fwynhau, trwy 'r hon y gallwn gael ei fendith ef, ei rad, ei ymddiffyn, a'i nawdd, felly i barhau hyd onis caffom y bywyd sydd well yn y byd a ddaw. Yr hwn fywyd a ganniatao ef ini yr hwn a fu farw drosom ni oll, i'r hwn y byddo pob anrhydedd a chlod yn dragywydd, Amen.

## ¶Pregeth yn erbyn seguryd.



YN gymmaint a bod dyn yr hwn a aned nid i esmwythder a llonyddwch, ond i lafurio ac i drafaelu, gwedy dirywio, a chwympo gan lygredigaeth nattur trwy bechod cyn belled allan o ryw, fal y mae 'n coelio nad yw seguryd ddim yn ddrwg, ond yn hytrach yn beth canmoladwy gweddaidd

ddaidd i wyr cyfoethogion, ac am hynny y cofleidir hi yn chwannog gan y rhan fwyaf o ddynion, megis peth yn cytuno yn dda â'u meddylfryd cnawdol hwy, ac fe a ochelir yn ddiescaelus bob poen a thrafael megis peth poenus gwrthwyneb i ddigrifwch y cnawd: anghenrhaid yw mynegi i chwi y dylai bob dŷn (wrth ordeinhâd Duw yr hon a osododd ef allan yn natur dŷn) ymroi i drafaelu yn ei alwedigaeth gyfreithlon, a bod seguryd (oblegid ei bod yn wrthwyneb i'r ordeinhâd honno) yn bechod mawr, ac hefyd (oblegid llawer o ddrygioni a melldithion mawrion y rhai a darddant o hon) yn beth drwg iawn: ei mwyn bod i chwi, pan dealloch hynny, gilio 'n ddiwall oddiwrthi, ac ymroi o'r ystlys arall bob un yn ei alwedigaeth i drafaelu ac i weithio 'n honest, yr hyn fal y gorchymmynnwyd ef i ddyn wrth ordeinhâd Duw, felly y mae iddo aml fendithion ac amryw ddonniau.

Yn ol i'r holl-alluog Dduw greu dyn, fe a'i gosododd ef ym-mharadwys i'w chyweirio hi a'i chadw, ond pan drosoddase ef orchymmyn Duw gan fwyta ffrwyth y pren a ddarodd i Dduw ei waharddd, fe a'i taflodd yr holl-alluog Dduw ef yn y man allan o Baradwys i'r dyffryn blin gofodus hwn, gan orchymmyn iddo lafurio 'r ddaear, o'r hon y tynnasid ef, a bwyta ei fara yn chwys ei wyneb holl ddyddiau ei einioes.

Ordeinhâd ac ewyllys Duw yw i bob dŷn yn y bywyd marwol darfodedig hwn, ymroddi i ryw waith honest duwiol, ac i bob dŷn wneuthur ei negessau ei hun a rhodio 'n union yn ei alwedigaeth.

Dŷn,

Iob.5.7. Dŷn, medd Job, a aned i gymmeryd poen. Ac
Eccle.7.14. mae Jesu fab Sirach yn gorchymmyn ini na chasaom waith poenus, nac hwsmonnaeth, ar fath eraill a greodd y goruchaf.

Mae 'r gwr doeth hefyd yn cynghori ini, Yfed dwfr o'n pydew ein hun, ac o'r ffrydau a fyddant
Dichar 5.15. yn rhedeg allan o'n ffynnon ein hun, gan feddwl wrth hynny y dylem fyw ar boen ein gwaith ein hunain, ac nid ar boenau eraill.

2.Thes.3.7. Pan glywodd S. Pawl fod rhai yn-mysc y Thessaloniaid yn byw yn anllywodraethus ac yn annhrefnus, hynny yw heb weithio dim, onid bod yn rhodresgar, heb ennill eu bywyd trwy ludded, ond gan fwyta 'n rhâd o lafuriau eraill, mae e 'n gorchymmyn i'r Thesaloniaid nid yn unig eu tynnu eu hunain oddiwrthynt, a pheidio a bod iddynt gymdeithas â'r fath ddynnion anllywodraethus, ond hefyd o byddai neb yn eu mysc hwy na waithiai, na byddai i hwnnw fwyta, na chael ei ymborth ar ddwylaw eraill.

Ar athrawaeth hon eiddo S. Pawl sydd â'i sail ar ordeinhad cyffredinol Duw, yr hon yw, y dylai bawb drafaelu. Ac am hynny y dlai bawb ufyddhau iddi, ac ni ddichon neb yn gyfion ei ddieithrio eu hun oddiwrthi.

Ond pan ddywedir y dylai bawb drafaelu, nid ydys yn meddwl hynny mor gyfyng a phe bai raid i bawb weithio â'u dwylo: ond fal y mae llawer math ar waith, megis gwaith y meddwl, gwaith y corph, a gwaith pob un o'r ddau, felly y dylai bob dŷn (o ddieithr na allo ef drafaelu) er ennill i fywyd ei hun yn honest ac er budd i eraill hefyd, ymarfer mewn rhyw drafael honest, yn ol y galwedigaeth y gosododd Duw ef

ynddi;

ynddi; fal pwy bynnac a wnelo les i'r wlad ac
i gymdeithas dynnion, â'i ddiwydrwydd ac â'i
drafael, pa vn bynnac ai gan lywodraethu'r wlâd
yn gyffredinol, neu gan fod mewn swyddau neu
weinidogaethau cyffredinol, neu gan wneuthur
vn peth cyffredinol angenrhaid i'w wlâd; neu
trwy gynghori a dyscu eraill, neu mewn pa beth
bynnac y trafaelo, os bydd hynny buddiol i era-
ill, ni ddylaid cyfrif mo hwnnw'n segur er na
wnelo ef vn gwaith corphorol, na phallu o'i lun-
niaeth iddo, os gwilia fe ar ei alwedigaeth, er na
weithio â'i ddwylo. Ni ofynner am i neb weithio
gwaith y corph ac sydd o ran eu swydd a'u gal-
wedigaeth yn gweithio gwaith y meddwl er
budd a chymmorth i eraill.

Mae S. Pawl yn rhybyddio Timothi i ochel-
yd a gwrthod y gwragedd segurllyd y rhai nid
ydynt (medd ef) yn vnig yn segur yn rhodio'r tai
oddiamgylch, eithr hefyd yn ofer-iaithus, ac yn
rhodresgar, yn adrodd pethau anweddaidd.

Mae'r Prophwyd Ezechiel wrth gyfrif pecho- 1.Timo.4.10.
dau y Sodomiaid yn cyfrif seguryd yn vn o'r
rhai pennaf. Wele, medd ef, hyn oedd anwi- Ezech.16.36.
redd dy chwaer Sodoma, balchder, digonedd ba-
ra, ac amlder o seguryd oedd ynddi, y rhai hyn
oedd yn Sodō ai merched, hynny yw y dinasoedd
oeddynt ostyngedig iddi. Mae dinistr *erchrydus *Erchyll.
y ddinas honno a'r wlad o'i hamgylch, yr hwn
a fu trwy dân a brymstan a ddiscynnodd o'r nef, yn
manegi yn eglur ffiaidd pechod yw seguryd, ac fe
ddylai hynny ein rhybyddio ni i gilio rhagddo
ac i gofleidio honestrwydd a phoen Dduwiol.

Ond os ymroi wn i seguryd a diogi, gan gwyw-
dro yn ewyllysgar, a thraulo yn anllywodrae-

thus,

chus, heb ymroi i un gwaith honest, ond byw megis caccwn ar ffrwythau trafael rhai eraill, yno yr ydym yn torri gorchymmyn yr Arglwydd; ac yn cyfeiliorni oddi wrth ein galwedigaeth, ac yn cwympo i enbeidrwydd llid Duw a'i ddigofaint trwm ef, i'n distriw tragwyddol, oddieithr trwy edifeirwch droi o honom ni allwaith at Dduw yn ddiffuant.

Mae 'r drygioni a'r melldithion a ddawant o seguryd cyssadl i'r corph a'r enaid yn amlach nag y gellir mewn amser byrr eu cyfrif. Rhai o honynt a ddangoswn i chwi, fel wrth ystyried y rhai hyn y galloch yn hawdd adnabod y llaill o honoch eich hunain. Llaw segurllydd, medd Salomon, a fydd tylawd, ond llaw y rhai llafurus a gyfoethoga hwy. Ac allwaith, Y neb a lafurio ei dir a ddigonir o fara, ond y neb a ganlyno oferwyr, an-
Diar. 10 4. gall yw. Ac etto, Y diog yr hwn nid ardd o her-
Diar 12.11. wydd oerder y gauaf, aiff i gardotta 'r haf, y pryd ni bydd dim ganddo ef.

Ond pa raid ini sefyll yn hir i brofi hyn, fod tylodi yn canlyn seguryd? Mae addysc amser gwedy dangos ini hynny yn rhy gwbl (fal y mae 'r
Diar 20.4. truent 'n dra mawr) yn y deyrnas hon. O herwydd ni ellir haeru fod un achos o'r aml gardotta sydd ymhlith y ran fwyaf o'r tylodion, yn gymmaint a seguryd ac yscaelusrwydd tadau a mammau, y rhai ni ddygant eu plant i fynu nac mewn dysc dda, nac mewn llafurwaith honest, nac mewn un gelfyddyd ganmoledig, trwy 'r hyn pan ddelent i oedran y gallent ennill eu bywyd.

Mae addysc amser beunydd yn dangos nad oes dim mor wrthwyneb ac mor enbaid i gorph dyn ac yw seguryd, gormodd esmwythder a chyscu,

scu, ac eisiau trafaelu. Ond er bod y fath amsuddiau yn farwolion ac yn ddrygionus: etto am eu bod yn perthyn fwyaf at y corph a'r golud oddiallan, ni ellir eu cyffelybu hwy i'r aflwydd a'r drygioni sydd trwy seguryd yn digwyddo i'r enaid o'r rhai yr adroddwn ambell un.

Nid ydyw seguryd yn unig un amser: ond mae iddi yn wastad gynffon hir o feiau eraill yn glynu wrthi, y rhai a fygrant ac a ddifwynant ddyn yn gwbl, fal y gwnair yn y diwedd na byddo ef ddim amgen onid clamp o bechod.

Llawer o ddrygioni (medd Iesu fab Sarach) a ddaw o seguryd. Eccl.33.28. Mae S. Barnard yn ei galw hi yn fam pob drygioni, ac yn llysfam pob rhinwedd, gan ddywedyd ym-mhellach ei bod hi yn darparu ac megis yn gwneuthur llwybr i dân uffern. Lle byddir gwedy derbyn seguryd unwaith, yno y mae diawl yn barod yn wastad i roi ei droed i mewn, ac i blannu pob rhyw ddrygioni a phechod, i dragwyddol ddistrywio enaid dyn. Ac mae 'n Iachawdwr Christ yn traethu fod hyn yn wir, gan ddywedyd yn y 13 o Math. A thra'r oedd y dynnion yn cysgu y daeth ei elyn ef, ac a hauodd Mat.13.25. efrau ymhlith y gwenith.

Yn wir gorau amser ac y ddichon diawl i gael i weithio ei ddichellion yw, pan fyddo dynnion yn cysgu, hynny yw pan font hwy yn segur. Yno y mae fe'n trafaelu'n galed ar ei waith, yno y dala ef ddynion gyntaf yn ei fagl distryw, yno y llanw efe hwy a phob anwiredd, i'w dwyn hwy, oni bydd espysawl ffafwr Duw, i gwbl ddistryw. Am yr hyn y mae gennym ni ddwy sampl odidawg fywiol ymlaen ein llygaid. Y naill ym-mrenin Dafydd yr hwn wrth aros gartref yn segur, fal y tra-

tha

tha'r scruthyr, ar yr amser yr elsai frenhinoedd erasill i'r rhyfel, fe a i twylodd Sathan ef yn e-brwydd i ymwrthod a'r Arglwydd ei Dduw, ac i
2.Sam.11. wneuthur dau bechod drymmion yn ei olwg ef, godineb a llofruddiaeth. Yr oedd y plaau a ganlynasant o hynny yn erchyll ac yn greulon, fal y gall y rhai a ddarllenant yr histori weled yn ddi-
2.Sam.12. gon hawdd.

Y sampl arall sydd am Samson, yr hwn yr hyd
Barn.16.18. yr oedd ef yn rhyfela yn erbyn y Philistiaid, gelyn-
* Gorchfygu. nion pobl Dduw, ni allwyd dala na * gormeilio mo hono: Ond yn ol rhoddi o hono ei hun i esmwythder a seguryd, Ni wnaeth ef yn unig oddineb gyda'r buttain Dalila, ond fe a'i daliodd ei elynnion ef hefyd, fe a dynnwyd ei lygaid ef yn druan, fe a ddodwyd mewn carchar, fe osodwyd i falu mewn melin, ac a wneuthpwyd yn watwargerdd i'w elynnion.

Os cwympodd y ddau hyn, a hwy mor odidawg gwyr, a Duw yn eu caru yn gymmaint, a chwedy eu cynysgaeddu a donniau godidawg nefol, y naill o brophwyliaeth ar llall o nerth; a'r fath wyr na allwyd eu gormeilio er ioed n'au gorescyn, trwy flinder, na thrwy boen, na thrwy drallod, os gorescynnwyd ac os cwympodd y fath wyr i bechodau trymmion, wrth eu rhoddi eu hunain dros ennyd bychan i esmwythder a seguryd, ac felly os derbynniasant am hynny blaau blin ar law Dduw: pa bechod, pa felldith, pa ddrygioni a pha blaau a ddylai y rhai sydd drwy eu hoesoedd yn eu rhoddi eu hunain yn hollol i esmwythder a seguryd, eu hofni am hynny?

Na thwyllwn mo honom ein hunain, ac na thybiwn na ddaw ond ychydig o ddrwg o fod heb

wneu-

wneuthur dim. O herwydd gair gwir yw hwn, fod yr hwn sydd heb wneuthur dim yn dysgu gwneuthur drwg.

Am hynny byddwn bob amser yn gwneuthur rhyw waith honest, fal na chaffo diawl ni 'n segur: mae fe 'n wastad yn ei waith, ac nid yw yn segur dros un ennyd: ond mae 'n rhodio 'n wastad i geisio ein llyngcu ni. Am hynny gwrthwynebwn ef a gwiliwn yn ddyfal mewn gwaith a gorchwyl, a gwnawn yr hyn sydd dda. O herwydd ni ddelir yn hawdd ym-maglau diawl yr hwn sydd yn ymarfer mewn gorchwylion honest.

Yn-oed wyr hyn (er wyr segur yn neu eisiau rhyw gelfyddyd honest i fyw arni) i dylodi a diffyg am bethau anghenrhaid, ni a welwn mor hawdd y dygir ef er mwyn ei ennill i ddywedyd celwydd, ac i wneuthur pob twyll, i dwyllo ei gymmydog, i dyngu anudon, i gaudystiolaethu, ac weithiau i ledratta a lladd, neu i arfer rhyw beth annuwiol arall, i geisio byw. Trwy r hyn y cyll ef yn gwbl nid yn unig ei enw da, ei gymeriad honest, a'i gydwybod dda, ie ei fywyd hefyd: ond fe annog hefyd arno ei hun lid a digofaint Duw ac aml ac amrafael blaau trymmion eraill.

Gwelwch ymma ddiwedd dynion segurllyd diog, y rhai ni allent eu dwylo ddioddef gwaith honest: colli eu henw a'u gair da, eu cymeriad, a'u bywyd yn y byd hwn, ac heb fawr drugaredd Duw, y mae yn ennill distryw tragwyddol yn y byd a ddaw.

Onid oes achos da wrth hynny i ochelyd ac i ymgadw rhag seguryd, gan fod y rhai a'i cofleidio, ac a'i canlyno hi, onid odid yn cael am eu hyfryd seguryd, anhyfryd wch chwerw sur? Yn ddiammau gan fod gwyr da duwiol yn ystyriaid y mawr

a'r

a'r aml ddrygau a ddigwydd i wledydd o blegid seguryd, hwy a ddarparasant ac a wnaethant o amser i amser yn ddiescaelus gyfraithiau tost difrif, i geryddu a gwella y bai hwn.

Yr oedd gan yr Aiphtiaid gyfraith ar i bob dŷn ddyfod a'i enw bob wythnos at Lywydd pennaf y wlad, a manegi yno pa gelfyddyd a arferai ef, o fwriad ar gospi seguryd yn ol ei haeddiant, a gobrwyo poen ddyfal yn ddyledus.

Ni cheryddai yr Atheniaid bobl segurllyd ddiog ddim yn llai na'r rhai a wnaent faiau mawrion trymmion, gan ystyriaid (fal y mae'r gwirionedd) fod seguryd yn gwneuthur llawer o ddrygioni. Fe fynnai'r Areopagitiaid gyfrif manol o'i fywyd gan bob dŷn. Os caent hwŷ rai segurllyd heb wneuthur lles i'r wlad mewn rhyw fodd neu gilydd, hwy a yrrid allan ac a * afwladid [* Aethwladid. ddeolid. alltudid.] megis aelodau anfuddiol, y rhai a waethent ac y lygrent y corph.

Ac fe wnaethpwyd yn y deyrnas hon lawer o gyfraithiau duwiol da yn fynych, na bai oddef crwydr ddynion segurllyd, na gwibwyr ofer, i fyned o dref i dref, ac o le i le, heb gospi, am na wasanaethent na Duw neu tywysog, ond a lyncant ffrwythau melus lludded rhai eraill, gan eu bod onid odid yn gelwyddog yn feddwon, yn dyngwyr, yn lladron, yn butein-wyr, yn llofruddiaid, yn gwrthod pob llafur honest, heb eu rhoddi eu hunain i ddim amgen ond i ddychymmyg drygioni, i'r hyn y maent yn chwannoccach ac yn fwy eu hawydd na'r llew i'w ysglyfaeth.

I wella y drygioni hyn, dyged pob tadau a mammau ac eraill y rhai sydd a gofal a llywodraeth ieuengtyd arnynt, hwy i fynu mewn dŷsc dda,

mewn

mewn trafael a rhyw gelfyddyd, fal y gallont ar ol hyn nid yn unig gael eu lluniaeth yn ddigonol, ond cynorthwyo a chyflawni anghennau a dyffygion eraill hefyd.

Ac medd Sanct Paul, yr hwn a ledrattaodd na ledratted mwy, eithr cymered boen yn hytrach yn gweithio a'i ddwylaw y peth ſydd dda, fel y byddo gantho beth i'w gyfrannu i'r anghenog. Mae 'r Prophwyd Dafydd yn tybied mai gwynfyd yr hwn y fyddo 'n byw ar ei lafur, Canys, medd ef, mwynhei lafur dy ddwylo, gwyn dy fyd a da fydd it. Ephef.4.28. Pſal.128.2.

Mae'r gwynfyd a'r bendith hyn yn ſefyll yn y pyngciau hyn a'r fath eraill.

Yn gyntaf, fal y dywaid Salomon, rhodd Duw yw i wr fwyta ac yfed a mwynhau llafur ei ddwylo. Eccl.3.13.

Yn ail, pan fyddo gwr yn byw ar ei lafur ei hun (os bydd ef honeſt a da) mae 'n byw arno mewn cydwybod dda. A thrysor an-nhraethadwy yw cydwybod union.

Yn drydedd mae fe yn bwyta ei fara heb ymryſon ac ymdaeru ond yn eſmwyth ac yn llonydd, pan fyddo ef yn llafurio yn llonydd am dano, yn ol rhybydd S. Paul.

Yn bedwaredd nid yw ef gaeth i neb am ei fwyd, ac nid rhaid iddo er mwyn hynny ordwyſo ar ewyllys da neb, ond mae fe felly 'n byw ar yr eiddo, fal y gall ef roi rhan i eraill hefyd.

Ac yn ddiwethaf mae 'r llafurwr a'i dylwyth yr hyd y byddont yn trafaelu 'n galed ar eu gwaith, yn rhyddion oddiwrth lawer o brofedigaethau, ac achoſion pechod, y rhai y mae y dynion fydd yn byw yn ſegur mewn perigl o honynt.

Ac ymma y dyle grefftwyr a gwaithwyr y rhai a weithiant ac a lafuriant am eu * hur, ystyried eu cydwybod tu ac at Dduw, a'u dlyed tu ac at eu cymydog, na chamdreuliont eu hamser mewn seguryd, gan dwyllo y rhai sydd mewn cost fawr wrth dalu yn brid am fwyd a chyflog. Mae'n hwy yn wir yn waeth nâ dynnion segur, am eu bod yn gofyn cyflog dros fod yn segur. Llai o berigl ger bron Duw yw bod yn segur heb ddim ennill, nâ thrwy seguryd ennill o godau eu cymydogion gyflogau am y pethau nis haeddasant.

* Cyflog.

Gwir yw fod yr hollalluog Dduw yn ddig wrth y rhai a dwyllant gyflog-ddynion o'n cyflog. Mae gwaedd y camwedd hwnnw yn escyn i fynu gerbron Duw am ddial. Ac mor wir yw fod cyflog-ddŷn a wnel dwyll yn ei waith yn lleidr ger bron Duw. Na fydded i neb medd S. Pawl dwyllo ei frawd, canys yr Arglwydd sydd ddialudd ymmhob cyfryw beth.

1. Thes. 4. 6.

Am hynny yr hwn a ewyllysia bod a chydwybod dda tu ac Dduw, y gwaithwr hwnnw, meddaf, yr hwn sydd yn sefyll yn unig ar râd Duw, yr hwn sydd yn rhoddi digon iddo i fyw, treulied ei amser mewn gwaith ffyddlon, a phan orffo arno beidio a gweithio o blegid clefyd neu ryw wrthwyneb arall, etto gwybydded am iddo ef yn ei iechyd wasanaethu Duw a'i gymydog yn gywir, na bydd eisiau arno yn amser anghenrhaid. Am fod Duw yn edrych ar ei ffyddlondeb ef yn ei iechyd, fe a'i gobrwya ef mewn prinder, gan gyffroi calonnau dynnion da i gynnorthwyo y fath ddŷn a fo gwedy adfeilio mewn clefyd. Ac o'r ystlys arall beth bynnac a eniller drwy seguryd, ni bydd ffrwyth ynddo i nerthu pan fo rhaid.

Am hynny gocheled y gwaith wr y bai hwn, se-
guryd a thwyll, gan gofio fod S. Paul yn rhy-
byddio pawb i osod heibio bob twyll rhagrith a Ephes.4.25.
chelwydd, a dywedyd gwirionedd ac iniondeb
wrth eu cymydogion, canys, medd ef, aelodau y-
dym i'w gilydd, yn un corph dan un pen, sef hwn
yw Christ ein Iachawdwr.

Ac ymma y gellid rhybyddio gweision gwyr
mawr o fewn y deyrnas hon, y rhai a dreuliant eu
hamser mewn seguryd mawr, heb ystyried yr am-
ser cyfaddas, gan anghofio nad yw gwasanaeth
yn etifeddiaeth, ac yr ymlusca oedran arnynt.
Lle byddai ddoethineb iddynt dreulio eu hamser
mewn rhyw boen dda, fal y gallai eu gwybodaeth
hwy gynnyddu, ac felly y gallent hwyntau fod
yn barottach i wasanaeth pob gŵr. Bai mawr
arnynt yw, na cheisiant ddyscu scrifennu 'n dêg, i
gadw llyfr cyfrif, neu ddyscu iaithoedd, ac felly
cael doethineb a gwybodaeth yn y fath lyfrau a
gweithredoedd ac sydd gwedy eu printio yn awr
yn aml ym-mhob iaith.

Ystyried gwyr iauaingc bris gwerthfawr eu
hamser, ac na threuliant ef mewn seguryd, coe-
gedd, chwareu, cyfeddach a chwmpniaeth ofer-
ddynion. Nid yw ienengctyd ond oferedd, a rhaid
yw rhoi cyfrif ger bron Duw am dano, er mor lla-
wen a hyfryd a fyddych yn dy ieuengctyd. Gwna
yn llawen wr ieuangc, medd y pregethwr, yn dy Pregeth. 11.9.
ieuengtid, a llawenyched dy galon yn amser dy
ieuengctid: rhodia yn ffordd dy galon ac yn ol
trachwantau dy lygaid, ond gwybydd y geilw
Duw ei hun di i'r farn am hyn oll.

Duw o'i drugaredd a osodo ynghalonnau a
meddyliau y rhai sydd a chleddyf cosp yn eu dwylo,

neu sydd a thylwyth dan eu llywodraeth, drafae-
lu i ddiwygio beiau mawrion pawb ac sydd yn
byw yn segurllyd ac yn anfuddiol yn y wlad, i
fawr ddianrhydedd Duw a phlaau trymmion ei
bobl druain ef. Nid yw gadel pechod heb gospi ac
escaeluso dwyn i fynu ieuengctid, ddim amgen
onid enynnu llid Duw yn ein herbyn, a chynull
plaau ar ein pennau.

Yr hyd y goddefwyd y bobl oddinebus i fyw yn
ddrythyll heb eu ceryddu, yr hyd hynny y par-
haodd ac y cynnyddodd y pla yn Israel, fal y gell-
wch weled yn llyfr y Rhifedi. Ond pan gospwyd
Numeri.25.8. hwy, yn y man yr attaliwyd y pla.

Synned am hynny bob swyddog ar yr hyn a
orchymynnir iddo. Gwellhaed perchen tai y
camarferon hyn yn eu tylwyth. Arferant yr aw-
durdod a roddodd Duw iddynt, na faenteiniant
wibwyr a dynnion segurllyd, ond rhyddhant y
wlad a'u tylwyth o'r fath segurwyr drygionus,
fal yn ol tynnu ymmaith seguryd mam pob dry-
gioni, y trotho 'r holl-alluog Dduw ei erchyll
lid oddiwrthym ac y cadarnhao ef ammod ei
heddwch arnom ni 'n dragywydd, drwy 'haeddi-
ant Iesu Grist ein unig Arglwydd a'n Iachaw-
dwr, i'r hwn gyda 'r Tâd a'r Yspryd glân y
byddo holl anrhydedd a gogoniant yn oes oesoedd,
Amen.

## ¶ Pregeth am etifeirwch, neu wir gymmodi a Duw.



Nid ydyw yr Yspryd glân yn
llafurio 'n fwy am ddim yn yr
holl scruthyrau nag am faeddu i
bennau dynnion etifeirwch, gwe-
lla eu bywyd a throi yn ebrwydd
at Arglwydd Dduw y lluoedd.

Ac nid rhyfedd paham. O ble-
gid yr ydym ni bob dydd a phob awr trwy ein
drygioni a'n anufydd-dod cyndyn yn cwympo 'n
erchyll oddiwrth Dduw, gan bwrcasa trwy hyn-
ny ini ein hunain (pe gwnai Dduw a ni yn ol ei
gyfiawnder,) dragwyddol ddamnedigaeth. Fel
nad oes vn athrawaeth mor anghenrhaid yn eg-
lwys Dduw, ag yw athrawaeth etifeirwch, a
gwellhâd bywyd. Ac yn wir fe a gydsylltodd
gwir bregethwyr efengyl teyrnas nef a newy-
ddiau llawen llewyrchus Iechydwriaeth, yn eu
holl bregethau duwiol i'r bobl, y ddau hyn yn-
ghŷd, etifeirwch a maddauant pechodau: fel yr
appointiodd ein Iachawdwr Iesu Crist ei hun,
gan ddywedyd. Rhaid oedd i Grist ddioddef, a Luc. 14.46.
chyfodi o feirw y trydydd dydd, a phregethu eti-
feirwch a maddeuant pechodau yn ei enw ef ym-
mhlith y cenhedloedd oll.

Ac am hynny y mae'r Apostol yn yr Actau yn Act. 20. 21.
dywedyd fal hyn, Chwi a wyddoch destiolaethu o
honof i'r Iddewon ac i'r Groegiaid hefyd, yr edi-
feirwch yr hwn sydd yn-Nuw, a'r ffydd yn ein
Harglwydd Iesu Grist. Ac oni ddechreuodd Ioan
fedyddiwr Mab Zacharias ei wenidogaeth ag a-
thrawaeth edifeirwch, gan ddywedyd, Edifar- Math 32.

hewch canys daeth teyrnas nefoedd yn agos.

Mat.3.2. Yr vn fath athrawaeth a bregethodd ein Ia-
chawdwr Christ ei hun ac a orchymmynnodd ef
Mat.4.17. i'w Apostolion ei phregethu.

Mi a allwn ymma osod llawer o leoedd o'r Prophwydi yn y rhai yr addyscir yn dra difrif yr athrawiaeth iachus hon o edifeirwch, megis y peth angherheitiaf i bob grâdd o ddynnio͂: ond vn a fydd digon ar hyn o bryd. Dymma eiriau y Prophwyd Ioel, Ond yr awr hon medd yr Arglwydd,
Ioel.2.12.13. dychwelwch attafi â'ch holl galon, mewn ympryd mewn wylofain ac mewn galar. A rhwygwch eich calonnau ac nid eich dillad ac ymchwelwch at yr Arglwydd eich Duw: o herwydd grasلawn a thrugarog yw efe, hwyrfrydig i ddigofaint ac aml o drugaredd ac edifeiriol am ddrwg. Trwy 'r hyn y deallwn fod gwedy rhoddi ac apointio ini reol dragwyddol yr hon a ddylaid ei chadw a'i chynnal bob amser, Nad oes vn ffordd arall i esmwytho digofaint Duw nac i lareiddio ei lid ef, nac i droi hebio oddiwrthym nac i ochelyd creulondeb ei lid ef, a'r plaau a'r distryw y rhai trwy ei inion farn a appointiodd ef eu dwyn arnom.

Lle mae fe'n dywedyd, Ond yn awr medd yr Arglwydd trowch attaf fi nid heb achos mawr y mae 'r Prophwyd yn dywedyd felly. O herwydd darfod iddo o'r blaen osod allan yn helaeth echrydus ddial Duw yr hwn ni allai neb ei aros am hynny y mae'n eu cyffro hwy i edifeirwch fel y mwynhaent drugaredd: megis pe dywedasai, Ni fynnaf i chwi gymmeryd hyn fal pe na byddai ddim gobaith am râs: o blegid er i chwi haeddu am eich pechodau eich distrywio'n gwbl, ac er i Dduw yn ei gyfion farn ordeinio danfon arnoch

ddi-

oddiſtryw malwy: etto yn awr a chwi haechen ar
fin y cleddyf, os trowch chwi yn ebrwydd atto ef,
fe a'ch derbyn chwi yn fwyn ac yn dirion iawn i'w
ffafor ailwaith.

Trwy hyn y'n rhebyddir ni nad yw edifeirwch
un pryd yn rhy hwyr, os bydd gwir a diffils. O ble-
gid am fod yn galw Duw yn yr ſcruthyrau yn Dad
ini, yn ddiammau mae fe'n dilyn natturiaeth a
chyneddfau tadau mwyn trugarog, y rhai ni chei-
ſiant ddim yn gymmaint a throad a gwellhâd eu Luc.15.11.
plant, fal y mae Chriſt yn dangos yn halaeth yn-
nammeg y mab afradlon. Onid yw yr Arglwydd
ei hun yn dywedyd trwy y Prophwyd, Na fyn ef
farwolaeth pechadur onid troi o hono oddiwrth ei Ezec.18.23.
anwiredd a byw. Ac mewn lle arall, Os cyfa- Eſai.1.17.
ddefwn ein pechodau, ffyddlon yw efe a chyfiawn
fel y maddeuo ini ein pechodau ac y'n glanhao ni 1.Ioan.1.9.
oddiwrth bob anwiredd.

Ac fe gadarnheuir yr addewidion diddanus hyn
trwy lawer o ſiamplau'r ſcruthyrau. Pan dder-
bynnodd yr Iddewon a phan gafleidiaſant hwy
yn ewyllysgar gyngor iachus y Prophwyd Eſai,
fe a eſtynnodd Duw yn y man ei law i'w cym- Eſa.37 36.
morth hwy, a thrwy law ei Angel fe a laddodd
mewn un noſwaeth y milwyr gworolaf dewraf yn
llu Senacherib. At yr hyn y gellir cyſſylltu
Manaſſes, yr hwn yn ol pob rhyw ddrygioni mell-
digedig a drodd at yr Arglwydd ac efe a wranda-
wodd arno, ac a'i adferodd ef i'w frenhiniaeth ail-
waith. Yr un gras a ffafor a gafodd y wraig be-
chadurus Magdalen, Zacheus, y lleidr truan, a
llawer eraill. 2.Cro.3.13.

Yr holl bethau hyn a allant waſanaethu yn lle
ddiddanwch ini, yn erbyn profidigaeth ein cyd-

wybodau, trwy y rhai y mae diawl yn ceisio ys-
gydwyd neu yn hytrach ddiddymmu ein ffydd ni. Oherwydd fe ddylai bob un honom gymmeryd hyn atto ei hun a dywedyd, Etto tro yn awr at yr Arglwydd ac na phared coffadwriaeth dy fywyd o'r blaen i ti lwfrhau, ie po gwaethaf fu dy fywyd hydded dy edifeirwch a'th ymchwelad dithau difrifach a gwresoccach ac yn y man y cei di weled clustiau'r Arglwydd yn agored i'th weddiau.

Ond synnwn yn ddifrifach ar orchymmyn yr Arglwydd ynghylch y peth hyn. Trowch attaf, medd ef trwy y Prophwyd Joel, a'ch holl galonnau, mewn ympryd, wylofain a galar. Rhwygwch eich calonnau ac nid eich dillad. Yn y geiriau hyn mae fe'n cynnwys pob peth a ellir ei ddywedyd am edifeirwch. Yr hwn yw troad yr holl ddyn at Dduw, oddiwrth yr hwn y cwympodd ef trwy bechod.

Ond er mwyn gallel o honom yn well ddwyn gydâ ni ystyr yr holl draethawd, ni a ystyriwn yn gyntaf mewn trefn bedwar o brif byngciau: hynny yw, Oddiwrth ba beth y mae'n rhaid ini droi, At bwy y mae'n rhaid ini droi, A thrwy bwy y gallwn ni droi, A pha fodd y dylem droi at Dduw. Yn gyntaf, o ba le neu oddiwrth ba bethau y mae'n rhaid ini droi. Yn wir rhaid ini droi oddiwrth y pethau trwy y rhai y'n attaliwyd, y'n tynnwyd, neu y'n arweinwyd ni oddiwrth Dduw, a'r rhai hyn yn gyffredinol yw ein pechodau ni, y rhai fal y testiolaetha y prophwyd sanctaidd Esai sydd yn yscar rhwng Duw a ninnau, ac yn cuddio ei wyneb ef oddiwrthym, fal na wrandawo arnom. Ond dan enw pechodau y cynhwysir nid yn unig y geiriau a'r gweithredoedd anfad y rhai a gyfrifir wrth gyffredin farn

Esai 59.2.

dynion yn frynton ac yn anghyfraithlon ac felly
yn bechodau ffiaidd; onid hefyd gwyniau aflan
a chwantau 'r cnawd oddifewn, y rhai, fel y dy-
waid S. Paul, a wrthryfelant yn erbyn ewyllys Rhuf. 7.
ac Yspryd Duw, ac am hynny a ddylaid yn ddi-
rifeu ffrwyno a'u cadw yn isel. Rhaid ini edifaru
am gau opinionau * camsynnus, a fu gennym * Amryfys.
ni am Dduw, a'r ofergoel melldigedig sydd yn
tyfu o hynny, sef addoli a gwasanaethu Duw yn
anghyfraithlon a'r fath bethau eraill. Rhaid i'r
rhai a wir droant at yr Arglwydd ac a edifarhant
yn inion, ymwrthod â'r holl bethau hyn. O her-
wydd am fod llid Duw yn cwympo o blegid y pe-
thau hyn ar blant anufydd-dod, nid gwiw edrych Ephes. 5.6.
am ddiwedd cosp, yr hyd y bydo y pethau hyn yn
parhau ynom. Am hynny y condemnir ymma y
rhai a ddangosant eu bod yn bechaduriaid edifei-
riol, ac er hynny nid ymadawant a'u delw-addoli-
aeth a'u hofergoel. Yn ail rhaid yw ini edrych at
bwy y dylem droi. Reuertimini vsq; ad me, medd yr
Arglwydd, hynny yw, Trowch hyd attaf fi. Rhaid
yw ini am hynny droi at yr Arglwydd, ie rhaid ini
droi atto fe yn vnig, o herwydd efe yn vnig yw 'r
gwirioned a ffynnon pob daioni. Ond rhaid ini
ymegnio i droi hyd atto ef, ac na orphwysom ni,
ac na arhossom chwaith, nes i ni ei gyrhaeddyd
ef a chaell gafael ynddo. Ond rhaid yw gwneuthur
hyn trwy ffydd. O herwydd am fod Duw yn Ys-
pryd ni ellir mewn vn ffordd amgen ei gyrhae-
ddyd ef na chaell gafael ynddo.

Am hynny yn gyntaf maent hwy mewn am-
ryfysed mawr y rhai ni throant at Dduw ond at
y creaduriaid neu at ddychymygion dynion, neu
at eu haeddiant eu hunain.

Yn ail y camsynna y rhai a ddechreuant droi at

yr Arglwydd ac a lewygant am hanner y ffordd cyn y delont at y marc a osodwyd iddynt.

Yn drydydd, am nad oes gennym ddim o honnom ein hunain i anrhegu Duw, a'n bod mor barod i gilio oddiwrtho yn ol ein cwymp ac oedd ein hendâd Addaf, yr hwn gwedy iddo bechu a geisiodd ymguddio o olwg Duw; rhaid yw ini wrth gyfryngwr i'n dwyn atto, i'n cymmodi ni ag ef yr hwn sydd ddig wrthym am ein pechodau. Iesu Grist yw 'r cyfryngwr hwnnw, yr hwn ac yntef yn wir fâb naturiol Duw, gogyfuwch ac o un annian â'i Dad, a gymmerodd arno ar yr amser gosodedig, ein nattur wael ni yngh-roth y fendigedig forwyn, a hynny o'i sylwedd anllygredig hi, fal y byddai ef cyfryngwr rhwng Duw a ninnau ac y llynyddai ei lid ef.

Math.3.17. Am dano efe y mae 'r Tâd ei hun yn llafaru o'r nef gan ddywedyd, Hwn yw fy anwyl fâb yn yr hwn y'm bodlonwyd. Ac mae fe ei hun yn yr efengil yn gweiddi gan ddywedyd, myfi yw y ffordd a'r gwirionedd a'r bywyd. Nid yw neb yn

Iohn 14.6. dyfod at y Tâd ond trwyof fi. O herwydd efe yn unig, ag aberth ei gorph a'i waed a wnaeth iawn i gyfiawnder Duw am ein pechodau ni.

1.Iohn 2.2. Ac mae 'r Apostolion yn testiolaethu i Dduw ei

1.Pet.1.19. dderchafu ef, i roddi edifeirwch i Israel a maddeu-

Act.5.31. ant o'u pechodau. Y ddau beth hyn a orchymynnodd ef ei hun eu pregethu yn ei enw ef. Am hynny mae y rhai a bregethant edifeirwch heb Grist i'r disyml a'r rhai sydd heb wybodaeth, gan ddyscu ei bod yn sefyll yn unig mewn gweithredoedd dynnion, mewn amryfysedd mawr. Maent hwy yn wir yn adrodd llawer o bethau am weithredoedd da, am wellhâd bywyd ac afe-

ron, ond heb Grist nid ydynt oll ond ofer ac anfuddiol.

Mae 'r rhai sydd yn tybied iddynt wneuthur llawer tuag at edifeirwch, o gymmaint a hynny ymmhellach oddiwrth Dduw, am eu bod yn ceisio yn eu haeddiant a'u gweithredoedd eu hunain y pethau a dylaid eu ceisio yn ein Iachawdwr Iesu Grist yn unig, ac yn haeddiant ei farwolaeth ef, ei ddioddeifaint a thywalltiad ei waed ef.

Yn bedwaredd, mae 'r prophwyd sanctaidd hwn Ioel yn dangos yn eglur, pa fodd y dylaid troi neu edifaru, gan gynnwys yr holl bethau ac a ellir eu hystyried ymma oddi mewn neu oddiallan.

Yn gyntaf, fe a fyn ini droi at Dduw â'n holl galonnau: trwy 'r hyn y mae fe 'n tynnu ymmaith ac yn troi heibio bob rhagrith, rhag gallu dywedyd hyn yn gywir wrthym ni, Y bobl hyn sydd yn nessau attaf â'u geneuau ac i'm anrhydeddu a'u gwefusau, a phellau eu calon ymaent oddiwrthyf. Esai 29. 13.

Yn ail, mae fe 'n gofyn gwir a phur gariad tuag at Dduwioldeb a thuag at wir anrhydedd a gwasanaeth Duw, hynny yw bod i ni ymwrthod â phob peth ac sydd wrthwyneb ac yn erbyn ewyllys Duw, a rhoddi ein calonnau iddo ef a holl nerth ein cyrph a'n eneidiau, yn ol yr hyn a scrifennir yn y gyfraith. Ti a geru yr Arglwydd dy Dduw â'th holl galon â'th holl enaid, ac â'th holl nerth. Deut. 6. 5.

Ni adewir am hynny ini ddim ymma i'w roddi i'r byd ac i wyniau 'r cnawd. O herwydd mai y galon yw ffynnon ein holl weithredoedd ni, mae cynnifer ac sydd yn troi at yr Arglwydd

â'u

a'u holl galon yn byw yn unig iddo ef. Ac nid oes neb yn edifaru yn gywir sydd yn cloffi o'r ddau ystlys, ac weithiau yn gwasanaethu Duw, ond etto a dybygant fod yn gyfraithlon iddynt yn y man wasanaethu'r byd a'r cnawd.

Ac o herwydd bod llygredigaeth naturiol ein cnawd ein hunain, a'i wyniau drygionus ef, yn ein rhwystro ni, mae fe yn gorchymmyn ini hefyd droi trwy ympryd: nid gan ddeall wrth hynny ryw ofergoelus ymmattal a dewis bwydau, ond gwir geryddu a dofi y cnawd, trwy yr hyn y tynnir ymmaith oddiwrtho ymborth gwyniau bryntion a rhyfig a balchedd cyndyn.

At ympryd y mae fe'n cydsylltu wylo a galaru, y rhai a gynhwysant yndynt bob argoel edifeirwch oddi allan, ac anghenrhaid iawn ydynt, megis felly y gallom o ran osod allan gyfiawnder Duw, wrth ein bod trwy hynny yn cyfaddef ein bod yn haeddu cosp ar ei law ef; ac o ran er attal y rhwystr a roesom ni yn gyhoedd i'r gweiniaid.

Psal. 25. ar 35. ar 51. ar 393. ar 143.

Fe welodd Dafydd hyn yn ddifai, yr hwn nid oedd ddigon gantho wylo a galaru yn ddirgel am ei bechodau, ond hefyd yn ei Psalmau'n gyhoedd fe fynegai ac osodai allan gyfiawnder Duw yn cospi pechod, ac a attaliai felly y rhai a allasent gamarfer ei siampl ef i bechu yn *eofnach. Am hynny mae y rhai ni wnânt na chyfaddef a chydnabod eu pechodau na galaru amdanynt, ond yn hytrach a ymogoneddant ac a lawenychant yn annuwiol ynddynt, ym-mhellaf o gwbl oddiwrth wir edifeirwch.

*Hyfach.

Bellach rhag tybied o neb fod edifeirwch yn sefyll yn unig mewn wylo a galaru oddiallan, mae fe'n adrodd y peth y mae'r cwbl yn sefyll ar-

no,

yno, pan ydyw yn ydywedyd, Rhwygwch eich ca-
lonnau ac nid eich dillad a throwch at yr Ar-
glwydd eich Duw. O blegid arfer pobl y dwy-
rain oedd rwygo eu dillad pan ddigwyddei ddim
anrhaith ei oddef iddynt. A hyn a ddynwaredai
ac a ganlynai 'r hypocritiaid ryw amser, megis
pe bai edifeirwch cwbl yn sefyll yn y fath ymddy-
giad oddiallan. Am hynny mae fe yn dangos fod
yn gofyn ganddynt ryw beth arall, hynny yw,
fod yn rhaid iddynt fod a'u calonnau gwedy eu
rhwygo, fod yn rhaid iddynt ddygyn-gasshau a
ffieiddio pechodau, a chan ymborthod â hwy yn
gwbl rhaid iddynt droi at yr Arglwydd eu Duw,
oddiwrth yr hwn yr aethant o'r blaen ymmaith.
O herwydd nid y Ceremoni oddiallan a fodd-
lona Duw, ond gofyn y mae ef galon ddrylli- Psal. 51.17.
dig gystuddiedig yr hon ni ddistryra ef byth, fal y
testiolaetha y prophwyd Dafydd. Wrth hyn ni wa-
sanaetha y Ceremoniau oddiallan i ddefnydd yn
y byd ond cy belled ac y maent yn ein cyffroi ni,
a chy belled ac y gwasanaethant i ogoneddu
Duw, ac i adail eraill.

Yn awr mae fe 'n cydsylltu a'r athrawaeth a'r
annogaeth hon ryw resymmau duwiol, y rhai
y mae fe 'n gosod eu sail ar nattur a chynneddfeu
Duw, a thrwy y rhai y mae fe 'n dangos na ddi-
chon gwir edifeirwch fod yn anfuddiol nac yn
anffrwythlon. O herwydd megis ymhob peth
arall y gloesa ac y llewyga calonnau dynnion
os gwybyddant eu bod yn llafurio 'n ofer: felly
hefyd yn enwedig yn y peth hyn, rhaid ini oche-
lyd na oddefom ein perswado nad yw 'r cwbl yr
ydym ni yn ei wneuthur onid colli 'n poen. O
herwydd o hynny y cyfyd naill ai anobaith disym-
mwyth,

*Hyfder. mwyth, ai rhyfygus * eofnder i bechu, yr hyn hefyd yn y diwedd sydd yn tywys i anobaith.

Am hynny rhag dig wydd iddynt y cyfryw beth, mae fe yn eu siccrhau hwy o râd a daioni Duw, yr hwn sydd yn barod i dderbyn i'w ffafwr ailwaith y rhai a droant yn ebrwydd atto. Yr hyn y mae 'n ei * brwofo â'r teitlau, a'r enwau, â'r rhai y mae Duw yn ei ddescribio ei hun ac yn ei osod allan wrth Moeses gan ddywedyd yn y modd ymma: O herwydd graslawn a thrugarog yw efe, hwyrfrydig, i ddigofaint ac aml o drugaredd, ac edifeiriol am ddrwg. Yn gyntaf mae yn ei alw ef yn rasławn, cyfryw un ac o'i nattur ei hun sydd barottach i wneuthur daioni nac i gospi. At yr hyn y mae 'n debyg fod ymadrod Esai yn perthyn, Gadawed y drygionus ei ffordd, a'r gwr anwir ei amcanion, a dychweled at yr Arglwydd, ac efe a gymmer drugaredd arno, ac at ein Duw ni, o herwydd mae fe 'n barod iawn i faddeu.

*Brof. (margin note to "brwofo")

Exod.34.6. (margin note to "O herwydd grasławn")

Esai 55.7. (margin note to "Gadawed")

Yn ail mae fe 'n dangos ei fod ef yn drugarog, neu yn hytrach, ynol y gair Hebrew, ymyscaroedd trugaredd: trwy 'r hyn yr ar wydocceir serch naturiol tadau at eu plant. Yr hyn y mae Dafydd yn ei osod allan yn dda iawn gan ddywedyd, fel y tosturia tâd wrth ei blant y tosturiodd yr Arglwydd wrth y rhai a'i hofnant ef: canys fe adwaene ein defnydd ni, cofiodd mai llwch oeddem ni. Yn drydydd, mae fe 'n dywedyd ei fod ef yn hwyrfrydig i lid, hynny yw, yn dda ei ammynedd, ac nid annogir yn hawdd i lid.

Psal.103.13. (margin note to "dyd, fel y tosturia")

Yn bedwaredd, ei fod ef yn aml o drugaredd: o herwydd efe yw ffynnon ddiwaelod pob daioni, yr hwn sydd yn llawen gantho wneuthur daioni i ni. O'r achos hyn y creodd ac y gwnaeth ef

ddyn-

ddynion er mwyn caelo hono rai i wneuthur daioni iddynt, ac i'w gwneuthur yn gyfrannogion o'i gyfoeth nefol.

Yn ddiwethaf, mae fe yn edifeiriol am ddrwg, hynny yw, mae fe'n galw yn ol y gosp a fygythodd pan welo ef dynion yn edifaru, yn troi, ac yn gwellhau. Am hynny nid heb achos cyfion yr ydym ni yn casau ac yn ffeiddio opinionau melldigedig y rhai a geisiant yn annuwiol berswado'r disyml a'r bobl ddiwybod, os digwydda ini yn ol dyfod unwaith at Dduw a'n himpo yn ei fab ef Iesu Grist, gwympo i ryw bechod erchyll, na bydd edifeirwch ond anfuddiol ini, nad oes mwy obaith cymmod, na chael ein derbyn ailwaith i ffafwr a thrugaredd Duw. Ac er rhoi lliw gwell ar eu hamryfysedd enbaid echryslon, hwy a arferant roi trostynt y chweched ar ddegfed bennod o'r epistol at yr Hebreaid, a'r ail bennod o ail epistol Petr, heb ystyriad nad yw yr apostolion yno'n dywedyd am ein cwympau beunyddol ni, i'r rhai yr hyd y dygom gyda ni y corph hwn o bechod, yr ydym ni yn gaethion: ond am gwympo oddiwrth Grist a'i efengyl yn llwyr ac yn gwbl, yr hyn sydd bechod yn erbyn yr Yspryd glân, yn hwn ni faddeuir byth: am fod y cyfryw yn cwbl ymwrthod â'r hyn a wyddant ei fod yn wir, ac yn casau Christ a'i air, maent yn ei groeshoeli ac yn ei waiwar ef (i'w distryw angherfynol) ac am hynny yn cwympo i anobaith, ac edifarhau nis gallent.

Nouatiani.

Mat.12.32.
Marc.3.28.

Ac mai hyn yw gwir ystyr glân Yspryd Duw, mae'n eglur wrth lawer o leoedd o'r scruthyrau y rhai a addawant i'r holl bechaduriaid gwir edifeiriol, ac i'r rhai a droant at yr Arglwydd eu Duw

a'u

hwn sydd yn paentio yn oleu gar bron ein llygaid ni, ein aflendid naturioll, a ffieidd-der ein bywydd pechadurus. O herwydd oni byddwn yn clywed yn gwbl faich ein pechodau, pa fodd y gallwn ni drisstau yn ddifrif am danynt? pa dristwch attolwg, oedd mewn Dafydd am y goddineb a'r llofruddiaeth a wnelse, cyn clywed o hono air yr Arglwydd trwy enau y Prophwyd Nathan? fal yn gellid dywedyd yn ddifai gyscu hono ef yn ei bechodau.

2.Sam.12.

Act.2.37.

Yr ydym yn darllen yn Actau 'r apostolion yn ol i'r bobl glywwed pregeth Petr eu cydbigo hwy yn eu calonnau: Yr hyn byth ni buase oni basai iddynt wrando pregeth Petr. Am hynny nid oes ond ychydig obaith am y rhai nid oes meddwl ganthynt nac am wrando nac am ddarllen gair Duw, y gosodant hwy eu traed nau gafaelion ar y ffon gyntaf o'r yscol hon, ond yn hytrach soddi ddyfnach ddyfnach i bwll diwaelod distryw. O blegid os ydynt hwy ar un amser trwy bigad eu cydwybod, yr hwn sydd yn eu cyhuddo hwy, yn clywed na galar na thristwch na thrymder oddifewn am eu pechodau, etto am fod arnynt eisiau eli a diddanwch gair Duw yr hwn a ddiystyrant, ni bydd hynny ond modd a chyfrwng i'w dwyn hwy i lwyr anobaith yn hytrach na dim arall.

Yr ail yw gwir gyffes a chydnabod ein pechodau gerbron Duw, yr hwn trwyddynt hwy a ddigiasom ni yn gymmaint, megis pe gwnai ef â ni yn ol ei gyfiawnder, yr haeddasom fil o uffernau, pe gallai fod cynnifer. Etto os ni â chalon drist ddrylliedig a wnawn ein cyffes ddiragrith at Dduw, fe faddeu ini yn rhwydd ac yn

chad, ac a ollwng dros gof ein holl anwireddau, ni, acni chofia honynt mwy.

Ac hyn y perthyn ymadrod goreuraid y Prophwyd Dafydd, lle mae se 'n dywedyd yn y modd ymma. Cydnabyddaf fy-mhechod wrthit a'm hanwiredd ni chuddiais: cyffesaf yn fy erbyn fy anwireddau i'r Arglwydd, a thi a faddeuaist boen fy-mhechod. Ac fal hyn y dywaid Joan efengylwr, Os cyfaddefwn ein pechodau ffyddlon yw ef a chyfion, fel y maddeuo ef ini ein pechodau, ac y'n glanhao ni oddiwrth bob anwiredd. Psal.32.5. 1.Ioan 1.8.

Yr hyn y ddylaid ei ddeall am y gyffes a wnair wrth Dduw. O herwydd y rhai hyn yw geiriau S. Awsten: fe a ofynnir wrth gyfraith Dduw am y gyffes yr hon a wnair wrth Dduw, am yr hon y mae Joan Sainct yn son, gan ddywedyd, Os cyfaddefwn ein pechodau ffyddlon yw ef a chyfion fel y maddeuo ini ein pechodau, ac y'n glanhao ni oddiwrth bob anwiredd. O blegid heb y gyffes hon ni faddeuir pechod. Hon am hynny yw 'r brif gyffes bennaf yr hon a orchymmyn scruthyrau a gair Duw ini ei gwneuthur, ac heb yr hon byth ni chawn bardwn a maddeuant o'n pechodau. In Epistola ad Iuliannm comitem 30.

Yn wir mae heblaw hon ryw arall o gyffes, yr hon sydd angenrheidiol: ac am hon y mae S. Jaco yn dywedyd fal hyn, Cyfaddefwch eich beiau y naill i'r llall a gweddiwch tros eu gilydd fel y'ch iachaer: megis pe dywedai, Agorwch yr hyn a'ch doluria fel y caffoch ymwared. Ac fe a orchymmynnir hyn i'r hwn sydd yn achwyn ac i'r hwn sydd yn gwrando fod i'r naill ddangos ei ddolur i'r llall. Y gwir ystyr yw hyn, y dylai Iaco 5.16.

y ffyddloniaid gydnabod eu baiau i'w gilydd
trwy y rhai y cyfododd ac y cyfyd rhyw genfi-
gen, casineb, gwrth, neu falis rhyngthynt, fal
y geller heddychu rhyngthynt megis brodyr, heb
yr hyn nid oes dim a wnelom ni a all fod yn
gymmeradwy gan Dduw, fel y testiolaetha ein
Iachawdwr Christ ei hun, gan ddywedyd, Os
Math.5 23. dygi dy rodd i'r allor, ac yno dyfod i'th gof fod
gan dy frawd ddim yn dy erbyn, gâd di yno dy
offrwm ger bron yr allor, a dos ymmaith, yn gyn-
taf cymmod a'th frawd, ac yno tyred ac offrwm
dy rodd. Fe a ellir hefyd cymmeryd yr ymadrodd
hwnnw fal hyn: y dylem ni gyfaddef ein gwen-
E gwanrwydd. did a'n * eiddilwch yn i'w gilydd, fel wrth wy-
bod gwendid eu gilydd y gallom gydweddio yn
ddifrifach ar yr holl-alluog Dduw ein Tad ne-
fol, ar fod yn wiw gantho bardynu ein gwendid
ni er mwyn ei fab Iesu Grist, ac na chyfrifo ef
mo hono ini pan roddo ef i bawb yn ol eu gwei-
thred.

Ac lle mae'r gwrthwynebwyr yn gwyrdroi
y lle hwn i faenteinio eu cyffes gyfrinachol ag
ef, maent yn eu twyllo eu hunain ac eraill yn gy-
wilyddus: o blegid pe deallid y text hwn am gy-
ffes gyfrinachol fe fydde yr offeiriaid mor rhwy-
medig i gyffesu eu baiau wrth wŷr llêg a'r gwŷr
llêg i gyffesu wrth yr offeiriaid, ac os gweddio
yw maddeu pechodau, yno wrth y lle hwn mae
gan y llygion gymmaint o awdurdod i faddeu
pechodau'r offeiriaid ac y sydd gan yr offeiriaid i
faddeu pechodau'r bobl.

Iohan.Scot in 4.senten. dist. 17.quest. 1. Fe a welodd Iohannes Scotus, yr hwn hefyd a el-
wir Duns, hyn yn ddifai, yr hwn a scrifenna fal
hyn, nid ydwyf fi yn gweled i Iaco roddi y gor-

chymmyn

chymmunyn hwn na'i fod allan megis peth gwedy ei dderbyn gan Grist. Oblegyd yn gyntaf o ba le y cafodd ef awdurdod i rwymo'r holl Eglwys; ac ef yn Escob o Jerusalem yn unig. Oni ddywedi di fod yr Eglwys honno yn y dechreuad yn fam Eglwys: ac felly ei fod ef yn Escob pennaf, yr hyn ni channiata escobaeth Rufain byth. Ystyr yr ymadrodd am hynny yw, megis yn y geiriau hyn, Cyfeddefwch eich pechodau i'w gilydd: fefannogaeth i ostyngeiddrwydd, trwy 'r hyn y myn ef ini gyfaddef yn gyffredinol i'n cymmydogion ein bod ni yn bechaduriaid, yn ol yr ymadrodd hwn, Os dywedwn ein bod heb bechod yr ydym yn ein twyllo ein hunain a'r gwirionedd nid oes ynom.

Ac lle maent hwy yn gosod ymadrodd ein Iachawdwr Iesu Grist wrth y gwhan-glwyfus, i brofi fod cyffes gyfrinachol yn sefill ar air Duw, Dos ac ymddângos i'r offeiriad, onid ydynt yn gweled ddarfod glanhau y gwhan-glwyfus o'i wahan-glwyf cyn i Grist ei ddanfon ef at yr offeiriad, i'w ddangos ei hun iddo? Wrth yr un rheswm rhaid yw ein glanhau ni oddiwrth ein gwahan-glwf ysprydol, meddwl yr wyf fod yn rhaid maddeu ein pechodau ni, cyn delom i gyffesu. Pa raid ini am hynny gyfrif ein pechodau yngwydd yr offeiriad a hwy gwedy eu deleu eisoes?

Am hynny y mae Ambros sanctaidd ar yr 119. Psalm yn dywedyd yn dda iawn, Dos dangos dy hun i'r offeiriad. Pwy yw 'r gwir offeiriad ond yr hwn sydd offeiriad tragwyddol yn ol urdd Melchisedech? Trwy'r hyn y mae'r tâd sanctaidd yn deall gan fod gwedy newid yr offeiriadaeth a'r gyfraith, na ddylem ni gydnabod un offeiriad arall. nac

Sozomenes ecclesiast. lib. 7. cap. 16.

*Brwfo. Math 8.4.

Ambros.

nac vn ym waret o'n pechodau onid ein Iachawdwr Iesu Grist, yr hwn ac ef yn ben Escob sydd ag offrymmiad ei gorph a'i waed a offrymmodd ef vnwaith ar allor y groes, yn dragywydd yn glanhau yn ffrwythlon y gwahanglwyf ysprydol, ac yn golchi ymmaith bechodau pawb ac a'u cyffesant hwy yn gywir ac a ddauant atto ef.

Eglur a goleu yw nad oes sail i'r gyffes hon yngair Duw, onid ê ni buasai gyfraithlon i Nectarius Escob Constantinopol ar achosion cyflon ei thynnu hi ymmaith. O blegid pan gamarferir trwy ddrygioni dyn, vn peth ac a ordeiniodd Duw, fe ddylaid tynnu ymmaith y camarfer a goddef y peth ei hun i aros.

Sozomenes eccles. hist. lib. 7. cap. 16.

A hefyd geiriau Sanct Awstin yw y rhai hyn: Beth sydd imi a wnelwyf a dynnion, fal y gwrandawent hwy fynghyffes i, fal pe gallent hwy iachau fynholuriau i? Rhyw o ddynion rhy ofalus am wybod bywyd dynion eraill, a diog i wellau ac i emendio eu bywyd eu hunain. Paham y ceisiant glywed gennifi pa sut ydwyfi, pan na fynnant glywed gennit ti pa beth ydynt hwy? A pha fodd y gwyddont pan glywont fi yn adrodd am danaf fy hũ, pa vn yr ydwyf ai dywedid gwir ai nid ydwyf? O blegyd na wyr vn dyn marwol pa beth y sydd mewn dyn ond yspryd dyn yr hwn sydd ynddo?

Lib. 10. confess. cap. 3.

Pe buasid yn amser Augustin yn arfer cyffes gyfrinachol, ni buase fe yn scrifennu fal hyn.

Am hynny na oddefwn arwain ein cydwybod at y gyffes hon, ond arferwn mewn ofn ac mewn echryd y wir gyffes a orchymmyn Duw yn ei air, ac yno yn ddiammau, fal y mae ef yn ffyddlon ac yn inion, fe fadden ini ein pechodau, ac a'n glanha ni oddiwrth ein holl anwiredd.

Nid

Nid ydwyf yn dywedyd os trallodir cydwybod neb, na allant fyned at ryw gurat neu fugail dyscedig, neu at ryw wr duwiol dyscedig arall, a dangos iddo eu trallod a'r hyn sydd yn blino eu cydwybod, fel y gallont dderbyn gantho eli iachus gair Duw. Ond mae'n erbyn rhydd-did Christionogawl rwymo neb i rifo ei bechodau, fal yr arferwyd cyn hyn yn amser dallineb ac anwybod.

Y drydedd ran o edifeirwch yw ffydd, trwy'r hon y cymmerwn afael ar addewidion Duw am bardwn rhâd a maddeuant o'n pechodau: a'r addewidion hyn a seliwyd ini â marwolaeth a thywalltiad gwaed ei fâb ef Iesu Grist: O blegid pa fudd a pha ennill a fyddai ini er bod yn drist am ein pechodau, er galaru ac ochain am ini ddigio Tâd mor hael drugarog, neu gyfaddef ein beiau a'n camweddau er difrifed y gwnelir hynny, oni chredwn ni yn siccr a pherswado ein hunain y maddeu Duw ini ein holl bechodau er mwyn ei fâb Iesu Grist, ac yr anghofia ef hwy allan o'i olwg.

Pwy bynnac am hynny a ddyscant edifeirwch heb ffydd fywiol yn ein Iachawdwr Iesu Grist, nid ydynt yn dyscu ini amgen edifeirwch nag edifeirwch Iudas, fal y gwna yr holl yscolwyr, y rhai a dderbynniant yn unig y tair rhan hyn mewn edifeirwch, drylliad y galon, cyffes y geneu, a thaledigaeth gweithred. Ond mae'r tri hyn yn edifeirwch Iudas, yr hwn mewn lliw oddiallan aeth ymhellach lawer nag edifeirwch Petr: O blegid yn gyntaf, yr ydym yn darllen yn yr efengyl fod Iudas mor drist ac mor drwm, ie ei lanw ef felly ag ing a blinder meddwl, fel na alle aros

byw

Math.27.5. hwy yn y byd ymgellach ; Ond wnaeth ef hefyd cyn ymgrogi gyffes gyhoedd o'i fai gan ddywedyd, pechais gan fradychu gwaed gwirion. Ac yn wir yr oedd hon yn gyffes * cofn, yr hon a allasai ei ddwyn ef i drallod mawr. O blegid trwyddi, fe haerodd ar yr archoffeiriaid a'r henuriaid dywallt gwaed gwirion a'u bod hwy yn llofruddiaid ffiaidd. Fe wnaeth hefyd ryw fath ar ddaledigaeth pan daflodd ef yr arian ailwaith iddynt.

* Hys.

Nid ydym ni yn darllen dim o'r fath beth ymMhetr er iddo ef wneuthur pechod mawr a bai blin, gan wadu ei feistr. Yr ydym ni yn gweled ei fyned ef allan ac iddo wylo'n chwerw: am yr hyn y mae Ambros yn scrifennu fal hyn, fe fu ddrwg gan Petr, ac fe a wylodd am iddo gamsynnaid megis dyn: Mi a welaf beth y ddywad ef, mi a wn iddo ef wylo: yr ydwyf yn darllen am ei ddeigreu ef, ond nid ydwyf yn gweled pa iawn a dalodd ef.

De penitentia distinct. cap. Petrus.

Ond pa fodd y derbynniwyd y naill ailwaith i ras Duw a'i ffafwr, ac y gwrthodwyd y llall? ond am i'r naill trwy ffydd fywiol yn yr hwn a wadase efe, gymmeryd gafael ar drugaredd Duw, a bod y llall heb ffydd, trwy'r hyn yr anobeithodd ef am ddaioni a thrugaredd Duw.

Eglur am hynny a goleu yw, er disrifed y tristaom ni am ein pechodau, y cydnabyddom ac y cyfaddefom hwy; etto ni bydd y cwbl o hyn oll onid cyfryngau a moddion i'n dwyn ni i lwyr anobaith, oni byddwn yn credu yn ddiogel y pardyna Duw ein Tad nefol ni er mwyn ei fab Jesu Grist, ac y maddeu ef ini ein holl faiau a'n camweddau, ac yr anghofia ef hwy yn hollol. Ac am hynny fal y dywedasom o'r blaen, pwy bynnac sydd yn dysgu i ni edifeirwch heb Grist, ac heb ffydd fywiol yn-

Nuw:

Arglwydd dy Dduw: canys ti a syrthiaist trwy
dy anwiredd dy hun.

Cymmerwch gyda chwi y geiriau hyn, a dych-
welwch at yr Arglwydd a dywedwch wrtho ef
maddeu di ein holl anwiredd cymmer ni yn ddai-
onus, a thalwn it lôi ein gwefusau. Mae ini yn yr
holl lewedd hyn orchymmyn eglur gwedy i Dduw
i rhoddi am ini droi atto ef.

Am hynny rhaid yw ini ochelyd, rhag, (a ni
eisoes trwy ein aml bechodau a'n anwiredd gwe-
dy annog ac enynnu llid Duw yn ein herbyn)
trwy dorri y gorchymmyn hwn ddyblu ein baiau
a phenturru damnedigaeth ar ein pennau ein hu-
nain, trwy ein pechodau a'n trosoddiadau beu-
nyddol, trwy y rhai yr annogwn lygaid ei fawr-
hydi ef; Yrydym ni haeddu yn dda pe gwnae ef
a ni yn ol ei gyfiawnder ein troi ymmaith dros
fyth fel na challom fwynhae ei ogoniant tra-
gwyddol ef.

Pa faint fwy am hynny y haeddwn boenau
tragwyddol uffern, os pan gelwer ni mor fwyn
addwaith yn ol ein gwrthryfel, a phan orchym-
myner ini droi, ni wrandawn ar laferudd ein
Tad nefol, onid treiglo fyth yn ol cyndynrwydd
ein calonnau?

Yr ail achos yw addewidion diddanus peraidd
y rhai a gydsylltodd yr Arglwydd ein Duw ni a'r
gorchymmyn hwn, o'i unig drugaredd a'i ddaioni.
O blegyd nid yw ef yn dywedyd yn unig tro attaf
o Israel: ond hefyd os troi di a rhoi heibio dy ffi- Ieremi 4. 1.
aidd-dra oddiger fymron, yna nich symmudir. Ac
mae y geiriau hyn hefyd gennym ni yn y Prophwyd
Ezechiel. Pa bryd bynnac y byddo edifar gan be- Eze ch. 18.
chadur ei bechod o ddyfnder ei galon mi a ellyn-

gas dros gof ei holl anwiredd ef medd yr Ar-
glwydd, ac ni chofieir mwyach honynt. Fal hyn
ein addyscir ni yn gwbl y parwyna y maddeu ac
yr anghofia Duw ein holl bechodau ni yn rad
*Ddanodir. yn ol ei addewid, fel byth nad * edliwir hwy im-
os gan fod yn bfydd iw orchymynnion a chyme-
ryd ein llithio gan ei addewidion peraidd ef,
trown ni atto ef yn ddiffuaint.

Y pedwaredd achos yw brynti pechod, yr hwn
yw'r fath beth fel yr hyd y byddom yn aros yn-
ddo ni all Duw na chafhao ef ac na ffieiddio ef ni,
ac ni ddichon bod un gobaith y dawn ni byth i'r
Jerusalem newydd, oddieithr ein glanhau a'n
puro oddiwrtho. A hyn ni bydd byth, oni thrown
ni (gan ymwrthod a'n bywyd o'r blaen) a'n holl
galon at yr Arglwydd ein Duw ac oni chilion
ni at ei drugaredd ef a llwyr fryd gwellhau ein
bywyd, a chymmeryd gafael ddiogel ein trwy
ffydd yngwaed ei fab ef Jesu Grist.

Pe drwgdybiem fod un aflendid ynom am yr
hwn y byddai gas a ffiaidd gan y tywysog dara-
rol yr olwg arnom: pa boen y gymmerem i sym-
mud ac i droi hwnnw heibio? Pa faint fwy y
dylem yn ddiescaelus ac ar frys droi heibio'n
brynti aflan yr hwn sydd yn gwahanu ac yn ddo-
parthu rhyngom ni a Duw, ac yn cuddio ei wy-
neb ef oddiwrthym, fal na wrandawo ef o ho-
nom? Ac yn wir trwy hyn y * gwis pa mor frwnt
peth yw pechod, am na ellir ei olchi ef ymmaith
*Gwydys. mewn un modd arall, onid trwy waed inig ane-
dig Fab Duw, Ac oni chaffawn hwnnw i'n ffiai-
ddio o ddyfnder ein calonnau, ac oni chilion
rhagddo'n ddifrif, er ein glanhau ni oddiwrth

yr hwn y costodd i unig anedig fab Duw ein Iachawdwr waed ei galon.

Mae Plato yn scrifennu mewn rhyw le, pe gallid gweled rhinwedd a llygaid corphorol, yr ennynnid pawb yn rhyfedd iw charu hi: felly o'r gwrthwyneb, pe gallem weled a'n llygaid corphorol frynti pechod a'i aflendid, ni allem ni mewn modd yn y byd aros mo hono, ond ni a'i casaem ac a gochelem ef megis gwenwyn presennol marwol. Mae addysc amser gwedy dangos ini mewn dynnion, gwedy darpho iddynt wneuthur rhyw fai mawr neu rhyw bechod ffiaidd brwnt, os daw ef un waith i oleuni, neu os digwydd iddynt ddechreu ymwrando ag ef, mae arnynt gymmaint gywilydd am fod eu cydwybod yn gosod brynti 'r weithred ymlaen eu llygaid hwy) na feiddiant edrych yn wineb un dyn, llai o lawer y beiddiant sefyll yngwydd Duw.

Yr achos bedwaredd yw ansiccrwydd a breuolder ein bywyd, am fod hwn o'r fath na wyddom ni y cawn ni fyw un awr neu bedwaredd rhan o'r awr. Ac mae addisc amser yn dyscu ini beunydd fod hyn yn wir, o achos bod yn gweled rhai sydd yn awr yn llawen ac yn hoenus, ac weithiau yn cwmpnio ac yn cyfeddach gyda eu cyfeillion, yn cwympo 'n farw yn yr heolydd, yn ddisymmwth ac weithiau dan y * bordau gyda eu bwyd. Fal y mae 'r siamplau hyn yn ofnadwy iawn ac yn dra-erchyll: felly y dylent ein cyffro ni i geisio bod yn un a'n barnwr nefol, fel y gallom a chydwybod da ymddangos ger ei fron ef, pa bryd bynnac y bo bodlon gantho alw am danom, pa un bynnac ai yn ddisymmwth ai mewn modd arall, o herwydd nid oes gennym un scrifen

*Bwrddau.

sen ar ein bywyd m'wy na chanthynt hwythau.

Ond fel yr ydym yn sicer mai rhaid ini farw, felly y mae 'r amser y byddom farw yn a'nsertenol. O herwydd mae 'n heinioes ni yn sefyll ar law Dduw, yr hwn pan mynno a dug hi oddiwrthym: Ac yn wir pan delo y *swyddog uchaf yr hwn yw angau ni fyn ef un pall, ond rhaid yw paratoi yn ebrwydd yn y modd y cyhwrddo ef a ni in presentio ger bron gorseddfaingc Duw, yn ol yr hyn a scrifennir le cwympo 'r pren pa un bynnac ai tuar gogledd ai tuar gorllewyn yno y bydd efe. A'r hyn y cytuna geiriau Merthyr sanctaidd Duw Sainct Ciprryan gan ddywedyd, megis y caffo Duw di pan galwo ef yn dy ol, felly y barna ef di.

*Rhingill.

Eccles.11.3.

Canlynwn am hynny gyngor y gwr call lle mae fe 'n dywedyd, Na fydd hwyrfrydig i droi at yr Arglwydd: Ac nac oeda o ddydd i ddydd: O blegyd yn ddisymmwth y daw digofaint yr Arglwydd, a thra y byddech di yn ddifraw i'th ddryllir, a thi a ddifethir yn amser dialedd. A'r geiriau hyn yr ydwyf yn deisif arnoch ei marco yn ddyfal, am eu bod yn gosod yn fywiol ymlaen eich llygaid ynfydrwydd llawer o ddynnion, y rhai gan gamarfer hir ammynedd a daioni Duw, ni feddyliant am edifaru na gwella eu bywyd. Na ddil 'n medd ef dy ewyllys dy hun, a'th gyfder dy hun i rhodio yn ffordd dy galon dy hun. Na ddywed, pwy am darostwng i o herwydd fyngweithredoedd: o blegit yr Arglwydd gan ddial a ddial dy drahâ di. Ac na ddywed ini a bechais a pha dristwch fu imi: o blegit mae 'r Arglwydd yn ymarhous eithr ni faddeu ef iti. Na fydd ddifraw o herwydd maddeuant, i chwane-

gu,

gu pechodau ar bechodau. Ac na ddywed, aml
yw ei drugaredd ef, efe a fadde u liosogrwydd
fymhechodau i. O blegit trugaredd a digofaint
a fryssia gantho ef, a'i ddigofaint ef a orphywys
ar bechaduriaid; fal pe dywedai, ydwyt ti yn
gryf ac yn gadarn? ydwyt ti yn ieuanc ac yn
hoenus? oes gennit ti olud a chyfoeth y byd hwn?
neu pan bechaist oni dderbyniaist gosp am hyn-
ny: na wnaed un o'r pethau hyn di yn ddioccach i
edifaru ac i drof at yr Arglwydd ar frys. O ble-
git yn-nydd cosp a dial dissymmwth ni chynnor-
thwyant honot: ac yn enwedig pan naill ai
trwy bregethu gair Duw, ai ynte trwy ryw
gynhyrfiad yr Yspryd oddifewn, neu mewn rhyw
fodd arall i'th alwir i edifeirwch, nac escaelu-
sa yr amser y gynnigir iti, rhag pan dymunech e-
difaru na chaffech râs i wneuthur felly.

O herwydd rhodd ddaionus Duw yw edifaru,
ac ni chaniata fe honi byth i'r rhai gan fyw
mewn diofalwch cnawdol a * senna ei fygythau
ef, ac a geisio rheoli ei Yspryd ef yn y modd y
mynnont, fel pe bai ei weithredoedd a'i ddoniau
ef yn-rhwym wrth eu ewyllys hwy.

* Watwarand.

Yr achos bummed yw er gochelyd plaau Duw
a chwbl ddistrywo, y rhai trwy inion farn Duw
a safant uwch bennau pawb o'r rhai ni throant
at yr Arglwydd mewn modd yn ybyd. Mi a'u rho-
ddaf hwy medd yr Arglwydd i drallod a drygfyd
drwy holl deyrnasoedd y ddaiar, yn wradwydd
ac yn ddihareb, yn watwargerdd ac yn felltith
ymhob mann lle y gyrrwyf hwynt. Ac mi a an-
fonaf arnynt y cleddyf, newyn a haint, nes eu
darfod oddiar y ddaiar yr hon a roddais iddynt ac
i'w tadau. A phaham oedd hyn? Am galedu ho-

Ier. 24. 9.

 nynt

hwynt eu calonnau ac am na thrôent hwy oddiwrth eu ffyrdd drygionus, nag ymwrthod â'r anwireddau y rhai oedd yn eu dwylo fal yr ymadawai gynddaredd llid yr Arglwydd oddiwrthynt.

Ond etto nid yw hyn yn ddim ymron anrhaith ei oddef a thragwyddol boenau tân uffernol, yr hwn y orfydd i bawb ei oddef ar y sydd yn ei galedrwydd a'i galon ddiedifeiriol yn pentyrru iddo ei hun ddigofaint erbyn dydd y digofaint, a dadguddiad cyfiawn farn Duw, lle os edifarwn ni a bod yn ddrwg gennym oddifrif am ein pechodau, ac os trwy gwbl fwriad gwellhau ein bywyd y ciliwn ni at drugaredd Duw, ac os cymmerwn afael ddiogel ernì trwy ffydd yn ein Iachawdwr Iesu Grist, a dwyn ffrwythau teilwng o edifeirwch: ni thywallt ef yn unig ei aml fendithion arnom yn y bywyd hwn, onid hefyd ar y dydd diwethaf yn ol llafur lluddedig y bywyd hwn, fe a'n gobrwya ni ag etifeddiaeth ei blant, yr hon yw teyrnas nefoedd, a brwrcaswyd ini trwy farwolaeth ei fab ef Iesu Grist ein Harglwyd, i'r hwn gydâ'r Tad a'r Yspryd glan y byddo pob moliant, gogoniant ac anrhydedd yn oes oesoedd. Amen.

## ¶ Homili yn erbyn anufydd-dod a gwrthryfelgarwch.

### Y rhan gyntaf.



Egis yr appwyntiodd Duw creawdr ac Arglwydd pob peth ei angelion a'i nefol greaduriaid i wasanaethu ac i anrhydeddu ei fawrhydi ef: felly yr oedd ei ewyllys ef ar fod i ddyn, ei greadur pennaf ef ar y ddayar, fyw mewn ufydd-dod

ufydddod i'w greawdwr a'i Arglwydd : ac am hynny er cynted y darfu i Dduw greu dŷn, fe a roddodd iddo orchymmyn a chyfraith, yr hon, ac ef etto mewn stât diniweidrwydd ac yn trigo ym-mharadwys, a fydde raid iddo ei chadw, megis gwystl ac arwydd o'i ddyledus a'i rwymedig ufydd-dod: ac a gyhoeddodd farwolaeth arno, os efe a droseddde ac a dorre y gyfraith a'r gorchymmyn hwnnw. Ac fel y mynnai Dduw i ddŷn fod yn ddarostyngedig ufydd iddo ef, felly y gwnaeth ef holl greaduriaid daearol yn ddarostyngedig i ddŷn, y rhai a gadwasant eu dlyedus ufydddod i ddŷn, yr hŷd yr arhôsodd dŷn mewn ufydddod i Dduw: a phe buasei ddŷn yn aros yn wastad yn yr ufydd-dod hynny, ni buasei na thlodi, na chlefydau, na heintiau, nac angeu na dim o'r blinderau eraill y cystuddir ac y gorthrymmir dynion â hwy yn awr mor âfrifed ac mor dôst.

Felly ymma y gellir gweled dechreuol lywodraeth Duw gorúwch dynion ac angelion, ac yn gyffredinol ar bob peth; a llywodraeth dŷn ar greaduriaid y ddaear, y rhai a wnaeth Duw yn ddarostyngedig iddo ef: a hefyd y dedwyddwch a'r cyflwr gwynfydedig y buasai angylion a dynion a'r holl greaduriaid ynddo, ped arhosasent yn eu dledus ufydd-dod i Dduw eu brenhin: o blegid yn y frenhinol lywodraeth gyntaf hyn, yr hyd yr arhosodd y deiliaid mewn dledus ufydd-dod i Dduw eu brenhin; yr hŷd hynny y dangosodd Duw tu ag at ei holl ddeiliaid ei gariad a'i ffafor a'i ras, mwynhau y rhai sydd berffaith ddedwyddwch: wrth yr hyn y mae yn eglur mai ufydd-dod yw 'r rhinwedd bennaf o'r holl rinweddau, ie a

gwreiddyn pob rhinwedd, ac achos pob dedwydd-wch. Ond megis y parhause pob dedwyddwch a gwynfyd, pe buase ufydd-dod yn parhau: felly pan dorrwyd ufydd-dod, a dyfod anufydd-dod a gwrthryfel i mewn, fe a ddaeth pob pechod a thrueni i mewn gydâ 'n hwy, ac a orescynnasant y bŷd. Awdur cyntaf yr anufydd-dod a'r gwrthryfel ymma, gwreiddyn pob drygioni, a mam pob aflwydd, oedd Lucifer, yr hwn ar y cyntaf oedd odidog greadur Duw, a'i rwymediccaf ddeiliad, ac am wrthryfelu yn erbyn mawrhydi Duw, a aeth o angel disclair gogoneddus, yn ddiafol ac yn gythraul duaf a haccraf i gŷd; ac a gwympodd o uchder nef, i bwll a gwaelod uffern. Ymma y gellwch weled awdur cyntaf a dechreuwr gwrthryfel a'i gobrwy: ymma y gellwch weled pennadur a thâd gwrthryfel, yr hwn wrth berswadio ein rhieni ni Adda ac Efa i gânlyn ei anufydd-dod a'i wrthryfelgarwch ef yn erbyn Duw eu creawdwr a'u harglwydd, a'u dug hwy tan fawr sorriant ac anfodd Duw, a barodd eu deol a'u hafwoladu hwy allan o baradwys, cyfle pob hyfrydwch a daioni, i'r ddaiar flinderog hon, dyffryn pob trueni, ac a barodd iddynt gael gofidiau yn eu meddyliau, aflwydd, clefydau, heintiau ac angau yn eu cyrph: a'r hyn sydd erchyllach ac aruthrach nâ 'r holl drueni bydol corphorol, fe a weithiasai wrth hynny dragwyddol a didrangc angau a cholledigaeth iddynt hwy, oni buase fod i Dduw trwy ufydd-dod ei fâb Iesu Grist adferu ac adcyweirio yr hyn a ddarfuase i ddŷn wrth ei anufydd-dod a'i wrthryfelgarwch ei ddistrywio, ac oni buase iddo felly o'i drugaredd ei bardynu ef a maddeu iddo: o'r holl bethau hyn a phob un o honynt y mae 'r Scrythur lân yn testiolaethu mewn

amryw

amryw leoedd: fel hyn y gwelwch na allai na'r nef na pharadwys oddef anufydddod a gwrthryfel ynddynt, ac nad ydynt leoedd i anufyddiō gwrthryfelgar i arhos ynddynt. Fel hyn y gwelwch mai anufydd-dod a gwrthryfelgarwch yw 'r pechod cyntaf a'r mwyaf, a gwreiddyn yr holl bechodau eraill, a'r achos cyntaf a'r pennaf o bob trueni, gofidiau, clefydau, heintiau ac angau bydol corphorol, a'r hyn sydd waeth na'r rhai hyn oll fel y dywetpwyd, gwir achos angau a cholledigaeth dragwyddol hefyd.

Yn ôl torri vfydd-dod fel hyn tu ag at Dduw, a gwrthryfela yn erbyn ei fawrhydi ef, a dyfod pob aflwydd a thrueni i mewn gyda hynny, a gorescyn y byd, rhag llwyr ddifetha a dinystro pob peth, fe a adferodd ac a atcyweiriodd Duw eilwaith; trwy gyfreithiau a roddodd ef i ddynion, reol a threfn vfydd-dod yr hon a ddymchwelasid fel hyn trwy wrthryfel; ac heb law 'r vfydd-dod sy ddyledus i'w fawrhydi ef, fe a ordeiniodd nid yn unig mewn teuluoedd a thylwythau fod y wraig yn vfydd i'w gwr, y plant i'w rhieni, y gweision i'w meistred: ond hefyd pan amlhaodd dynion ac ymwascaru yn helaethach tros yr holl fyd, fe a osododd ac a ordeiniodd yn ei air sanctaidd fod ym-mhob dinas ac ym-mhob gwlâd amrafael lywodraethwyr a rheolwyr yspysol, i'r rhai y bydde raid i'r rhan arall o'i bobl ef fod yn vfydd.

Megis wrth ddarllen yr Scrythur lân y gallwn weled mewn llawer iawn, ac agos mewn aneirif o leoedd yn yr hên destament ac yn y newydd, fod brenhinoedd a thywysogion, yn gystal y rhai drwg a'r rhai da, yn teyrnasu trwy ordinhad Duw, a bod eu deiliaid yn rhwymedig i vfyddhau iddynt: a bod Duw yn rhoddi i dywysogion

gion

gion ddoethineb a gallu ac awdurdod mawr: fod
Duw yn eu hymddiffyn hwy yn erbyn eu gely-
Pro.28.14. nion, ac yn dinistr eu gelynion hwy yn ofnadwy:
Pro.20.2. fod ofn y brenhin megis rhuad llew ieuangc, a'i
lid ef megis cennadon angau, a bod y neb a'i cy-
ffrô ef i ddigofaint yn pechu yn erbyn ei enaid ei
hun: a llawer o bethau eraill ynghylch awdur-
dod tywysogion, a dyled-swydd deiliaid.

Ond ymma adroddwn ddau le hyspysol allan
o'r testament newydd, y rhai a all sefyll yn lle 'r
cwbl eraill. Y cyntaf allan o epistol S. Paul at
y Rhufeiniaid yn y drydydd bennod ar ddeg, lle mae
Rom.13.2. efe yn scrifennu fel hyn at bob deiliaid, Ymdda-
rostynged pob perchen enaid i'r awdurdodau go-
ruchaf am nad oes awdurdod ond oddiwrth
Dduw, a'r awdurdodau y sydd, gan Dduw y
maent wedi eu hordeinio. Am hynny pwy byn-
nag sydd yn ymosod yn erbyn yr awdurdod, sydd
yn gwrthwynebu ordinhad Duw, a'r rhai a
wrthwynebant a dderbyniant farnedigaeth
iddynt eu hunain. Canys tywysogion nid ydynt
ofn i weithredoedd da, eithr i'r rhai drwg. A fynni
nad ofnech y gallu? gwna'r hyn sydd dda, a thi a
gei glod gantho. Canys gwasanaethwr Duw y-
dyw, er llês i ti: eithr os gwnei'r hyn sydd ddrwg,
ofna, am nad yw efe yn dwyn y cleddyf yn ofer:
canys gweinidog Duw yw efe, i ddial llid ar yr
hwn a wnelo ddrwg. O herwydd pa ham ang-
henrhaid yw ymddarostwng, nid yn unig o her-
wydd llid, ond er mwyn cydwybod. Canys am
hynny y telwch deyrnged: O blegid gwasanaeth-
wyr Duw ydynt yn ymroi i'r peth ymma. Telwch
gan hynny i bawb eu dledion: teyrnged i'r neb y
byddo arnoch deyrnged: toll i'r hwn y byddo

arnoch

arnoch doll: ofn i'r hwn y byddo iawn bod ofn, parch i'r hwn a ddyle barch. Dyna eiriau S. Paul.

Yr ail lle iydd yn epistol cyntaf S. Petr yn yr ail bennod, a'i eiriau ef yw y rhai hyn. Ymddarostyngwch i bob dynol ordinhâd er mwyn yr Arglwydd, ac i'r brenhin fel i'r goruchaf, ac i'r llywiawd-wyr fel i'r rhai trwyddo ef a ddanfonir er dialedd i'r rhai drwg ac er mawl i'r rhai da. Canys felly y mae ewyllys Duw, fel y galloch trwy wneuthur yn dda ostegu anwybodaeth dynion ffolion. Megis yn rhyddion, ac nid fel rhai yn cymmeryd rhydd-did yn lle cochl malis, eithr fel gwasanaeth-wyr Duw. Perchwch bawb: cerwch gydymdeithas brawdol: ofnwch Dduw, anrhydeddwch y brenhin. Gweinidogion, ymddarostyngwch mewn pob ofn i'ch meistred, nid yn unig i'r rhai da cyweithas, eithr i'r rhai anghyweithas hefyd. Hyd hyn allan o S. Petr. 1.Pet.2.13.

Wrth y ddau le hyn o'r Scrythur lân y mae yn eglur ddigon fod brenhinoedd a brenhinesau a thywysogion eraill (oblegid am awdurdod a gallu y mae efe yn dywedyd, pa un bynnag y bo ai mewn gwyr ai mewn gwragedd) wedi eu hordeinio gan Dduw, ac y dylai eu deiliaid ufyddhau iddynt a'u hanrhydeddu: fod y cyfryw ddeiliaid ac sydd anufyddion a gwrthryfelgar yn erbyn eu tywysogion, yn anufyddion i Dduw, ac yn annog eu damnedigaeth eu hunain: fod llywodraeth tywysogion yn ddawn mawr oddiwrth Dduw wedi ei roddi er llês i'r wlad, yn enwedig i'r daionus a'r duwiol: er mwyn cyssur a diddanwch y rhai y mae Duw yn rhoi ac yn dyrchafu tywysogion: ac o'r gwrthwyneb, er ofn a chospedigaeth i'r rhai drwg a'r annuwiol.

Yn

Yn ddiweddaf, os dylai weision ufyddhau i'w meistred, nid yn unig os byddant cyweithas, ond er eu bod yn anghyweithas hefyd; felly, ac yn hytrach o lawer, y dylyai ddeiliaid fod yn ufydd, nid yn unig i'w tywysogion da cyweithas, ond hefyd i'r rhai llym-dost creulon.

Am hynny nid o ddamwain a thynghedfen (fel y galwant hi) nac o uchelfryd gwŷr neu ŵrda-gedd bydol yn dringo o honynt eu hunain i arglwyddiaethu, y digwydd bod brenhinoedd a brenhinesau a thywysogion a llywodraeth-wyr eraill ar bobl a fo deiliaid iddynt: ond y mae pob brenhinoedd a brenhinesau a llywiawdwyr eraill wedi eu happwyntio yn hyspysol gan ordinhâd Duw. Ac megis y mae Duw ei hun, yr hwn sydd o fawrhydi a gallu a doethineb anfeidrol, yn rheoli ac yn llywodraethu pob peth yn y nef ac yn y ddayar, megis pengoruwch ac unig frenhin acymmerodr ar y cwbl, am ei fod ef yn unig yn gallu dwyn a chymmeryd arno ofal a chur tros y cwbl: felly yr appwyntiodd, y gosododd ac yr ordeiniodd ef dywysogion dayarol ar deyrnasoedd hyspysol ac arglwyddiaethau yn y ddayar, er mwyn gwachelyd pob ymgymmysc ac anllywodraeth, y rhai a fyddent yn y byd, pettai heb lywodraethwyr; ac er mawr lonyddwch a lles i ddynion dayarol eu deiliaid hwy: a hefyd fel y gallai y tywysogion eu hunain, mewn awdurdod, a gallu a doethineb a rhagddarbodaeth a chyfiawnder yn llywodraethu eu pobl a'u gwledydd a roddwydd tan eu gofal hwynt, fod yn gyffelybiaeth o'i nefol lywodraeth ef, fel y galler arwyddoccau a dangos cyffelybrwydd o fawrhydi pethau nefol, trwy waeledd pethau

dayarol.

dayarol. Ac o blegid y gyffelybiaeth honno sydd rhwng unig lywiawdwr nef, a theyrnasoedd dayarol a lywodraether yn dda, mae ein Iachawdwr Christ mewn amryw ddammegion yn dywedyd, fod teyrnas nef yn debyg i ddyn a oedd frenhin: ac fel yr ydys yn fynych yn yr Scrythur lan yn rhoi enw brenhin i Dduw; felly y mae 'n wiw gan Dduw ei hun yn yr un Scrythyrau wneuthur tywysogion dayarol yn gyfrannogion o'i enw ynteu, a'u galw hwy yn Dduwiau: a diãmau mai o blegid y cyffelybrwydd llywodraeth y sydd neu a ddylei fod rhyngthynt a Duw eu brenhin, y mae efe yn gwneuthur hynny.

Mat.18.23.& 22,2.

A pho nessaf at gyffelybiaeth llywodraeth nefol y delo tywysog dayarol yn ei lywodraeth, mwyaf dawn trugaredd Duw yw efe i'r wlâd a'r bobl y byddo efe yn teyrnasu arnynt: a pho pellaf y delo tywysog dayarol oddiwrth siampl y llywodraeth nefol, mwyaf pla digofaint Duw, a chospedigaeth cyfiawnder Duw yw efe i'r wlâd a'r bobl, y rhai o herwydd eu pechodau y gosododd Duw y cyfryw frenhin a llywodraethwr arnynt. O blegid y mae yn eglur wrth yr Scrythyrau a pheunydd trwy addysc amser fod maentaenio pob rhinwedd a duwioldeb, ac o hynny dedwyddwch a llyddiant teyrnas a phobl, yn sefyll yn fwy ar dywysog doeth daionus, nag mewn lliaws mawr o wyr eraill a fo deiliaid: ac o'r gwrthwyneb, y mae cwymp pob rhinwedd a duwioldeb, ac o hynny adfail a llwyr ddinistr teyrnas a phobl, yn tefu ac yn dyfod yn fwy oddiwrth lywodraethwr dibwyll drwg, nag oddiwrth lawer mil o wyr eraill a fo deiliaid.

Fel

Pre.10.17. Fel hyn y dyweid yr Scrythur lan, Gwyn dy fyd di
y deyrnas, medd y pregethwr, sydd a'th frenin we-
di ei eni o bendefigion, a'th dywysogion yn bwyt-
ta eu bwyd yn eu hamser, er cryfder ac nid er me-
Diaur.16.29.4 Eccles.10. Esai 32.12. otta. A thrachefn, Brenhin doeth cyfiawn sydd
yn cyfoethogi ei deyrnas a'i bobl; a brenhin daio-
nus, trugarog, rhadlon sydd megis ymguddfa
rhag gwynt, a lloches rhag llifeiriant; megis a-
fonydd dyfroedd mewn sychder, megis cyscod
craig fawr mewn tir sychedig. A thrachefn y mae
'r Scrythyr lan am dywysogion dibwyll drygio-
nus yn dywedyd fel hyn, Gwae di 'r wlad sydd a
bachgen yn frenhin i ti, a'th dywysogion yn
Preg.10.16. bwytta yn foreu. A thrachefn, Pan fytho 'r an-
nuwiol yn llywodraethu, y bobl a ocheneidiant.
Diau.28. A thrachefn, Tywysog angall a ddinystria 'r bobl,
Diaur 29.2. a brenhin cybydd a anrheithia ei ddeiliaid.

Fel yn y dywaid yr Scrythyrau, fel hyn y ty-
stiolaetha amser am dywysogion da a drwg.

Pa beth wrth hynny a wna deiliaid? Ai ufy-
ddhau a wnant i dywysogion dewr, gwrol, doeth,
daionus, a dirmygu ac anufyddhau a gwrthryfela
yn erbyn bechgyn a fo yn dywysogion iddynt, ac
yn erbyn llywodraethwyr dibwyll drygionus?
Na atto Duw. O herwydd peth peryglus en-
baid fydde rhoi ar ddeiliaid farnu pa dywysog sydd
ddoeth a duwiol, a'i lywodraeth yn dda, a pha dy-
wysog nid yw felly: megis pe galle 'r droed farnu
'r pen: rhyfyg echryslon fydde hynny, ac ni all am-
gen na magu gwrthryfelgarwch. O blegid pwy
sy mor barod ac mor hyblyg i wrthryfela, ac pwy y
cyfryw ysprydion uchelfryd? O ddiwrth bwy y
daw y cyfryw gwymp anferth ar deyrnasoedd?
Ond mwyaf echrys ac all fod yw gwrthryfel? a

phwy

Ond pa beth bynnag a fo y tywysog neu ei lywodraeth, mae yn eglur fynychaf am y cyfryw dywysogion ac y bo rhai o'u deiliaid yn tybied eu bod yn dduwiol iawn, ac yn llawen ganthynt fyw tan eu llywodraeth hwy, fod eraill o'u deiliaid yn tybied fod yr un tywysogion yn ddrwg ac yn annuwiol, ac am hynny yn ewyllysio cyfnewid.

Am hynny pe bai bob deiliaid ac sydd anfodlon i'w tywysog yn gwrthryfela yn ei erbyn, ni bydde yn deyrnas byth heb wrthryfel ynddi. Cymmesurach fydde i wrthryfelwyr wrando ar gyngor y doethion, a rhoi lle i'w barn hwy, a chanlyn siampl deiliaid ufyddion, megis y mae yn rhesymmol bod i'r rhai y mae'r cyfryw wyniau drwg wedi dallu eu meddyliau, roi lle i'r rhai a fo o synnwyr a barn ddifreg, a bod i'r rhai gwaethaf roi lle i'r rhai goreu: ac felly y galle deyrnasoedd barhau mewn hir ufydd-dod, heddwch a llonyddwch.

Ond beth os bydd y tywysog yn angall ac yn ddrwg yn siccr, a bod yn amlwg hefyd yngolwg pob dyn ei fod ef felly? Yr wyf finneu yn gofyn, beth os o achos drygioni ei ddeiliaid y mae'r dywysog yn angall ac yn ddrwg? A annog y deiliaid trwy eu hanwireddau Dduw i roi iddynt, er eu cospi yn deilwng, dywysog angall drwg, a chwedy hynny gwrthryfelu yn eu erbyn ef, ac yn erbyn Duw hefyd yr hwn er cospedigaeth arnynt am eu pechodau, a roes iddynt y cyfryw dywysog?

A fynnwch chwi glywed yr Scrythur lân yngylch hyn o beth? y mae Duw, medd yr Scrythur
Osee 13.11. lan, yn peri i'r annuwiol deyrnasu o blegid pechodau'r bobl. A thrachefn, rhoddaf it frenin yn fy nig (un drwg y mae yn ei feddwl) a dygaf ef ymmaith

yn

yn fyllid, gan feddwl yn enwedig pan ddygo ef ymmaith frenhin da am bechodau'r bobl: megis yn hwyr o flynyddoedd y dygwyd ymmaith ein Josias daionus ni brenhin Edward yn ieuangc ac yn-nechreuad ei oes am ein pechodau ni. Ac o'r gwrthwyneb y mae'r Scrythyrau yn dangos fod Duw yn rhoddi doethineb i dywysogion, ac yn gwneuthur i frenhin da doeth deyrnasu ar y bobl y bo efe yn ei garu, ac a fo yn ei garu yntef. A thrachefn, Os y bobl a ufyddhânt Duw, yna y llwyddant hwy a'u brenhin, os amgen, hwy, a ddyfethir a'u brenhin hefyd, medd Duw trwy enau Samuel. 2. Par 2.9. Diarh. 16. 1. Sam. 12. 25.

Ymma y gwelwch mai Duw sydd yn gosod tywysogion drwg yn gystal a rhai da, ac am ba achos y mae efe yn gosod pob un o'r ddau. Os mynnwn ninnau na chael rhoi i ni dywysog da, na pharhau o hono, yn awr a chennym ninnau y cyfryw un, cyffrown Dduw i wneuthur hynny, trwy fod yn ufyddion i Dduw ac i'n tywysog. Os mynnwn gael tynnu ymmaith dywysog drwg (pan ddanfono Duw y cyfryw un) a chael un da yn ei le, tynnwn ninnau ymmaith ein camweddau, y rhai sydd yn annog Duw i osod y cyfryw un arnom ni, yno naill ai fe a'i tynn Duw ef ymmaith, ynteu fe a'i gwna ef o dywysog drwg yn dywysog da, os nyni yn gyntaf a newidiwn ein drygioni i ddaioni.

A fynnwch chwi glywed yr Scrythur lân? y mae calon y brenhin yn llaw'r Arglwydd, ac efe a'i try hi lle mynno ei hun. Fel hynny y dywaid yr Scrythur. Am hynny trown ni oddiwrth ein pechodau at yr Arglwydd â'n holl galonnau, ac efe a dry galon y brenhin i'n llonyddwch a'n llwyddiant Diarh. 21. 1.

anfrn: os amgen, nid yw ond drygioni dauddyblyg a thridyblig i ddeiliaid am eu pechodau haeddu cael tywysog drygionus, a chwedy hynny gwrthryfela yn ei erbyn ef, ac annog Duw i'w plago fwyfwy. Nag ê, naill ai haeddwn gael tywysog da, ai goddefwn yn ymmynneddgar y cyfryw un ac a haeddasom. A pha un bynnag a fo'r tywysog ai drwg ai da, moeswch i ni, yn ôl cyngor yr Scrythur lân, weddio tros ein tywysog, ar barhau a chynnyddu o hono mewn daioni, os da fydd ef, ac ar wellhau o hono, os drwg fydd.

1.Tim.2.1.

A fynnwch chwi glywed yr Scrythyrau ynghylch y pwngc angenrheidiol ymma? Cynghori yr ydwyf am hynny, medd S. Paul, ymmlaen pob peth, fod ymbil, gweddiau, deisyfiadau a thalu diolch tros bob dyn. Tros frenhinoedd a phawb a osodwyd mewn awdurdod, fel y gallem ni fyw yn llonydd, ac yn heddychol trwy bob duwioldeb, ac honestrwydd; canys hyn sydd dda a chymmeradwy gar bron Duw ein ceidwad, &c. Dymma gyngor S. Paul. A phwy, adolwg, oedd dywysog ar y rhan fwyaf o'r byd, pan roes sanctaidd Yspryd Duw, trwy enau S. Paul, y wers hon iddynt? yn wir, Caligula, Claudius neu Nero, y rhai oeddynt nid yn unig heb fod yn Gristianogon, ac yn baganiaid, ond hefyd naill ai yn llywodraeth-wyr angall, ai yn dyranniaid o'r creulonaf.

A fynnwch chwi glywed gair Duw wrth yr Iddewon, pan oeddynt garcharorion tan Nabuchadonosor brenhin Babylon, wedi iddo ladd eu brenhin hwy, a'u pendefigion, a'u rhieni, a'u plant, a'u ceraint, a llosci eu gwlad hwy a'u dinasoedd, hyd yn oed Jerusalem ei hunan, a'r

Deniel sancteiddiol a ddygyn y gweddillion eraill o honynt yn gaethion, yn fyw gyd ag ef i Babylon.

A fynnwch chwi glywed beth y mae propphwyd Baruch yn ei ddywedyd wrth bobl Dduw a hwy mewn caethiwed? Gweddiwch dros einioes Nabuchadonosor brenhin Babylon, a thros einioes Baltasar ei fab ef, medd y prophwyd, ar fod eu dyddiau hwynt fel dyddiau y nefoedd ar y ddayar: ac ar roddi o'r Arglwydd i ni nerth, a goleuo o hono ef ein llygaid ni, fel y byddom ni byw tan gyscod Nabuchadonosor brenhin Babylon, a than gyscod Baltasar ei fab ef, ac y gwasanaethom hwy lawer o ddyddiau, ac y caffom ffafor yn eu golwg hwynt. Gweddiwch hefyd trosom ni at yr Arglwydd ein Duw, o herwydd ni a bechasom yn erbyn yr Arglwydd ein Duw. Baruch.1.11.

Dyna eiriau y prophwyd Baruch, y rhai a ddywedodd ef wrth bobl Dduw am y brenhin hwnnw oedd genhedl-ddyn, a thyrant a chreulon o'r thrymmudd iddynt, ac a laddasai lawer mil o'u cenhedl hwy, ac a anrheithiase eu gwlad hwy, gan gyfaddef i'w pechodau hwy haeddu cael y cyfryw dywysog i deyrnasu arnynt.

Ac a gaiff yr hen Gristianogion, wrth gyngor S. Paul, weddio tros Caligula, Claudius neu Nero? A gaiff yr Iddewon weddio tros Nabuchadonosor? Gan nad oedd yr ymmerodron a'r brenhinoedd hyn ond dieithraid iddynt, a phaganiaid ac anffyddloniaid, llofrudd-wyr, tyranniaid a gorthrymwyr creulon arnynt, ac anrheithwyr eu gwlad hwy a'u gwlad-wyr a'u ceraint, ac a loscasant eu pentrefydd, a'u trefi a'u dinasoedd a'u temlau hwy: ac oni weddiwn ni tros hir a llwyddiannus a dedwydd deyrnasiad ein tywysog naturiol, ac

nid dieithr (yr hyn yr ydys yn ei farcio yn lle da iawn mawr yn yr Scrythur lân) ein tywysog Christianogaidd, ein grasusol oruchaf, ac nid tywysog paganaidd anghrededyn? Oni weddiwn ni gyda'g iechyd ein trugarocaf a'n carediccaf bennaeth, yr hwn sydd yn ein cadw ni a'n gwlad mewn heddwch a llonyddwch a diogelwch, ac nid ydyw nac yn greulon, nac yn dyrant, nac yn anrheithio ein da ni, nac yn tywallt ein gwaed, nac yn distrywio ac yn llosci ein trefi a'n dinasoedd a'n gwledydd ni, fel yr oedd y rhai hynny, tros y rhai er hynny y clywsoch y dylyai eu deiliaid weddio?

Na ddangoswn cymmaint o anniolchgarwch tu ag at Dduw a'n goruchaf, a bod o honom heb ddiolch i Dduw yn wastadol am y llywodraeth ymma, a'r mawr a'r gwastadol ddoniau a chymmwynasau yr ydys yn eu tywallt arnom trwy'r cyfryw lywodraeth.

Na wnawn cymmaint pechod yn erbyn Duw, yn ein herbyn ein hunain ac yn erbyn ein gwlad, a bod o honom heb weddio ar Dduw yn wastadol, ar hir barhau o'r cyfryw rasol lywodraeth wr arnom ni a'n gwlad. Ac onid ê ni a fyddwn annheilwng i fwynhau'r cymmwynasau a'r doniau hynny ar law Dduw, y rhai a gawsom hyd yn hyn trwyddo ef; ac a haeddwn gwympo i'r holl aflwydd a blinderau, y rhai yr ydym ni a'n gwlad trwy ras Duw wedi diangc oddiwrthynt hyd yn hyn trwy'r cyfryw lywodraeth.

Pa beth a ddywedwn ni am y deiliaid hynny? a allwn ni eu galw hwy yn ddeiliaid, y rhai nid ydynt nac yn diolch nac yn gweddio un gronyn ar Dduw tros y cyfryw rasol oruchaf? ond ydynt eu hunain yn cyfodi mewn arfau, yn cynnull tor-

feudd a byddinoedd o wrthryfelwyr i dorri 'r heddwch cyffredinol sy wedi parhau cyhyd, ac i wneuthur, nid rhyfel, ond gwrthryfel, i roi eu grasusol oruchaf mewn perigl, i beryglu stat eu gwlad (yr hon y dylyent fod yn barod i golli eu bywyd yn eu hymddiffyn) ac a hwy yn Frutaniaid, i yspeilio, i anrheithio, i ddistrywio ac i losci Bruttaniaid, a hynny ym-Mhrydain, i ladd ac i fwrddrio eu cymmydogion a'u ceraint a'r gwlad-wyr eu hunain, i wneuthur pob drygioni ac aflwydd, ie a mwy nag a wnai neu a allai elynion dieithr ei wneuthur.

Pa beth a ddywedwn am y dynion hyn, y rhai sydd yn ymddwyn mor wrthryfelgar yn erbyn eu grasol oruchaf, a hwythau yn rhwymedig wrth air Duw, pe buase Dduw am eu hanwiredd yn rhoddi iddynt genhedlddyn creulon anghreda-dwy i deyrnasu arnynt, i ufyddhau iddo ac i weddio trosto? Pa beth a ellir ei ddywedyd am danynt hwy? mae eu hangharedigrwydd, eu hannattu-riolder, eu hanwiredd a'u hechryslonder yn eu gweithredoedd, cyn belled yn passio ac yn rhagori ar bob peth ac ar bob dim ac a aller ei adrodd neu ei draethu mewn geiriau.

Yn unig damunwn i'r cyfryw rai edifaru o honynt ar frys, a hynny a'r fath ddwys ofid calon, ac y mae 'r fath erchyll bechodau yn erbyn mawrhydi Duw, yn ei ofyn; y rhai o wir ddygyn annniolchgarwch sydd yn cyfodi, nid yn unig yn erbyn eu grasol dywysog ac yn erbyn eu gwlad naturiol, ond yn erbyn eu holl wlad-wyr gwragedd, a phlant; yn eu herbyn eu hunain, eu gwragedd a'u plant a'u ceraint, a thrwy siampl mor annuwiol yn erbyn holl Gred, ac yn erbyn pob

mâth ar bobl trwy 'r holl fŷd.

Y cyfryw ediſeirwch, meddaf, a'r cyfryw oſid calon, ac ſydd weddus i'r cyfryw ddrygioni ac a amcanaſant hwy, Duw a'i caniattao i bawb a gyfodaſant ar feddwl ac amcan drygionus. A Duw o'i drugaredd a ganiattao i ninnau ac i bob deiliaid eraill, fod o honom yn anghyffelyb i'r cyfryw rai, ac yn gyffelyb i ddeiliaid daionus, naturiol, caredig, vfydd: ie ar fod o honym nid yn gyffelyb yn vnig i'r cyfryw rai, ond yn gyfryw rai ein hunain, ac nid yn vnig i ddangos pob vfydd-dod ein hunain, ond cynnifer o honom ac ſydd abl, hyd yr eithaf o'n gallu, a'n nerth a'n deall, i atal ac i ddaroſtwng y cyfryw wrthryfelwyr a gwrthryfeloedd yn erbyn Duw, a'n graſol oruchaf, a'n gwlâd naturiol, ar bob achos ac a gynnygier i ni. Ac onis gwnawn y cwbl ac a allom ei wneuthur, ni a fyddwn annuwiolaf dynion, a theilyngaf i oddef yn y diwedd y cyfryw ddygyn blaau ac a dywalltodd Duw ar wrthryfelwyr bob amſer erioed.

Gwnawn waſtadol weddiau at yr holl-alluog Dduw o eigion ein calonnau ar iddo roddi ei râs, a'i allu, a'i nerth i'n graſol frenhin James, i orescyn ac i ddaroſtwng pawb oll o'i wrthryfelwyr cartrefol, a'i elynion dieithr; fel gwedy daroſtwng a llonyddu pob gwrthryfel, a gwrthladd a throi heibio bob rhyfeloedd oddiallan, y gallom nid yn vnig fod yn ddiogel, a hir barhau mewn pob vfydd-dod i'n graſol oruchaf, ac yn y cyfryw fywyd heddychol tangneddefol ac a gawſom hyd yn hyn tan ei fawrhydi ef; mewn pob diogelwch: ond fel y bo i'n graſol frenhin James, ac i ninnau ei ddeiliaid ef, fyw ynghyd mewn

vfydd-

bydd-dod i Dduw brenhin y brenhinoedd, a'i sanctaidd gyfreithiau yn y byd hwn, mewn pob rhinwedd a duwioldeb; fel y gallom yn y byd a ddaw swynhau ei deyrnas dragwyddol ef: Yr hyn a attolygaf i Dduw ei ganiattau, i'n grasol oruchaf ac i ninnau i gyd, er mewn ei Fab ein Iachawdwr Iesu Grist, i'r hwn gyda'r Tâd a'r Yspryd glan, vn Duw a brenhin tragwyddol y bô pob gogoniant, anrhydedd adiolch byth heb ddiwedd. Amen.

Felhyn y clywsoch y rhan gyntaf o'r Homili hon bellach bobl ddaionus.

## Gweddiwn.



O Alluoccaf Dduw, Arglwydd yr arglwyddi, llywodraethwr yr holl greaduriaid, vnig roddwr pob buddugoliaeth, yr hwn yn vnig wyt abl i gyfnerthu 'r gwan yn erbyn y galluog, ac i orchfygu aneirif liaws o'th elynion â golwg ychydig o'th weision a fo yn galw arnat ac yn ymddiried ynot: Ymddiffyn o Arglwydd dy wasanaethwr di a'n llywydd ninnau tanat ti ein brenhin Iames, a'r holl bobl a orchymmynnwyd tan ei ofal ef. O Arglwydd gwrthladd greulondeb pawb oll ac sydd elynion cyffredinol i'th wirionedd di a'th dragywyddol air, i'w tywysog a'u gwlâd naturiol eu hunain, yn amlwg tan y goron a'r deyrnas ymma o Brydain, yr hon a ddarfu i ti o'th dduwiol ragluniaeth ei happwyntio yn ein dyddiau ni i lywodraeth dy wasanaethwr ein goruchaf a'n grasol frenhin. O drugaroccaf Dâd, os bydd dy sanctaidd ewyllys di, meddalha a thynera galonnau carregog pawb ar sydd yn ymdderchafu yn erbyn

dy wirionedd di, ac yn ceisio naill ai trallodi llonyddwch y deyrnas ymma o Brydain, a gorthrymmu ei choron hi, a thro hwy i wybodaeth dy Fâb, vnig Iachawdwr y byd, Iesu Christ, fel y gallom ni a hwythau ynghyd ogoneddu dy drugareddau di. Goleua, attolygwn i ti, eu calonnau anwybodus hwy, i gofleidio dy wirionedd di a'th air, ac onid ê gostwng eu creulonder hwy (O alluoccaf Arglwydd) fel y gallo ein gwlâd Gristianogaidd ni, gydâg eraill ac sydd yn cyffesu dy enw sanctaidd di, gaffael trwy dy nerth a'th gynnorthwy di, ddiogelwch oddiwrth bob gelynion, heb dywallt gwaed Christianogion, fel y Diddener pawb oll ac a orthrymmir trwy eu creulondeb hwy, ac y cyssurer y rhai sy mewn ofn eu creulonder hwy: ac yn ddiwethaf fel y gallo pob teyrnasoedd Christianogaidd, ac yn enwedig y deyrnas ymma o Brydain, tan dy ymddiffyn a'th nawdd di, barhau yngwirionedd dy Efengyl di, a mwynhau perffaith heddwch, llonyddwch a diogelwch: ac fel y gallom ninnau am y trugaredau hyn, yn gydssylltedig, ag yn gysson galon a lleferydd, yn ddiolchgar roi i ti bob moliant ac anrhydedd: fel y bo i ni wedi ein cyssylltu ynghyd yn ein plith ein hunain mewn vn duwiol vndeb a chyttundeb, yn wastad fawrygu dy ogoneddus enw, yr hwn gyd a'th Fab ein Iachawdwr Iesu Christ, a'r Yspryd glan, wyt yn tragwyddol, ollalluog a thrugaroccaf Dduw, i'r hwn y bo pob moliant ac anrhydedd byth heb ddiwedd. Amen.

¶ Yr

## ¶ Yr ail rhan o'r bregeth yn erbyn Anufydd-dod a gwrthryfelgarwch.



Megis y darfu i mi yn y rhan gyntaf o'r traethawd yma ynghylch ufydd-dod deiliaid i'w tywysogion ac yn erbyn anufydd-dod a gwrth-ryfelgarwch, adrodd i chwi amryw leoedd allan o'r Scrythur lân er profi hynny: felly y bydd da er dangos a chadarnhau'r athrawiaeth iachus hon yn well, adrodd i chwi allan o'r Scrythur lân siampl neu ddwy o ufydd-dod deiliaid, nid yn unig i'w llywodraeth wyr daionus grasion, ond hefyd i'w tywysogion drygionus anghyweithas. Megis nad oedd Saul o'r fath oreu, ond o'r fath waethaf ar dywysogion, am ei fod allã o ffafor Duw am ei anufydd-dod yn erbyn Duw yn arbed, trwy gam-dosturi, y brenhin Agag, yr hwn a orchymynnase'r Holl-alluog Dduw ei ladd, yn ôl cyfiawnder Duw yn erbyn ei elyn tyngedig: ac er bod Saul o ddwyfoldeb ar fedr aberthu i anrhydedd a gwasanaeth Duw y cyfryw bethau ac a arbedasai ef o'r eiddo'r Amaleciaid: etto fe a argyoeddwyd Saul am ei gamdrugaredd a'i ddwyfoldeb, ac a ddywedpwydd iddo mai gwell y buasai ufydd-dod yn rhyngu bodd Duw, na'r cyfryw dynerwch: ac y mae'r tirionder pechadurus hynny, medd Saint Chrysostom, yn greulonach gar bron Duw, nag ydyw lladd a cholli gwaed pan fyddo Duw yn gorchymyn. Homil 1. aduersus Iudæos.

Er mor ddrygionus oedd brenhin Saul, ac er ei fod allan o ffafor Duw, etto'r oedd ei ddeiliad Dafydd, y goreu i gyd o'i holl ddeiliaid ef, a'r

de-

dewrwychaf oll yngwasanaeth ei dywysog a'i wlad mewn rhyfeloedd, yr ufyddaf a'r caredic-
1. Sam. caf mewn heddwch, ar cywiraf a'r ffyddlonaf bob amser i'w orucha a'i arglwydd, a phellaf i gyd oddiwrth bob math ar wrthryfel, yn ufydd-
2. Sam. hau iddo yn wastad. Am yr hwn wasanaeth poenedig, cywir, ffyddlon, y talodd brenhin Saul iddo nid yn unig ag angharedigrwydd mawr, ond fe a geisioedd hefydd ei ddistrywio a'i ladd ef ym mhob modd ac allai: fel y gorfu ar Ddafydd achub ei einioes, nid trwy wrthryfel na gwrthwynebu, on wrth gilio ac ymguddio allan o olwg y brenhin.

Er hynny i gyd, pan daeth brenhin Saul ryw amser wrtho ei hun i'r ogof lle 'r oedd Dafydd, fel y gallasai Ddafydd yn hawdd ei ladd ef, etto ni wnai ef ei hunan niweid iddo, ac nis goddefai i'r un o'i wyr osod dwylo arno.

Amser arall yr aeth Dafyd i mewn liw nos gydag un Abisai, gwr dewrwych creulon, i'r babell lle 'r oedd brenhin Saul yn gorwedd ac yn cyscu, lle gallasai ef etto yn haws ei ladd ef, etto ni wnai ef ei hunan eniwed iddo ac nis goddefai i Abisai (yr hwn oedd ewyllysgar a pharod i lladd brenhin Saul) unwaith gyffwrdd ag ef.

Fel hyn y gwnaeth Dafydd a'i dywysog, er bod brenhin Saul yn wastadol yn ceisio ei ladd a'i ddyfetha ef. Ni bydd anghymmhesur, gyda gweithredoedd Dafydd, adrodd ei eiriau ef hefyd, a dangos i chwi beth a ddywedodd ef wrth y rhai a'i hannogasant i gymmeryd ei fantais a'i gyfle i ladd brenhin Saul, ei elyn angheuol, pan alle.
1. Sam. 24.7. Na atto 'r Arglwydd i mi, medd Dafydd, wneu-

thur

thur y peth hyn i'm meistr enneiniog yr Arglwydd, gan estyn fy llaw yn ei erbyn ef: o blegid enneiniog yr Arglwydd yw efe. Pwy a estynne i law yn erbyn enneiniog yr Arglwydd ac a fyddai ddiniweid? fel y mae 'r Arglwydd yn fyw naill ai 'r Arglwydd a'i tery ef, neu ei ddydd ef a ddaw i farw, neu efe a ddiscyn i'r rhyfel ac a ddifethir: yr Arglwydd a'm cadwo i rhag estyn fy llaw yn erbyn eneiniog yr Arglwydd. 1.Sam.26.9.

Dyna eiriau Dafydd a ddywedodd ef ar amryw amseroedd wrth ei weision a'i hannogent ef i ladd brenhin Saul, pan oedd amser a chyfle yn gwasanaethu iddo i wneuthur hynny. Ac ni adawn ni heibio ychwaith, y modd wedi i Amaleciad, meddai efe, ladd brenhin Saul, a hynny ar orchymmyn Saul ei hun (am nas mynnai efe fyw yn hwy, am iddo golli 'r maes yn erbyn ei elynion y Philistiaid) a'r Amaleciad hwnnw yn gwneuthur ffrwost mawr i ddwyn y gair a'r newyddion cyntaf o hynny i Ddafydd megis pe buasei lawenchwedl gantho ef farwolaeth ei elyn angheuol, ac yn dwyn gyd ag ef y goron oedd am ben brenhin Saul, a'r fraichled oedd am ei fraich ef, megis profedigaethau o wirionedd ei newyddion, ac megis anrhegion addas a hyfryd i Ddafydd, yr hwn a appwyntiase Duw i fod yn frenhin yn y deyrnas ar ôl Saul: etto cy belled oedd Dafydd ffyddlon dduwiol oddiwrth fod yn llawen gantho y newyddion hynny, ac yr ymaflodd ef yn ei ddillad ac a'u rhwygodd hwynt, ac a wylodd, ac a alar-nadodd ac a ymprydiodd: a chy belled oedd ef oddiwrth roddi diolch i'r gennad, nac am ei gennadwri a'i newyddion, nag am ei anrhegion a ddygasai ef, ac y dywedodd ef wrtho, 1.Sam.24.4. 1.Chro.10.4. 2.Sam.1.10. 2.Sam.1.13.17

wrtho,

wrtho, Pa fodd nad ofnaist di estyn dy law i ddifetha enneiniog yr Arglwydd? ac yn y man efe a orchymmynnodd i un o'i weision ladd y gennad, ac a ddywedodd, Bydded dy waed di ar dy ben dy hun, canys dy enau dy hun a dystiolaethodd yn dy erbyn, gan ddywedyd, myfi a leddais enneiniog yr Arglwydd.

Y siampl hon, fy-nghAredigion, sydd odidog, ac fe a ddylid ystyried ei gogylcheddau hi yn dda, er mwyn addyscu pob deiliaid yn eu rhwymedig a'u dyledus ufydd-dod, ac i'w dychrynu hwy yn wastadol rhac amcanu na gwrthryfel nac eniwed yn erbyn eu tywysog.

O'r naill ran, nid oedd Dafydd yn unig yn ddeiliad da cywir, ond hefyd yn gyfryw ddeiliad ac a wasanaethasei ei dywysog mewn heddwch a rhyfel, ac achubasai ei anhrydedd a'i wlad-wyr oddiwrth fawr berigl yr angrhedadwy, a gelynion dieithr creulon oeddynt yn rhyfela yn erbyn y brenhin a'i wlâd: Am yr hyn beth yr oedd Dafydd mewn ffafor odidog gyd a'r holl bobl, fel y gallasai ef gael aneirif o honynt ar ei orchymmyn, pe buasei yn amcanu dim.

Heb law hyn, nid oedd Dafydd yn ddeiliad cyffredinol cwbl, ond etifedd cyfnesaf i'r goron a'r deyrnas, a chwedi i Dduw ei appwyntio i deyrnasu ar ôl Saul: ac megis yr oedd hynny yn chwanegu ffafor y bobl a'i gwyddent tu ag at Dafydd, felly yr oedd hefyd yn gwneuthur gwahaniaeth a rhagoriaeth rhwng cyflwr Dafydd a'r deiliaid cyffredinol hollawl. A'r hyn sy fwyaf i gyd, yr oedd Dafydd yn fawr ac yn odidog mewn ffafor gyd â Duw: ac o'r gwrthwyneb, yr oedd brenin Saul allan o ffafor Duw (am yr achos a

ddy-

ddywetpwyd o'r blaen) ac megis yn elyn i Dduw, ac am hynny yn gyffelyb mewn heddwch a rhyfel i fod yn niweidiol ac yn ddrwg i'r wlad, ac yr oedd llawer o'i ddeiliaid ef yn gwybod hynny, am ddarfod i Samuel ei geryddu ef yn gyhoeddus am ei anufydd-dod i Dduw, yr hyn a allasai beri i'r bobl wneuthur llai o fri a chyfrif o hono.

Yr oedd brenhin Saul hefyd yn elyn angheuol Ddafydd, er nas haeddasai Ddafydd, yr hwn trwy ei wasanaeth ffyddlon, poenus, buddiol, angenrheidiol, a haeddasai yn dda gan ei wlâd a chan ei dywysog hefyd, a brenhin Saul wedi haeddu'r gwrthwyneb: ffieiddiach a chasach o hynny oedd ei angharedigrwydd, a'i gasineb, a'i greulonder ef tu ag at ddeiliad cystal. Etto ni wnai Dafydd na lladd na drygu'r cyfryw elyn ei hunan, am ei fod yn dywysog ac yn Arglwydd iddo, na goddef i neb arall na'i ladd ef, na'i niweidio, na rhoi llaw arno, pan allasai ei ladd ef heb na chynnwrf, na therfysc, na pherigl am einioes un dŷn.

Bellach attebed Dafydd i'r cyfryw ymofynion, ac y mae y rhai a fo chwannog i wrthryfel yn arfer o'i gwneuthur. Oni chyfodwn ac oni wrthryfelwn ni, yn enwedig a ninnau yn wŷr cystal ac ydym, yn erbyn tywysog sy gâs gan Dduw, ac sy elyn i Dduw ac am hynny heb fod yn debyg i lwyddo nac mewn rhyfel nac mewn heddwch, ond i fod yn niweidiol ac yn echryslon i'r wlâd? Na wnewch, medd Dafydd ddaionus dduwiol, deiliad ffyddlon i Dduw ac i'r cyfryw frenin. Ac felly yr argyhoedda ef nad yw y cyfryw ddeiliaid ac a amcanant wrthryfela yn erbyn y cyfryw frenin, nac yn ddeiliaid da, nac yn wŷr da. Ond meddant hwy, oni chyfodwn ac oni wrthryfelwn ni yn er-

hyn tywysog a fo mor angharedig ac na ystyrio ac na ofalo, nac am ein gwasanaeth ffyddlon, cywir, poenus ni, na diogelwch y rhai a ddêl ar ei ôl? Na wnewch medd Dafydd ddaionus, yr hwn nis gallai ddyn o'r cyfryw angharedigrwydd beri iddo ymadel a'i ddyledus ufydd-dod i'w oruchaf. Oni chyfodwn ni, meddant hwy, ac oni wrthryfelwn ni yn erbyn ein gelyn cydnabyddus angheuol, yr hwn sydd yn ceisio ein bywyd ni? Na wnewch medd Dafydd dduwiol, yr hwn a ddyscasai 'r wers a ddangosodd ein Iachawdwr Christ yn eglur ar ôl hynny, Na bo i ni wneuthur eniweid yn y byd i'n cyd-ddeiliaid er eu bod yn ein casau, ac er eu bod yn elynion i ni: llai o lawer y dylyem wneuthur eniweid i'n tywysog, er ei fod yn elyn i ni. Oni chynnullwn ni lu o'r cyfryw gyfeillion da ac ydym ninnau, a thrwy beryglu ein bywyd, a dywyd y rhai a sefo yn ein herbyn, a pheryglu holl stât ein gwlad, i symmudo tywysog cynddrwg? Na wnewch medd Dafydd dduwiol, o blegid myfi, pan allaswn heb gasclu gallu a lliaws o wyr, heb na therfysc, na pherigl am fywyd un dyn, heb golli dafn o waed, fy-ng wared fy hun a'm gwlad oddiwrth dywysog drwg, etto nis gwnaswn.

Ond ydynt hwy, medd rhai, yn gaptenniaid glewion calonnog, yn wyr dewrion, ac yn gymph gwŷr da, y rhai sydd yn anturio trwy nerth ladd a difuddio eu brenhin, ac yntef yn dywysog drwg, ac yn elyn angheuol iddynt? Hwy a allant fod morlewion ac mor ddewrion ac y mynnont, etto, medd Dafydd dduwiol, ni allant hwy fod nac yn wyr da, nac yn dduwiol a wnelont felly: o blegid myfi, nid yn unig a geryddais, ond hefyd a orchymmynnais ladd megis dyn drygionus, yr hwn a laddasei

fren-

frenhin Saul fyngelryn i, er ei fod yn blino ar ei fywyd am golli'r oruchafiaeth yn erbyn ei elynion, ac yn dymuno ar y dŷn hynny ei ladd ef.

Pa beth a wnawn ni i dywysog drwg annuwiol, i dywysog angharedig a fo gelyn i ni, a chas gan Dduw, a niweidiol i'r wlad, &c. Na osodwch ddwylo arno trwy nerth, medd Dafydd ddaionus, ond gedwch iddo fyw, hyd oni appwyntio ac oni weithio Duw ei ddiwedd ef, naill ai trwy angau naturiol, ai mewn rhyfel trwy elynion cyfreithlon, ai trwy ddeiliaid bradwraidd. Fel hyn yr attebai Ddafydd dduwiol: ac y mae S. Paul, fel y clywsoch o'r blaen yn ewyllysio i ni weddio gyda'r cyfryw dywysog.

Os gwnai y brenhin Dafydd yr attebion hyn, y rhai yn siccr wrth ei weithredoedd a'i eiriau a goffeir yn yr Scrythur lan, y mae efe yn eu gwneuthur i'r holl fath ymofynion ynghylch tywysogion drwg, tywysogion angharedig, tywysogion creulon, tywysogion a fo gelynion anghenol i'w deiliaid da, tywysogion a fo allan o ffafor Duw, ac felly yn niweidiol neu yn debyg i fod yn eniweidiol i'r wlad. Pa atteb, dybygwch chwi, a wnai efe i'r rhai a ofynnant, oni allant hwy (a hwythau yn ddeiliaid drwg angharedig) i fawr berigl bywyd llawer o filoedd, ac i ddygyn berigl stat y wlad a'r holl deyrnas, gasclu ynghŷd fagad o wrthryfelwyr, neu ddifuddio, neu ddychrynu, neu ddifetha eu tywysog naturiol cariadus, yr hwn nid yw elyn i neb, ond yn dda i bawb, ie iddynt hwy y rhai gwaethaf o'r cwbl, yr hwn sydd yn maentaenio heddwch gwastadol, a llonyddwch a diogelwch, yr hwn sydd dda wrth y wlad; ac anghenrheidiol i ddiogelwch yr holl deyrnas? Pa

atteb a wnai efe i'r rhai ofynnant, pwy allant hwy yn greulon ac yn annaturiol geisio difetha tywysog mor heddychol ac mor drugarog? Pa beth, meddaf, a attebai Ddafydd, yr hwn fydd yn dywedyd mor barchus am Saul, ac yn goddef brenhin drwg mor ddioddefgar? Pa beth a attebai ac a ddywedai ef am y cyfryw ymofynion? Pa beth a ddywedai, ie pa beth a wnai ef i'r rhai a amcanant bethau cymmaint, ac yntef yn dywedyd ac yn gwneuthur fel y clywsoch chwi o'r blaen i'r hwn a laddase'r brenhin ei feistr ef, er ei fod yn dywysog drygionus anial? Os cospodd ef y cyfryw ddyn ag angau megis drwg-weithredwr, a pha gerydd geiriau y disenwe ef, ie a pha artaith marwolaeth wradwyddus y difethe efe y cyfryw uffern-gwn yn hytrach na drwg-ddynion, y cyfryw wrthryfelwyr yr ydwyf yn ei feddwl, ac y soniais ddiwethaf am danynt? Oblegid os ydyw y rhai sy anufydd i dywysog drwg angharedig, yn annhebyccaf i gyd i Ddafydd y deiliad da hwnnw: pa beth ydynt hwy rhai sy yn gwrthryfela yn erbyn tywysog o'r naturiolaf a'r carediccaf? Ac os bu Ddafydd yr hwn oedd cystal deiliad ac ufyddhau brenhin mor ddrygionus, yn deilwng i gael ei wneuthur ei hunan o ddeiliad yn frenhin: pa beth y mae y rhai sy cynddrwg deiliaid ac y gwrthryfelant yn erbyn eu tywysog grasol, yn deilwng o'i gael?

Yn wir ni all dyn daearol nac adrodd ar eiriau na meddwl mewn calon, y ddamnedigaeth erchyll ofnadwy y maent hwy yn deilwng o honi, y rhai wrth ddiystyru bod yn ddeiliaid heddychol uffydd i'w tywysog da, sy deilyngaf o fod yn gaethion truein ac yn gaethweision gwael i'r tywysog

uffernol

uffernol Satan, i oddef tragwyddol gaethiwed ac artaith gydag ef. Digon yw 'r un siampl hon am y deiliad daionus Dafydd allan o'r hên Destament, ac o herwydd ei hynod odidowgrwydd hi a gaiff wasanaethu tros y cwbl.

Yn y Testament newydd, godidog siampl y wynfydedig forwyn fair mam ein Iachawdwr Christ, sydd gyntaf yn ymgynnyg i ni. Pan aeth cyhoeddiad a gorchymmyn tros holl Iudea oddiwrth Augustus ymmerodr Rhufain, ar i'r bobl ymgynnull i'w dinasoedd a'i cyfanneddau eu hunain i'w trethu yno: etto 'r wynfydedig forwyn er ei bod o waed brenhinol hên frenhinoedd naturiol Iudea, ni ddiystyrodd hi ufuddhau gorchymmyn tywysog dieithr o genhedl-ddyn, wedi darfod i Dduw osod y cyfryw un arnynt hwy: ac nid ymescusododd hi am ei bod yn feichiog fawr, ac yn agos at ei amser i escor: ac ni thuchanodd hi o blegid hŷd a maithied y daith o Nazareth i Bethlehem, lle 'r oedd raid iddi fyned i'w threthu: ac ni rwgnachodd hi o blegid costedd a llymder yr amser trymder a dyfnder gayaf, yniwedd mis rhagfyr, amser anghymmhesur iawn i ymdaith arno, yn enwedig daith ty bell ed i wraig yn ei chyflwr hi: ond hi a rôdd heibio bob escuson, ac a ufyddhaodd ac a ddaeth i'r lle appwyntiedig, a phan ddaeth hi yno hi a gafodd cymmaint cyrchfa ac *ymsang o bobl, fel na chafodd hi le mewn un lletty, ond gorfod arni ar ôl ei hir flwrnai faith flin, gymmeryd ei lletty mewn stabl, lle hefyd yr escorodd hi ar ei phlentyn bendigaid: a hynny sydd yn dangos mor agos at ei hamser y cymmerodd hi ei thaith honno.

*Ymwasc.

Yr ufydd-dod ymma a ddangosodd y bendessgaidd

atteb a wnai efe i'r rhai o gymmaint, bui allant hwy yn greulon ac yn annaturiol geisio difetha tywysog mor heddychol ac mor drugarog? Pa beth, meddaf, a attebai Ddafydd, yr hwn sydd yn dywedyd mor barchus am Saul, ac yn goddef brenhin drwg mor ddioddefgar? Pa beth a attebai ac a ddywedai ef am y cyfryw ymofynion? Pa beth a ddywedai, ie pa beth a wnai ef i'r rhai a amcanant bethau cymmaint, ac ydynt yn dywedyd ac yn gwneuthur fel y clywsoch chwi o'r blaen i'r hwn a laddase'r brenhin ei feistr ef, er ei fod yn dywysog drygionus anial? Os cospodd ef y cyfryw ddyn ag angau megis drwg-weithredwr, a pha gerydd geiriau y disenwe ef, ie a pha artaith marwolaeth wradwyddus y difethe efe y cyfryw vffern-gwn yn hytrach na drwg-ddynion, y cyfryw wrthryfelwyr yr ydwyf yn ei feddwl, ac y soniais ddiwethaf am danynt? Oblegid os ydyw y rhai sy anufydd i dywysog drwg angharedig, yn annhebyccaf i gyd i Ddafydd y deiliad da hwnnw: pa beth ydynt hwy rhai sy yn gwrthryfela yn erbyn tywysog o'r naturiolaf a'r carediccaf? Ac os bu Ddafydd yr hwn oedd cystal deiliad ac vfyddhau brenhin mor ddrygionus, yn deilwng i gael ei wneuthur ei hunan o ddeiliad yn frenhin: pa beth y mae y rhai sy cynddrwg deiliaid ac y gwrthryfelant yn erbyn eu tywysog grasol, yn deilwng o'i gael?

Yn wir ni all dyn daearol nac adrodd ac eiriau na meddwl mewn calon, y ddamnedigaeth erchyll ofnadwy y maent hwy yn deilwng o honi, y rhai wrth ddiystyru bod yn ddeiliaid heddychol ufudwydd i'w tywysog da, sy deilyngaf o fod yn gaethion truein ac yn gaethweision gwael i'r tywysog

vffernol

uffernol Satan, i oddef tragwyddol gaethiwed ac artaith gydag ef. Digon yw 'r un siampl hon am y deiliad daionus Dafydd allan o'r hên Destament, ac o herwydd ei hynod odidowgrwydd hi a gaiff wasanaethu tros y cwbl.

Yn y Testament newydd, godidog siampl y wynfydedig forwyn fair mam ein Iachawdwr Christ, sydd gyntaf yn ymgynnyg i ni. Pan aeth cyhoeddiad a gorchymmyn tros holl Iudea oddiwrth Augustus ymmerodr Rhufain, ar i'r bobl ymgynnull i'w dinasoedd a'i cyfanneddau eu hunain i'w trethu yno: etto 'r wynfydedig forwyn er ei bod o waed brenhinol hên frenhinoedd naturiol Iudea, ni ddiystyrodd hi ufyddhau gorchymmyn tywysog dieithr o genhedl-ddyn, wedi darfod i Dduw osod y cyfryw un arnynt hwy: ac nid ymescusododd hi am ei bod yn feichiog fawr, ac yn agos at ei amser i escor: ac ni thychanodd hi o blegid hŷd a maithied y daith o Nazareth i Bethlehem, lle 'r oedd raid iddi fyned i'w threthu: ac ni rwgnachodd hi o blegid costedd a llymder yr amser trymder a dyfnder gayaf, ynniwedd mis rhagfyr, amser anghymmhesur iawn i ymdaith arno, yn enwedig daith cy belled i wraig yn ei chyflwr hi: ond hi a rôdd heibio bob escuson, ac a ufyddhaodd ac a ddaeth i'r lle appwyntiedig, a phan ddaeth hi yno hi a gafodd cymmaint cyrchfa ac *ymsang o bobl, fel na chafodd hi le mewn un lletty, ond gorfod arni ar ôl ei hir siwrnai faith flin, gymmeryd ei lletty mewn stabl, lle hefyd yr escorodd hi ar ei phlentyn bendigaid: a hynny sydd yn dangos mor agos at ei hamser y cymmerodd hi ei thaith honno.

*Ymwasc.

Yr ufydd-dod ymma a ddangosodd y bendefi-

gaidd arglwyddes rinweddol hon tu ag at dywysog paganaidd dieithr, sydd yn ein dyscu ni (y rhai nid ydym wrthi hi ond gwael a bilas) pa vfydd-dod sy ddyledus arnom i'n naturiol a'n grasol oruchaf. Etto yn hyn o beth y mae vfydd-dod holl genhedl yr Iuddewon (y rhai heb law hynny oeddynt genhedlaeth war-galed) i orchymmyn yr un tywysog anghredadwy, yn profi, fod y cyfryw Ghristianogion ac nid ydynt yn barod iawn yn vfyddhau eu naturiol a'u grasol oruchaf, yn waeth o lawer na'r Iuddewon cyndyn y rhai 'rydym ni er hynny yn eu cyfrif yn waethaf pobl yn y byd.

Ond ni ddyle un siampl fod mewn mwy o rym gyd â nyni Ghristianogion, na siampl Christ ein meistr a'n Iachawdwr, yr hwn er ei fod yn fab Duw, a ymddug er hynny yn barchusaf i gydtu ag at y rhai oeddynt mewn awdurdod yn y byd yn ei amser ef, ac nid ymddug ef yn wrthryfelgar, ond fe a ddyscodd yr Iuddewon yn gyhoeddus i dalu teyrnged i ymmerodr Rhufain, er ei fod yn dywysog dieithr paganaidd, fe fe a dalodd ef hun a'i Apostolion deyrnged iddo: ac yn ddiweddaf pan ddygpwyd ef gar bron Pontius Pilatus, yr hwn oedd ŵr dieithr wrth enedigaeth, a chenedl-ddŷn, ac ef yn arglwydd ac yn rhaglaw ar holl Iudea, fe a gyfaddefodd mai oddiwrth Dduw yr oedd ei awdurdod a'i allu wedi ei roddi iddo, ac a ddioddefodd yn ymmynneddgar farn marwolaeth boenedig gywilyddus, yr hon a rôdd y barnwr hwnnw yn anghyfiawn yn ei erbyn ef, heb na grwgnach, na murmur, nac un gair drwg.

Mae llawer ac amryw eraill o siamplau o vfydd-dod i dywysogion er eu bod yn ddrwg, yn y Testament newydd, er llwyr wradwyddo pobl

anu-

anufyddion wrthrysfelgar: ond fe a all yr vn hon fod yn siampl ddiagwyddol, yr hon a roddodd Mab Duw, Arglwydd pob peth, Iesu Grist i ni ei Gristianogion a'i weision ef: a hon a all wa-sanaethu tros y cwbl i ddyscu i ni vfyddhau ty-wysogion, er eu bod yn ddieithr, yn ddrygionus ac yn gamweddus, pan osodo Duw am ein pe-chodau y cyfryw rai arnom. O'r hyn y canlyn yn anwacheladwy, am y rhai sy yn anufyddhau neu yn gwrthryfela yn erbyn eu naturiol a'u gra-sol oruchaf, pa fodd bynnag y bont yn eu galw eu hunain neu y bo eraill yn eu galw hwy, nad ydynt wir Ghristionogion, ond gwaeth nag Iuddewon, gwaeth na phaganiaid, a chyfryw ac ni chânt byth fwynhau teyrnas nef, yr hon a rydd Christ wrth ei vfydd-dod, i bob gwir Ghri-stion, a fo vfydd iddo ef brenhin yr holl frenhino-edd, ac i'w tywysog ac a osododd ef arnynt: yr hon deyrnas, priodol le pob cyfryw ddeiliaid vfy-ddion, yr attolygaf i Dduw ein Tâd nefol er mwyn ein Iachawdwr Iesu Ghrist ei chaniat-tau i ni: i'r hwn gydâ'r Yspryd glân y bo pob moliant, anrhydedd a gogoniant yr awr hon ac yn dragywydd, Amen.

¶ Fel hyn y clywsoch yr ail rhan o'r bregeth hon: bellach bobl ddaionus Gweddiwn.

Y weddi fel o'r blaen.

## ¶ Y drydedd ran o'r bregeth yn erbyn Anuſydd-dod a gwrthryfelgarwch.



MEgis yn y rhan gyntaf o'r traethawd hwn y dangosais i chwi athrawiaeth yr Scrythur lân ynghylch vfydd-dod deiliaid cywir i'w tywyſogiyn, ſef yn gyſtal i'r rhai drwg ac i'r rhai da: ac yn yr ail rhan o'r vn traethawd y cadarnheiais yr athrawiaeth honno ag amryw ſiamplau godidog wedi eu tynnu allan o'r Scrythur lân.

Felly y mae yn ôl yr awrhon fod i mi ddangos i chwi yn y drydedd ran hon, mor ffiaidd pechod yn erbyn Duw a dŷn yw gwrthryfelgarwch, ac mor ofnadwy yr ennynnir ac y cynneuir digofaint Duw yn erbyn pob gwrthryfelwyr, a pha erchyll blagau a choſpedigaethau ac angeu, ac yn ddiwethaf pa dragwyddol golledigaeth ſydd vwch eu pennau hwy; a pha fodd o'r gwrthwyneb y mae deiliaid da vfyddion mewn ffafor Duw, ac yn gyfrannogion o heddwch, a llonyddwch a diogelwch ac eraill o amryw ddoniau Duw yn y bŷd hwn, a thrwy ei drugareddau ef yn ein Iachawdwr Chriſt, o fywyd tragwyddol yn y bŷd a ddaw.

Mor erchyll pechod yn erbyn Duw a dŷn yw gwrthryfelgarwch, nid poſſibl yw adrodd yn ôl ei faint. O blegid yr hwn ſydd yn enwi gwrthryfel, nid vn pechod y mae yn ei henwi, megis y mae lladrad, yſpeilio, a lladd a'r cyffryw, ond mae fe yn enwi holl bwll a ſugndraeth yr holl bechodau yn

erbyn

erbyn Duw a dyn, yn erbyn ei dywysog, ei wlâd,:
ei wlad-wyr, ei rieni, ei blant, ei geraint, ei gare-
digion a phob math ar ddŷn yn gyffredinol; pob
pechodau, meddaf, yn erbyn Duw a dŷn wedi eu
pentyrru yngbŷd, y mae efe yn eu henwi, yr hwn
sydd yn enwi gwrthryfelgarwch.

O blegid fu ag at am bechu yn erbyn mawrhy-
di Duw, pwy nid yw 'n gweled fod gwrthryfel-
garwch yn cyfodi yn gyntaf, o ddirmygu Duw
a'i sanctaidd ordeiniaethau a'i gyfreithiau, yn y
rhai y mae efe mor dost yn gorchymmyn ufyddd-
dod, ac yn gwahardd anufydd-dod a gwrthryfel-
garwch.

Ac heb law y dianrhydedd y mae gwrthryfel-
wyr yn ei wneuthur i sanctaidd enw Duw, trwy
dorri eu llw a wnaethant i'w tywysog gan alw
enw Duw a'i sawrhydi yn dŷst: pwy ni chlyw
yr erchyll lyau a'r sanctaidd enw Duw, a arferir
beunydd ym-mysc gwrthryfelwyr, ac y sydd yn
eu mysc hwy, neu yn clwyed y gwirionedd am
eu hymddygiad hwy? Pwy nis gwyr fod gwr-
thryfelwyr, nid yn unig eu hunain yn gadel heb
wneuthur, yr holl weithredoedd angenrheidiol
ac a ddylid eu gwneuthur, ar ddiwrnodau gwa-
ith, tra fônt hwy yn cyflawni ffiaidd waith eu
gwrthryfelgarwch, ac yn cymmell eraill a chwen-
nychent fod yn gweuthur daioni, i wneuthur yr
un peth: ond hefyd pa fodd y mae gwrthryfelwyr
nid yn unig yn gadel dydd Sabbaoth yr Ar-
glwydd heb ei sancteiddio, a theml ac eglwys yr
Arglwydd heb fyned iddi, ond hefyd â'u gweithre-
doedd annuwiol yn halogi y dydd Sabbaoth
yn erchyll, gan wasanaethu Sathan, a thrwy
wneuthur ei waith ef, gwneuthur y dydd hwn-
nw o

nnw o ddydd yr Arglwydd yn ddydd Satan?

Heb law hynny, maent hwy yn cymmell gwŷr da a fydde dda ganthynt wasanaethu'r Arglwydd ac ymgydgynnull yn ei deml a'r Eglwys ef ar y dydd hwn, i ymgynnull ac i ymgyfarfod yn arfog yn y maes i wrthladd cynddaredd y cyfryw wrthryfelwyr. Je mae llawer o wrthryfelwyr rhag iddynt adel un rhan yn y llech gyntaf o'i gyfraith ef heb dorri, nac unrhyw bechod yn erbyn Duw heb wneuthur, maent meddaf, yn gwrthryfela er maentaenio delwau ac eulynnod, a'r gaudduwiaeth y maent hwy yn ei wneuthur ac a wnaent hwy iddynt: ac o ddirmyg ar Dduw, yn dryllio ac yn rhwygo ei sanctaidd air ef, ac yn ei sathru tan eu traed, megis y gwnaethant yn hwyr o flynyddoedd.

Tu ag at am yr ail llêch o gyfraith Dduw, a phob pechod ac a ellir ei wneuthur yn erbyn dŷn, pwy nis gwŷl nad yw gwrthryfel yn eu cynnwys hwy i gŷd? O blegid yn gyntaf y mae gwrthryfelwyr nid yn unig yn dianrhydeddu eu tywysog, yr hwn yw tad eu gwlâd hwy, ond hefyd yn dianrhydeddu ac yn cywilyddio eu tadau a'u mammau naturiol, od oes rai ganthynt; yn cywilyddio eu ceraint a'u caredigion, yn dietifeddu ac yn anrheithio tros fyth eu plant a'u hetifeddion.

Lladradau, yspeilfau, lladdiadau, y rhai o'r holl bechodau sydd ffieiddiaf gan y rhan fwyaf o ddynion, nid ydynt mewn dynnion yn y byd yn gymmaint ac mor echryslon ac mewn gwrthryfelwyr. O blegid y lladron pennaf, a'r llofruddion creulonaf ac a fu erioed, yr hyd y bônt yn ymattal rhag gwrthryfela, megis, nad ydynt lawer mewn rhifedi, felly nid ydyw eu hanwiredd a'u dannedi-

gaeth

gaeth hwy yn ymwascaru ond ym-mhlith ychydig, nid ydynt yn anrheithio ond ychydig, nid ydynt yn tywallt gwaed ond ychydig.

Ond y mae gwrthryfelwyr yn achos o aneirif o yspeiliau, a lladdedigaethau lliaws mawr, a hynny ar y rhai y dylent hwy eu hymddiffyn rhag anrhaith a gorthrech eraill: ac megis y mae gwrthryfelwyr yn llawer mewn rhifedi, felly y mae eu hanwiredd a'u damnedigaeth hwy yn ymdaenu ac yn cyrhaeddyd at lawer. Ac os yw putteindra a godineb ym-mhlith y cyfryw ddynion ac sydd hyblyg i'r cyfryw anwiredd, yn bechodau o'r fath echryslonaf, megis y maent yn sicr: pa beth yw treisio gwragedd priod, a halogi ac anwyryfu morwynion a gwyryfon, y rhai sy bechodau cynnefin ymmysc gwrthryfelwyr?

Heb law hynny, y mae gwrthryfelwyr wrth dorri eu crêd a roesant, y llw a wnaethant i'w tywysog, yn euog o anudon echryslon: y mae yn rhyfedd gweled pa gam-liwiau a gau-achosion y mae gwrthryfelwyr trwy ddywedyd celwyddau enllibus ar eu tywysog a'i gyngor, yn eu dychymmyg i goluro eu gwrthryfel: yr hon yw'r fath waethaf ac echryslonaf ar gam-dystiolaeth ac a all fod.

Pa beth a ddywedaf am chwennychu gwragedd, a thai, a thiroedd, a golud, a gweision gwyr eraill, felly mae gwrthryfelwyr, y rhai o'u bodd ni adawent ddim i neb o'r eiddo ei hun?

Fel hyn y gwelwch fod gwrthryfelwyr yn torri ac yn troseddu holl gyfreithiau Duw, a bod pob pechod ac a ellir ei wneuthur yn erbyn na Duw na dyn, yn gynnwysedig mewn gwrthryfelgarwch: y pechodau os chwennych neb eu galw ar

 enw

enw arferol y saith pechod pennaf, neu'r saith pe-
chod marwol, Balchder, cenfigen, llid, cybydd-
dod, diogi, glothineb a godineb, fe a gaiff weled eu
bod hwy i gyd mewn gwrthryfelgarwch ac ym-
mhlith gwrthryfelwyr.

Oblegid yn gyntaf, megis y mae uchelfryd a
chwant cael goruchafiaeth, y rhai hon yw un o gyn-
neddfau balchder, yn cyffroi meddyliau dynion i
wrthryfela, felly o falchder a rhyfyg ddieflig Lu-
cifer y mae yn dyfod, bod ychydig ol ddeiliaid
gwrthryfelgar yn mofyd yn erbyn mawrhydi eu ty-
wysog, yn erbyn doethineb y cynghor, yn erbyn
nerth a gallu'r holl bendefigion, a holl ffyddlon
ddeiliaid a phobl yr holl deyrnas.

Tu ag at am genfigen, llid, llofruddiaeth,
chwant gwaed, a thrachwantu golud a chyfoeth
a chynnyddiaeth gwyr eraill, pethau cyssylltedig di-
wahanol y bradwyr a'r gwrthryfelwyr, a chynnedd-
fau priodol sydd fynychaf yn cyffroi dynion dry-
gionus i wrthryfela.

Hefyd y rhai trwy loddest, a glothineb, a me-
ddwdod, a gormodd wychder, a chwareuon an-
llywodraethus, a dreuliasant eu hunain yn an-
llywodraethus; y rhai hynny sydd barottaf a
chwannoccaf i wrthryfela, wrth yr hyn y maent
yn gobeithio dyfod a hyd i olud eraill trwy drais
ac anghyfraith. A lle mae glythion a meddwon e-
raill yn cymmeryd gormod o'r cyfryw fwydydd a
diodydd ac a ddelo i'r bwrdd, y mae gwrthryfel-
wyr mewn ychydig amser yn difa ac yn treulio yr
holl ŷd yn yr yscuboriau, yn y meusydd, ac ym-
mhob lle arall, mewn llofftydd, mewn stor-dai,
* Celloedd. mewn * seleri, yn difa diadellau cyfain o ddefaid, a
gyrrau cyfain o ychen a gwartheg.

Ac

eisiau bwyd a diod mewn pryd ac amser, a chym-
meryd gormodd amser arall: fe a wyr pawb, me-
ddaf, trwy y moddion hynny fod haint y nodau a
chowyn a phob math ar glefyd ac afiechyd arall
yn tyfodi ac yn magu yn eu mysc hwy, a'r clefydau
hyn sydd o'r diwedd yn difa mwy o wyr nag y mae
min ac awch y cleddyf yn eu lladd yn ddisym-
mwth yn y maes. Fel nad haint y nodau yn unig,
ond pob clefydau, a heintiau, ac afiechyd arall
sydd yn canlyn gwrthryfel, y rhai sy fwy erchyll ac
ofnadwy na phla a nodau a chlefydon ac a ddan-
foner yn union oddiwrth Dduw, fel y ceir gweled
yn amlyccach ar ôl hyn.

Tua ac at am newyn a phrinder, cyfeillion ydy-
dol i wrthryfel ydynt: o blegid tra fo gwrthry-
felwyr mewn ychydig amser yn anrheithio ac yn
difa yr hollyd a'r arlwy angenrheidiol a gynnu-
llase ddynion trwy boen, er eu cynhaliaeth yn hyd
y flwyddyn: a thra fydont yn rhwystro i wyr e-
raill, llafurwyr ac eraill, oddiwrth eu hwsmon-
naeth a'u gorchwylion angenrheidiol eraill, i
wneuthur arlwy erbyn yr amser a ddaw, pwy
nis gwyl y bydd angheuthaid bod dygyn brinder
a newyn yn canlyn yn y man ar ôl gwrthryfel.

Hefyd lle'r ydoedd y brenhin doeth a'r pro-
phwyd duwiol Dafydd yn barnu fod rhyfel yn
2.Sam.24.24. * Cywyn. waeth nâ newyn ac na * haint y nodau, am fod
Duw yn goddef y ddau hyn yn fynych er mwyn
gwellhau dynion, ac nad ydynt bechodau o ho-
nynt eu hunain: ond mae rhyfeloedd a phechodau
ac anwireddau dynion y naill blaid neu'r llall, yn
gyssylltedig â hwy; ac am hynny rhyfel yw'r
mwyaf o'r plaau bydol hyn: ond o'r holl ryfeloedd,
gwaethaf yw rhyfel gartrefol rhwng deiliaid yn
eu

eu plith eu hunain, a ffieiddiach o lawer yw gwr-
thryfel na'r rhyfel hwnnw, gan eu bod yn annheil-
wng o'i galw yn rhyfel, y mae hi yn rhagori cym-
maint ar bob rhyfel mewn pob drygioni, a phob
echrys, a phob ffiaidd-dra. Ac am hynny y mae Mat.12.25.
ein Iachawdwr Christ yn cyhoeddi distryw ac
anghyfannedd-dra i'r deyrnas a fo trwy derfysc
a gwrthryfel wedi ymrannu yn ei herbyn ei hun.

Yn awr, fel y dangosais o'r blaen fod haint y
nodau a newyn, felly y mae etto yn eglurach o
lawer, fod pob gofid, a thrueni ac aflwydd yn dos-
tach mewn gwrthryfel, ac yn canlyn gwrthryfel
yn fwy nag un rhyfel arall, am ei bod yn waeth o
lawer nag un rhyfel arall. Oherwydd heb law
bod y gofidiau a'r aflwydd cyffredinol arferol ym-
ma yn canlyn gwrthryfel, megis anrheithio yd a
phethau eraill angenrheidiol i wasanaeth dyn;
ysbeilio, llosci a distrywio tai, a phentrefydd, a
threfi, a dinasoedd; tlodi nid yn unig llawer o wyr
goludog, ond gwledydd cyfain; lladd a mwrddro
llawer mil o wyr; treisio a halogi gwragedd a
gwyryfon, yr hyn bethau pan eu gwnêl'n gelynion
dieithr yr ydym yn ymofidio o'u plegid, fel y mae
i ni achos mawr: etto mae'r holl ofidiau hyn heb
fod neb o'ng wlad-wyr ein hunain yn gwneuthur
anwiredd ynddynt.

Ond pan fydder yn gwneuthur yr holl af-
lwydd hyn mewn gwrthryfel, a hynny gan y rhai
a ddylent fod yn garedigion, gan wladwyr, gan
geraint, gan y rhai a ddylent ymddiffyn eu gwlad
a'u gwlad-wyr rhag y cyfryw flinderau; nid yw
'r aflwydd ellydd cymmaint ac yw'r aflwydd a'r
anwiredd pan fo deiliaid yn annaturiol yn gwr-
thryfela yn erbyn eu tywysog, yr hwn y dylent ei ym-
ddiffyn:

ddiffyn ei anrhydedd a'i einioes, pe bai raid iddynt wrth hynny golli eu heinioes eu hun: pan fo gwladwyr yn terfysgu cyffredinol heddwch a llonyddwch eu gwlâd, yr hon y dylent wario eu heinioes yn ei hymddiffyn: pan fo'r naill frawd yn ceisio ac weithiau yn dwyn bywyd y llall, y tad yn ceisio peri lladd ei fâb ac yntef mewn oedran gŵr, a'r tadau trwy eu beiau eu hunain yn dietifeddu eu plant, a'u ceraint, a'u hetifeddion yn dragwyddol, i'r rhai y gellesent brynu bywyd a thiroedd, megis y mae tadu naturiol yn cymmeryd gofal a phoen, ac yn myned mewn mawr gôst a thraul gyda'u meibion: ac i ddywedyd y cwbl ar vn waith, yn lle pob llonyddwch, a llawenydd, a dedwyddwch, y rhai sy yn canlyn heddwch bendigedig a dyledus vfydd-dod, dwyn i mewn drallod, a thristwch ac aflonyddwch meddwl a chorph, a phob aflwydd a gofid; i droi pob trefn dda ben dra mwnwgl; i ddwyn pob cyfreithiau da i ddirmyg, ac i'w *mathru tan draed; i orthrechu pob rhinwedd ac honestrwydd, a phob dyn rhinweddol honest; ac i ellwng pob drygioni ac anwiredd, a phob dŷn drygionus anwir yn rhydd i wneuthur eu hewyllys drygionus, y rhai yr oedd cyfreithiau iachus or blaen yn eu ffrwyno: i wannhychu i ddifetha, ac i ddifa gallu'r deyrnas eu gwlâd naturiol, trwy dreulio a gwario arian a thrysor y tywysog a'r deyrnas, a lladd y bobl eu gwlâd-wyr eu hunain, y rhai a ddylent ymddiffyn anrhydedd eu tywysog, a braint eu gwlâd yn erbyn ymmyrch gelynion dieithr: ac felly yn ddiwethaf, i wneuthur eu gwlâd trwy eu haslwydd hwy yn wannach, ac yn barod i fod yn sclyfaeth ac yn anrhaith i bob gelynion dieithr

*Ddansial.

## ¶ Y bedwaredd ran o'r bregeth yn erbyn Anufydd-dod a gwrthry-felgarwch.



R mwyn eich addyscu chwi ym-mhellach, bobl ddaionus, a dangos i chwi faint y mae'r Holl-alluog Dduw yn ffieiddio anufydd-dod a gwrthryfelgarwch, yn enwedig pan fo gwrthryfelwyr yn ymdderchafu mor uchel ac yn ymarfogi mewn arfau, ac yn sefyll yn y maes i ymladd yn erbyn Duw a'i swydog a'i gwlâd: ni a fydd ymyner-thynol dangos rhai siamplau allan o'r Scrythyr, yr ran a scrifennwyd er ein tragwyddol addyscni.

Ni allwn wybod yn y man, bobl ddaionus, mor aruthrol bai yw bradwriaeth a gwrthryfel, os galwn i'n côf ddirfawr lid ac erchyll ddigofaint yr Holl-alluog Dduw yn erbyn y cyfryw ddeiliaid ac nid ydynt ond yn unig yn grwgnach, yn manson a murmur oddifewn yn erbyn eu llywodraethwyr, er nad yw eu dirgel fradwriaeth hwy sy wedi ei fagu mor gyfrinachol yn eu calonnau hwy, yn torri allan nac yn ymddangos mewn gweithredoedd goleu, er bod yn anodd i'r rhai y darfu i ddiafol ei hudo cy belled yn erbyn gair Duw, sefyll ar hynny: ie mae yn ei fryd ef etto chwythu'r * marwor yn, ac ennyn eu calon-nau gwrthryfelgar hwy i ffiammychu i weithredoedd goleu, oddieithr i râs Duw ei lwrthladd ef ar frys. *Rhysodyn.

Pan duchanodd rhai o blant yr Israel yn er-byn eu llywodraethwyr a osodase Duw arnynt, hwy a gospwyd â gwahan-glwyf brwnt: a llawer a losc- Nu.11.1. Nu.12.10. Nu.16. Psal.77.

ddaionus, i'w hyfryted. Hefyd Achitophel, er ei
fod yn wybodeth [illegible] eraill,
2.Sam.15.12. & 16.21.23. & 17.23. a fu gynghorwr annwyl i Absalon i wrthryfe-
la yn erbyn ei dad, o eisiau arteithwyr cyfaddas,
i'w grogi am ei fradwriaeth, fe a aeth ac a ym-
grogodd yr waith ei hun. Dyna ddiwedd teilwng
i bod cyfryw wrthryfelwyr, y rhai yn gynt nac y
bont heb gael dyledus gospedigaeth, trwy gyfi-
awn farn Duw a ânt yn arteithwyr arnynt eu
hunain. Dyna fel y digwyddodd i bennaethiaid
&18.7. yr wrthryfel honno, heb law ugain mil o'r gwr-
thryfelwyr cyffredin a laddwyd yn y maes ac yn
yr ymlid.

2.Sam.20. Felly y gellir gweled yn yr Scrythur lan pa
fodd y llonyddwyd yn ddisymmwth yr wrthryfel
a'r terfysc mawr a gyffrôdd y bradwr Seba yn
Israel, wedi ei wraig druan beri torri pen y brad-
wr pennaf.

Ac fel y mae 'r Scrythyrau yn dangos, felly
hefyd y mae addysc amser beunydd yn egluro na
bu i gynghorion a chydfwriadau ac amcanion
Psal.21.12. gwrthryfelwyr erioed ddyfod i ddiben da, ond i
ddiwedd echryslon.

O blegid er bod Duw weithiau yn llwyddo ge-
lynion cyfiawn cyfreithlon, y rhai nid ydynt ddei-
liaid, yn erbyn ei gelynion dieithrol: etto ni rôdd
af erioed hir-llwyddiant i ddeiliaid a fo gwrthry-
felgar yn erbyn eu tywysogion, er maint fydde
eu hawdurdod a'u rhifedi.

Ni allei bump tywysog neu frenhin, (o blegid
felly y mae 'r Scrythur yn eu galw hwy) a'u holl
Gen.14. llaws canthynt, lwyddo yn erbyn Codorlaomer,
er hwn yr addawsent warrogaeth ac ufydd-dod,
ac y parhaesent felly ennyd o flynyddoedd, ond
hwy

hwy a ddifethwyd ac a ddaliwyd yn garcharorion gantho ef cymmaint fu: ond Abraham a'i deulu a'i genedl, rhai nid oeddynt ond megis dyrnaid, ac heb fod yn ddeiliaid i Codorlaomer, a'i gorescynnasant ef a'i holl lu yn y rhyfel, ac a waredodd y carcharorion.

Felly er bod rhyfel mor greulon ac mor ofnadwy ac ydyw, etto mae Duw yn llwyddo ychydig mewn rhyfeloedd cyfreithlon yn erbyn llawer miloedd o elynion dieithrol: ond ni lwyddodd ef erioed etto ddeiliaid a fai yn gwrthryfela yn erbyn eu naturiol oruchaf, er maint, er boneddigced, er cynnifer, er dewred, er doethed ac er galled faent, ond bob amser hwy a orescynnwyd ac a ddaethant i ddiwedd cywilyddus: cymmaint y mae Duw yn ffieiddio gwrthryfel yn hytrach na rhyfeloedd eraill, er heb law hyn ei bod yn ofnadwy ac yn ddinistr mawr ar ddynion.

Er bod weithiau nid lliaws mawr o'r cyffredin annoeth gwael, ond gwyr mawr eu synwyr a'u bonedd a'u hawdurdod, yn cyffroi gwrthryfel yn erbyn eu tywysogion cyfreithlon (lle dylai wir fonedd ffieiddio, a gwir ddoethineb ddygyn-galhau y fath dafogaidd ac ynfyd wrthryfel) er eu bod yn gwneuthur hynny yn rhith llawer o achosion ac yn cymmeryd arnynt fwriadu dywygio a gwellhau cyflwr y wlad (yr hon y mae gwrthryfel yn fwy na dim arall yn ei difetha) neu ddiwygio ffydd a chrefydd (lle nid oes dim fwy yn erbyn pob gwir grefydd nac yw gwrthryfel) er iddynt wneuthur lliw a golwg têg o feddwl ac amcan sanctaidd wrth ddechreu eu bradwriaeth a'u gwrthryfel â ffug-wasanaeth Duw, (fel y dechreuodd Absolon annuwiol ei wrthryfel trwy aberthu i Dduw)

Dduw) er eu bod yn [illegible] ac yn dwyn [illegible] faneræu ac arwyddion y sydd hoff a chymmeradwy gan y bobl gyffredin anniben ddiwybod, o'r rhai y maent yn hudo ac yn tynnu attynt liosydd mawr wrth ei ffug-liwiau a'u lledrith: etto er maint fai liaws y gwrthryfelwyr, er bonheddigred eu callter ac er doethed fai eu pennaethiaid hwy, er tecced ac er sancteiddied fai ei ffugliwiau hwy: etto cyfryw yw ac a fu erioed ddiszymmwyth ddiwedd pob gwrthryfelwyr, o ba rifedi neu stât, neu gyffwr bynnag y baent, pa liw neu achos bynnag y baent yn ymhoni o hono; fel y mae Duw wrth hynny yn dangos nad yw efe yn caniattau nac i fraint na theilyngdod dŷn yn y byd, nac i liaws pobl yn y byd, nac i bwys a maint achos yn y byd, fod yn rheswm digonol i ddeiliaid i gyffroi terfysc yn erbyn eu tywysogion.

Trowch trossynt a darllenwch histoꝛiau pob cenedl, edrychwch groniclau ein gwlâd ni trossynt, gelwch i'ch cof gynnifer gwrthryfel ac a fu yn yr hên amser, a rhai hefyd sydd etto hawddgof gan lawer, ac ni chewch chwi weled ddarfod i Dduw erioed lwyddo gwrthryfel deiliaid yn erbyn eu tywysog cyfraithlon naturiol, ond o'r gwrthwyneb, ddarfod gorescyn a llâdd y gwrthryfelwyr, ac artaithio yn ofnadwy gymmaint ac a ddaliwyd o honynt yn garcharorion.

Ystyriwch lwythau mawrion pendefigaidd Dugiaid, Marchioniaid, ieirll ac arglwyddi eraill, y rhai y gellwch ddarllein eu henwau mewn croniclau ac sydd yn awr wedi diffoddi a darfod: chwiliwch allan achosion eu cwymp hwy, a chwi a gewch weled nad eisiau eppil ac etifeddion gwryw a wnaeth i ddai a gwaedoliaeth pendefigion a

gwŷr

mewn llythrennau mawrion, a gwrthryfelwyr nad oes neb yn rhwysgo'r Arad yn fwy na gwrthryfelwyr, y rhai nid arddant eu hunain ac yn adwant i eraill aredig. Ac er bod rhai gwrthryfelwyr yn dwyn llun pum harcholl yn eu baneri au yn erbyn y rhai sy yn rhoi holl ogiud eu hiechydwriaeth yn archollion Christ, nid gwedi eu paentio ar gadach gan ryw baentiwr annuwiol, ond yn yr archollion hynny a ddug Christ yn ei werthfawr gorph: er eu bod heb wybod pa beth yw croes Grist yr hon ni feidr na phaintiwr na cherfiwr ei gwneuthur, etto maent yn dwyn delw'r groes gwedi ei pheintio mewn cadachau yn erbyn y rhai y peintiwyd croes Ghrist yn eu calonnau, ie er peintio honynt yn eu * baneri au, Hoc signo vinces: yn yr arwydd hon y gorfyddi a chanlyn yn lledffron orchwyl Constantin fawr, yr Ymherodr Christionogaidd godidawg, a'r ennill gorchfygwr gelynion Duw, a'r wydd an weddus iawn i elynion Duw, eu tywysog a'u gwelsa, neu pa faner arall bynnag a ddygont, etto na chanlyned un deiliad da duwiol (gan obeithio gorchfygu neu dyccio yn dda) neb ac a ddygant y fath fanerau o wrthryfel. Oherwydd fe gair siamplau o'r fath weithredoedd cystal mewn hen historiau ac mewn gwrthryfeloedd a fuyn hwyr o fewn o gof hygof ein tadau ni, a ninnau ein hunain: felly cymaint yr ymrisiwent ac er dwyn honynt y banerau hyn, fe gyfrifer (er mwyn eu cosbi yn dragwydd) fawr ac echrydus laddfau anefrif lawer a milioedd o'r bobl gyffredin, y rhai a laddwyd mewn gwrthryfeloedd, erchyl ddihenydd y gwrthrowyr a'r penaethiaid a thruan anrhaith eu gwragedd hwy a'u plant, a dietifeddu eu hetifeddion y

gwrth-

gwrthryfelwyr yn dragywydd, anrhaith a distryw
y bobl a'r wlad lle dechreuwyd y gwrthryfeloedd
fal y gallai y plentyn na anesid etto ruddfan a ga-
laru o'u plegid hwy, cwbl ddistryw ac angau cy-
wilyddus yr holl wrthryfelwyr, y rhai a osodir
allan cystadl mewn historiau cenhedlaethau di-
eithr a chroniclau ein gwlad ni ein hunain, rhai o
honynt sydd hygof ddigon y rhai pe cynwyssid oll
ynghyd a wnaent lawer o lyfrau mawrion: ond
o'r gwrthwyneb fe a allid cynnwys mewn ychy-
dig liniau [illegible] yr holl lwyddiant a gafodd
gwrthryfelwyr mewn un oes, gwlad, neu am-
ser. A gaued am hyn y cwbl gwacheled pob dei-
liad da gan ystyried pa mor echrydus bechod yn
erbyn Duw, eu tywysog a'u gwlad ac yn erbyn
holl gyfraithiau Duw a dynion yw gwrthryfel,
yr hwn nid yw un pechod neillduol yn unig, ond yr
holl bechodau yn erbyn Duw a dyn gwedi eu pen-
tyrru ynghyd, gan ystyried erchyll fywyd a gweithre-
doedd a diwedd ac angau cywilyddus pob rhebel a
gwrthryfelwr hyd yn hyn, andwaeth truan eu gw-
ragedd hwy a'u plant a'u tylwydd a dietifeddu eu
etifeddion hwy yn dragywydd, a chan ystyriaid
uwchlaw pob peth y dragwyddol ddamnedigaeth
a ddarparwyd i'r holl wrthryfelwyr diedifeiriol
yn uffern gyda diawl dechreuwr cyntaf gwrth-
ryfel a Phennaeth mawr yr holl wrthryfel-
wyr: gwacheled meddaf bob deiliad da (gan
ystyriaid y pethau hyn) bob gwrthryfel, me-
gis y drygioni mwyaf ac a all bod, a chofleidied
ufydd-dod dyledus i Dduw a'i dywysog, megis
y rhinwedd fwyaf oll, fel y gallom ddiange
rhag pob drygioni a blinderau ac a ganlynant
wrthryfel yn y byd hwn a damnedigaeth tra-
gwyddol yn y byd a ddaw, ac y mwynhaom
hedd-

heddwch lonyddwch a diogelwch a holl ddoniau eraill a bendithion Duw y rhai a ganlynant vfydd-dod yn y bywyd hwn, ac a meddiannom yn ddiwethaf yn rhyd a Duw deyrnas nefoedd, lle enwedig i'r holl ddeiliaid a vfyddhant i Dduw a'u tywysog.

Yr hwn Duw brenhin yr holl frenhinoedd ai canniatao ini er mwyn vfydd-dod ei fab Iesu Grist i'r hwn gyd â'r Tad a'r Yspryd glan yn Duw ac anfarwol frenin y byddo holl ddyledus anrhydedd gwasanaeth ac vfydd-dod gan ei holl greaduriaid yn oes oesoedd, Amen.

Fel hyn y dywsoch y bedweredd rhan o'r bregeth hon yn awr bobl dda weddiwn.

Y weddi fel o'r blaen.

## ¶ Y bummed rhan o'r bregeth yn erbyn gwrthrhyfelgarwch ac anufydd-dod.



N ol athrawaeth a samplau am vfydd-dod dyledus deiliaid i'w brenhinioedd, ni a fynegais yn ddiwethaf ichwi pa fath bechod ffiaidd yn erbyn Duw a dyn yw gwrthryfel, a pha blau erchyll, a chospedigaeth a marwolaeth gydag angau tragwyddol yn y diwedd sydd yn sefyll uwch bennau yr holl ddynion gwrthryfelgar.

Ni bydd ammherthynasol nac anfuddiol ddan-
gos yn awr pwy y mae 'r cythrel, awdur a de-
chreuad pob gwrthrhyfelgarwch, yn eu harfer
yn bennaf, i gyffro deiliaid i wrthryfelu yn er-
byn eu tywysogion cyfraithlon, fel gan eu ad-
nabod y galloch gilio oddiwrthynt ac oddiwrth
eu damnedig hudoliaeth hwy, a gochelyd pob
gwrthrhyfelgarwch ac felly diangc rhag y plaau
erchyll a'r farwolaeth echrydus, ac yn ddiwethaf
y ddamnedigaeth tragwyddol sydd ddyledus i
bawb o'r gwrthrhyfelwyr. Er bod llawer o a-
choseon gwrthrhyfelgarwch ac a ellir eu cyfrif,
ie cynniser haechen ac sydd o fafau mewn gwyr
a gwragedd, fal y dangoswyd o'r blaen: etto ym-
ma mi a gyhwrddaf yn unig a'r achosion pennaf
ac a arferir fynychaf, yn enwedig uchelfrud ac
anwybod.

Wrth uchelfrud yr wyf yn meddwl anghyf-
raithlon ac aflonydd chwant mewn dynnion i
fod mewn stat sydd uwch nag y rhoddodd ac y osso-
dodd Duw iddynt. Wrth anwybod nid ydwyf
yn ystyried eisiau cafarwyddyd mewn celfyddy-
don a gwybodaethau, ond eisiau gwybod sanc-
taidd ewyllys Duw a fanegwyd yn ei sanctaidd
air ef. Yr hwn sydd yn dyscu cyffadl i gaslau
yn drarhagorol bob gwrthrhyfelgarwch megis
gwreiddiau pob drygioni, ac i lewyrchu mewn u-
fydd-dod megis dechreuad a gwaelod pob daioni,
fel y manegwyd o'r blaen hefyd.

Ac fel y mae y rhai hyn yn ddwy o'r achoseon
pennaf o wrthrhyfelgarwch: felly y mae dau
rhyw o ddynnion yn y rhai yn enwedig y mae y
bai hyn yn teyrnasu, trwy y rhai yn bennaf y
mae 'r diawl awdur pob drygioni yn cyffro pob

wyr, ac a fynnant eu cyfrif felly. Rhaid imi ymma
etto yn fyrr (bobl ddaionus) eich coffo chwi allan o
sanctaidd air duw am ymarweddiad ein Iachawd-
wr Iesu Grist a'i apostolion sanctaidd (penna-
ethiaid a phenadurriaid pob gwir wyr eglwysig ys-
prydol) tuag at dywysogion a rheolwyr eu hamser
hwy: er nad oeddent lywiawdwyr o'r gorau, fal y
gwybyddoch pa un a wna y sath ddynion ai bod yn
ddiscyblon Crist a'i apostolion ac felly yn wir ys-
prydol, y sath ddynnion (meddaf) ac a geisiant
ymgyrhaeddyd a thringad mor uchel neu a ddys-
can yn dra chenfigennus, neu yn dra echryslon
wneuthur gwrthryfel yn erbyn eu tywysogion
cyfraithlon: yr hwn yw 'r gwaethaf o holl wei-
thredoedd y cnawd a gorchwylion anwiredus.

Mae 'r scruthyrau sanctaidd yn dywedyd yn
oleu fod Christ ei hun a'i apostolion Saint Pawl,
Saint Peter, ac eraill, yn ufydd eu hunain i'r lly-
wiawdwyr, a'r galluodd goruchel, y rhai a rheo-
lent pan oeddent hwy ar y ddaiar ac yn annog e-
raill yn ddyfal ac yn ddifrif i fod yn yr un modd
yn ufydd i'w tywysogion a'u llywiawdwyr: Wrth
yr hyn y mae 'n eglur y dyle wyr llen a gwenydo- Math. 17.25.
gion eglwysig, yn enwedig eu hunain ac ymlaen- Mar. 12.14.
pawb, fod yn ufydd i'w tywysogion ac annog e- Luc. 20.
raill i'r un fath ufydd-dod. Ac fe gadarnhaodd ein Math. 27.
Iachawdwr Christ hynny yn ei athrawaeth gan Luc. 23.
ddyscu nad oedd ei deyrnas ef o'r byd hwn, a- Ruf. 13.
thrwy ei siampl, gan gilio rhag y rhai a fynnase 1. Tit. 2.
ei wneuthur ef yn frenin, gan waharddi i'w apo- 1. Pet. 2.
stolion a thrwydddent hwy i'r holl wyr llen dy- John 6.15.
wysogaidd deyrnasu ar y bobl a'r cenhedloedd, 18.36.
Ac efe a'i Apostolion sanctaidd yn enwedig Petr a Math. 20.25.
Phawl a waharddodd i holl wenidogion eglwy- Mar. 10.
sig Luc. 22.25. Mar. 13.8. Luc. 9. 2. Cor. 1. 1. Pet. 5.

sig deyrnasu ar Eglwys Grist. Ac yn wir yr hyd y cynhalodd gwenidogion eglwysig y drefn a osodwyd yngair Christ iddynt, a'r hyd y cadwasant eu hunain yn deyrnasoedd Christionogion yn ufydd i'w tywysogion, megis y mae'r scruthyr lân yn eu dyscu hwy: yr oedd Eglwys Christ yn rhydd oddi wrth ymryson a chynhennau ymchwyddus, ac nid oedd stat teyrnasoedd Christionogaidd mor llawn o gynnwrf a gwrthryfel.

Ond yn ol i uchelfryd a chwant teyrnasu ddyfod unwaith i wenidogion eglwysig, braint y rhai yn ol siampl ein Iachawdwr a'i athrawaeth a
Math.18. 20. ddyle sefyll yn bennaf mewn gostyngeiddrwydd:
Luc.9.22.27. a chwedy i Escob Rufain ac ef wrth drefn gair Duw heb fod ddim amgen onid Escob o'r un escobaeth honno, ac heb allel erioed lywodraethu honno yn union, daeru trwy falchedd anrhaith oddef, mai fe nid yn unig yw pen yr holl eglwys sydd wedy ei gwascaru dros wyneb yr holl ddaiar, ond hefyd Arglwydd holl deyrnasoedd y byd, fal y gosodir i lawer yn oleu yn ei gyfraithiau Canon ef ei hun, yn wrthwyneb iawn i athrawaeth a siampl
S.Decret. li.3. cap.vnic. & li. 5.tit.9.cap. 5. in Glos. ein Iachawdwr Christ, ficar yr hwn a ficar ei apostol sancteiddiaf, y myn ef ei fod, Petr meddaf, canlynwr yr hwn y cymmer arno fod: yn ol i'r uchelfryd hwn gael ei gynnwys, a chwedy ei Escob Rufain daeru hyn unwaith, fe a aeth yn anrhaithiwr ac yn ddistrywydd cyffadl o'r eglwys yr hon yw teyrnas ein Iachawdwr Christ, ac o'r Ymherodraeth Gristionogaidd a phob teyrnas Gristionogawl megis tyron cyffredinol ar y cwbl.

Ac ile cyn iddo daeru hynny yr oedd cariad a serch mawr rhwng Christionogion pob gwlad a'i gilydd, o hyn y dechreuodd tyfu cenfigen a cha-

sineb

sineb mawr rhwng Escob Rufain a'i wyr llen
a'i gymdeithion o'r un rhan, a gwyr llen Groeg a
Christionogion y dwyrain o'r rhan arall, am eu
bod yn gwrthod cydnabod fod un fath goruchel
awdurdod gan Escob Rufain arnynt: ac Escob
Rufain am yr achos hyn ym-mhlith erail nid yn
unig yn eu galw hwy ac yn eu cymmeryd hwy yn Schismatici.
lle rhwygwyr yr eglwys, ond heb orphwys yn eu
herlid hwy, a'r Ymherodwyr hefyd, eisteddfod y
rhai a'i gorphwylfa oedd yn Grecia, gan annog
y deiliaid i wrthrhyselu yn erbyn eu harglwyddi
goruchel, a chan gyffro casineb marwol a rhy-
feloedd creulon rhyngthynt hwy a thywyso-
gion Christionogaidd eraill. Ac yn ol i Escobi-
on Rufain symmud titul yr Ymherodr, a chy-
belled ac y gallai, yr Ymherodraeth hefyd oddi-
wrth ei Arglwydd yr ymmerodr o Grecia ac o Ru-
fain hefyd trwy gyfiawnder, at dywysogion Chri-
stionogaidd y gorllewin, hwy a fuont am ben en-
nyd hyrr cynddrwg wrth Ymmerodwyr y gorlle-
win ag a fuasent hwy o'r blaen i Ymmerodwyr
Grecia, fe a ellir gweled yn historiau a chroniclau
i Escobion Rufain arfer rhyddhau deiliaid o'u
llw o ufydd-dod a wnaent i Ymerodwyr y gorlle-
win eu huchel Arglwyddi, i Escobion Rufain gy-
ffro 'n an-naturiol y deiliaid i rebelio yn erbyn eu
tywysogion, fe y mab yn erbyn y tad: gyffro Rhy-
feloedd creulon gwaedlyd ym-mhlith tywysogion
Christionogaidd yr holl deyrnasoedd: erchyll for-
dder llawer mil o Gristionogion a laddodd Chri-
stionogion eraill: a'r hyn a ganlynodd o hynny y
colled truan ar gymmaint o dêyrnasoedd gwledydd
trefi a theyrnasoedd, y rhai a fu ryw amser yn
nwylo'r Christionogion, yn Asia, Africa ac Eu-
ropa:

ropa: cwymp blin yr Ymmerodraeth ac Eglwys Grecia (rhan rhwy amlaf fraintiaf o Gred) i ddwylo'r Twrciaid, lleihad adfeiliad a chwymp truan galarus ar grefydd Gristionogaidd, echrydus gynnydd buchedd Paganiaid a gallu'r anghredadwy a'r anifeiliaid a'r cwbl trwy hoccedd ac annogaeth Escob Rufain yn bennaf: hyn oll a ellir ei weled meddaf yn scrifennedig yn historiau a chroniclau y rhai oeddent yn ffafro ac yn caru Escob Rufain, fel y gŵyr pawb yn dda ar sydd gydnabyddus a'r historiau hynny: fe a ymddangosodd balch fwriad a dichellion twyllodrus Escob Rufain yn yr holl orchwylion hyn; wrth eu tra eofnder yn anrheithio ac yn yspeilio yr Ymmerodwyr, o'u trefi, dinasoedd, a theyrnasoedd, yn Itali, Lumbardi, a Cicili, y rhai er hen amseroedd a berthynent i'r Ymmerodraeth, a chan eu cyssylltu hwy a'u Hescobaeth o Rufain, neu eu rhoddi hwy i ddieithriaid i'w dala dan yr Eglwys neu Escob Rufain megis in capite, ac megis dan yr uchel Arglwyddi o honynt, yn yr hwn gyflwr y maent yn dala y rhan fwyaf honynt hyd y dydd heddyw. Trwy y moddion balch bradychus hyn a thrwy anrheithio eu Harglwyddi goruchel y daeth Escobion Rufain o offeiriaid, ac heb fod ddim amgen mewn cyfiawnder ond Escobion un ddinas, neu Escobaeth, trwy gam-orescyn yn Arglwyddi mawr, llawer o Arglwyddiaethau, yn dywysogion cedyrn, neu yn hytrach yn Ymmerodwyr, megis yn taeru fod llawer o dywysogion a brenhinoedd yn gaethion yn ostyngedig ac yn ddeiliaid iddynt, fal y gellir gweled yn yr historiau hynny a scrifennodd eu tylwyth a'u cyfeillion hwy eu hunain.

Ac

scedig, yr hyn y wnelse yr holl ymherodwyr Chri-
stionogaidd o'i flaen ef yn ddirhwystr: y fuasent
hwy meddaf am fod Escob Rufain yn eu cymmell
hwy i gredu hynny, yn gwrthryfelu dros ddei-
gain mlynedd ynghyd yn ei erbyn ef, trwy dy-
wallt cymmaint o waed Christionogaidd a lladd
cynifer mil o Gristionogion, ac yn y diwedd yn
diswyddo eu huchel Arglwydd pe buasent hwy
yn gwybod ac yn deall dim o air Duw: yn enwe-
dig pe gwybuasent iddynt wneuthur y cwbl o
hynny i dynnu oddiwrth eu huchel Arglwyddi
a'u etifeddion yn dragywydd eu hên gyfiawnder i'r
ymmerodraeth a'i rhoddi hi i Escob Rufain a'i
wyr llen, fel y galle ef am un Archescobaeth ac am
un cerpyn o Rufain yr hwn a alw ef pal, na thale
ond braidd swllt, dderbyn llawer mil o goranau
aur, a chan Escobion eraill hefyd symmau mawr
o arian am eu bulau yr hyn sydd wir symoni: Y fu-
ase Gristionogion meddaf a deiliaid trwy wrth-
ryfel yn tywallt cymmaint o waed Christiono-
gaidd ac yn diswyddo eu tywysog naturiol godi-
dawg dewr, i ddwyn y peth i'r diben hyn, pe gwy-
basant beth oeddynt yn ei wneuthur neu pe de-
allasant air Duw:

Ac fal y gwnaeth y treisiwr uchelfrud hwn Es-
cob Rufain i ffrydiau o waed Christionogion
orchguddio holl Itali a Germani yr hwn y dy-
walltodd deiliaid anwybodus trwy wrthryfel
yn erbyn eu Harglwyddi naturiol ac Ymherod-
wyr, y rhai y gyffroesant hwy i hynny trwy y fath
gau escuson: felly nid oes un wlad yn-Ghred yr
hon ni thascwyd erni waed deiliaid trwy eu
gwrthryfel yn erbyn eu naturiol uchel-alluoedd
yr hon y gyffrowyd trwy'r un rhyw Escobion Ru-
fain.

sain. Ac i rhoddi i chwi vn siampl o'n gwlad ni ein
hunain fe a gymmerth Escob Rufain gweryl yn
erbyn brenin Ioan o Loeger am ddewis Ste-
phan Langthon i Escobaeth Canterburi, yn y
hyn beth yr oedd gan y brenin hŵn gyfiawnder y
hwn y arferase ei rhyeni ef holl frenhinioedd
Lloeger oi flaenef, ac Escob Rufain heb iddo vn
cyfiawnder, onid darfod iddo dreisio ar frenin
Lloeger a brenhinioedd eraill, megis y gwnelsai
o'r blaen ar ei vchel Arglwydd yr Ymherodr, gan
fyned yn eu herbyn hwy hyd yr vn ffordd ac yn
yr vn modd, felly fe felltithiodd brenin Ioan ac
a rhyddhaodd ei ddeiliaid ef o'u llw o vfydd-dod
i'w huchel Arglwydd.

Pandolphus

Bellach pe gwybuase Saeson yr amser hwn-
nw eu dlyed i'w tywysog a osodwyd allan yn-
gair Duw, y fuase gyniser o'r pennaethiaid a Sa-
eson eraill deiliaid naturiol o achos i'r treisiwr
dieithr annaturiol hwn felltithio eu brenin hwy
yn ofer a gwneuthur llw o'u rhyddhau hwyn-
tau o'u llw o vfydd-dod i'w Harglwydd naturiol,
ar sail mor wann neu yn hytrach heb vn sail yn
gwrthryfelu yn erbyn eu huchel Arglwyd y Bre-
nin? A fuasai ddeiliaid Saisnig yn dala yn er-
byn Brenin Lloeger ac yn erbyn Saeson gyda
Brenin Ffrainc a Ffrancod y rhai y gyffroese Es-
cob Rufain yn erbyn y deyrnas hon? y ddanfo-
nasent hwy i geisio ac y dderbynasent hwy y
Dolpin o Ffrainc a llu mawr o Ffrangod i deyr-
nas Loeger? y dyngasent hwy lw o vfydd-dod
iddo gan dorri eu llw i'w Harglwydd naturiol
Brenin Lloeger, Ac y safasent hwy dan ei faner
ef gweddy ei lledu yn erbyn Brenin Lloeger? Y
gyrrasent hwy eu huchel Arglwydd Brenin
Lloeger allan o Lundain y ddinas bennaf yn
Lloeger,

Lloeger, ac allan o'r rhan fwyaf o Loeger hefyd, hyd tu y gorllewyn o'r afon Trent ie hyd yn Lincoln ac allan o Lincoln hefyd, a rhoddi'r cwbl dan feddiant y Dolphyn o Ffrainc yr hwn a'u cadwodd dan ei feddiant hir ennyd? y fuasent hwy a hwy yn Saeson yn annog tywallt gwaed cynifer o Saeson ac aneirif eraill o ddrygioni a blinderau i Loeger eu gwlad naturiol, y rhai a ganlanasant y rhyfeloedd creulon a'r gwrthryfeloedd bradychus hynny ffrwythau bendithion Escob Rufain? Y ddyrasent hwy eu huchel Arglwydd Brenin Lloeger i'r fath gyfyngder fal y gorfu arno ddarostwng ei hun i'r gau dreisiwr dieithr, Escob Rufain, yr hwn a'i dyrrodd ef i surendro coron Loeger i ddwylaw ei gennad ef, yr hwn yn lle arwydd ei fod ef yn feddiannol honi a'i cadwodd hi yn ei ddwylo lawer o ddiwarnodau, ac yno fe a rhoddodd hi i fynu ailwaith i frenin Joan, dan ammod i frenin Joan a'i etifeddion ddala'r goron a Brehiniaeth Loeger dân Escob Rufain a'r rhai a ddoe ar ei ol ef megis deiliaid Escobion Rufain yn dragywydd, yn arwydd o hynny y talai frenhinoedd Lloeger dreth bob blwyddyn i Escob Rufain megis deiliaid yn dala dano ef? Y fuase Saeson yn dwyn eu huchell Arglwydd a'u gwlad naturiol i gaethiwed a gostyngeiddrwydd i gau dreisiwr dieithr, pe gwybuasent a phe buasent yn deall dim o air Duw? Allan o'r stat galarus hon a blindyrnaeth, yspail ac anrhaith y bleiddiaid awyddus hyn o Rufain a ganlynodd ar ol hyn, ni allodd Brenhinioedd na theyrnas Loeger rhyddhau eu hunain dros lawer iawn o flynyddoedd yn ol hynny: gan fod Escob Rufain nid yn unig yn yspei- Pandolphus.

llo yn wastadol trwy ei wenidogion, o deyrnas
ac oddi ar frenin Lloeger anneirif ddiesor, ond yn
hirio hefyd a'r arian hynny ac yn maenteinio
gelyrnnion dieithr yn erbyn teyrnas a Brenhini-
oedd Lloeger, i'w cadw hwy yn y fath ufydd-
dod, fel na wrthodent dalu beth bynnac y chwe-
nyche y bleiddiaid gwalsawr hynny yn awy-
ddus, na gwneuthur beth bynnac y osode y ty-
caniaid creulon hynny arnynt. Y fuase Saeson
yn goddef hyn? Y barasent hwy hyn trwy wrth-
rhyfel y dybygwch chwi, a hynny oll am fellltith
diachos Escob Rufain, pe gwybuasent a phe de-
allasent hwy fod Duw yn mellttithio y fath Esco-
bion a thyrhaniaid, a threiswyr melltigedig? fal
y dangoswyd ar ol hynny yn amser Brenin Harri
wythfed, a Brenin Edward y chwechd, a'r
frenhines Elizabeth, a'n Grasol frenin yr hwn
sydd yn awr yn teyrnasu, lle nid oes diffyg nac o
felltithion y Pab, nac o aml fendithion Duw.

Ond gan fod Escob Rufain yn deall yn amser
Brenin Ioan ddallineb ac anifeiliaidd anwybo-
daeth yn-gair Duw ac ofergoel y Saeson, a pha
mor barod oeddynt i addoli yr anifail Babilo-
naidd o Rufain, ac i ofni pob bygythau a mellti-
thion diachos, fe a'u camarferodd hwy fel hyn, ac
a ddug trwy wrthrhyfel y deyrnas odidawg hon
a Brenhinioedd Lloeger tan ei dyranaeth tra-
chreulon, i fod yn ysclyfaeth i'w drachwant a'i
yspail wael awyddus ef dros amser hir, ie rhyhir
o lawer.

Ac er cyssylltu ac ymadroddion historiau he-
thau o gyssadwriaeth sydd hwyrach, allasai Es-
cob Rufain gwnnu y fath wrthrhyfeloedd yn-
gwledydd y dehen a'r gorllewyn, yn amser Bre-
nin

min Harri wythfed a Brenin Edward, ond gan gamarfer anwybod y bobl? Onid yw eglur i Escob Rufain amcanu yn hwyr trwy ei Batriarchan a'i Escobion gwyddelig (i'r rhai y danfonwyd o Rufain eu Bulau ac o'r rhai y daliwyd rhai) dorri barrau a pherthi heddwch cyffredinol Iwerddon, yn unig am ei fod ef yn ymddired y gallai yn hawdd gamarfer anwybod y Gwyddelaid gwylltion? Neu pwy na wyl iddo ef ar yr un fath obaith etto yn hwyrach, annog torri heddwch cyffredinol Lloeger, (am fod yn flin iawn ganddo fod hwn yn parhau mor hir, ac mor fendigaid) trwy wenidogaeth ei Gapalenaid ymrhithiedig, y rhai a ymlusgant mewn trwsiad gwyrllygion ac a rhimiant ynghlustiau rhai o artaloedd y Gogledd, y rhai a wyddont leiaf am eu dlyed at Dduw a'u tywysog o holl bobl y deyrnas, y deillaid am hynny deillion disyml hyn, megis rhai addas parod i wneuthur yr hyn y fwriadai ef, y hebryngodd ef trwy ei offeren offeiriaid, megis y dallyn arwain y dall, i glawdd dyfn gwrthryfel *echrydus, ddamnedig iddynt hwy eu hunain ac enbaid i stat y deyrnas, oni buase i Dduw o'i drugaredd ostegu yn rhyfedd y temestl creulon hwnnw, nid yn unig heb warth i'r wlad, ond haechen heb dywallt dim gwaed Christionogaidd Saeson.

Ac etto mae peth y ddylyd galarnu am dano 'n fwy nad ydyw y bobl gyffredin yn unig, ond ambell dywysog ieuanc anghyfarwydd hefyd, yn goddef Escob Rufain a'i gardinelaid a'i Escobion i'w camarfer hwy, i orthrymmu Christionogion eu deiliaid ffyddlon, y naill ai eu hunain ai yntef gan annog dyfod a galluodd Christionogion allan

o un

gair Duw a'i gyfraith, y dirystrai yntef hwy-
thau, fel na byddent offeiriaid iddo ef. Mae Osea 4. 6.
Duw hefyd yn gochymmunyn i frenh nioedd cy-
stadl ag i offeiriaid ymhyddru i gael deall a gwy-
bodaeth yn gair Duw, gan fygwth ei fawr lid a'i
ddistryw arnynt oni wnant felly.

Ac mae'r gwr doeth yn dywedyd wrth bawb Diaut. 19. 8.
yn gyffredinol tywysogion offeiriaid a phobl, lle
nid oes deall nid oes na daioni na iechyd i'r enaid
ac mai Ofer yw y dynnion oll, fydd heb adnabod
Duw a'i air sanctaidd ef. A bod y rhai sydd yn rho- Sap. 13. 1.
dio yn y tywyllwch heb wybod i pa le yr ant: ac Ephe. 4. 18.
y cwymp y rhai ni ddyscant i lawer o ddrygioni fel Ioh. 12. 35.
y cwmpmpodd pobl Israel y rhai am eu hanwy- Esai 5. 13.
bod yn-gair Duw a gaeth glud wyd. A phan trwy
anwybod ar ol hymmyn ni fynnent nabod amser eu Luc. 19. 44.
hymweliad ond croeshoeli Christ ein Iachawdwr, 23. 34.
herlid ei apostolion sanctaidd ef, a bod mor ddall ac Act multis
mor anwybodus fel pan wnaent yn dra drwg ac locis.
yn dra chreulon, y tybygent eu bod yn gwneu-
thur gwasanaeth da cymmeradwy gan Dduw
(fel y mae llawer trwy anwybod yn tybied hyd y
dydd heddyw) yn y diwedd trwy eu hanwybod
hwy a'u dallineb, fe ddistriwyd yn erchyll eu
gwlad hwy eu trefi a'u dinasoedd, Ierusalem ei
hun, a theml sanctaidd Dduw, fe laddwyd y rhan
fwyaf o'u pobl hwy ac y ddycpwyd y gweddill i ga-
ethglud blin annial. Y hwn a'u gwnaeth ni tho- Esai 27. 11.
sturia wrthynt a'r hwn a'u lluniodd ni thrugarha
wrthynt a'r cwbl o hyn am eu bod yn anneallgar.

Ac mae'r scruthyr sanctaidd yn dangos am y Osee 4.
bobl ni welant a'u llygaid, ni chlywant a'u clu- Bar. 3.
stiau, ac ni ddeallant a'u calonnau, na throir hwy Esai 6. 9.
ac na chedwyr honynt. Ac fe gyfaddef y brygionus Math. 13. 14. 15.
Ioh. 12. 40.

eu

eu hunain gwedy eu damnio i uffern, mai anwy-
bod yngair Duw y dygoedd hwy yno, gan ddy-
wedyd, Ni a gyfeiliornasom o ffordd y gwirio-
nedd, ac ni thywynnodd llewyrch cyfiawnder ar-
Doeth.5.6. nom ni, ac ni chododd haul cyfiawnder arnom ni.
Nini a lanwyd o ffyrdd anwiredd a distryw ac a
rhodiasom trwy anialwch anhyffordd, eithr ni ad-
nabuom ni ffordd yr Arglwydd. Ac mae 'n Ia-
Math.13.19. chawdwr Christ ei hun a'i Apostol S. Pawl yn
2.Cor.4.2.3.4. dyscu ini fod anwybod am air Duw yn dyfod o'r
Math.7. diawol, yn achos pob camsynnaeth ac amryfysedd,
Iohn 3. megis y digwydda mewn deilliaid anwybodus
y rhai a welant y brycheuyn lleiaf yn llygad y ty-
wysog neu gynghorwr, yn hytrach na'r trawst yn
eu llygaid eu hun, ac yn gyffredinol hwn yw a-
chos pob drygioni ac yn y diwedd achos damne-
digaeth dragwyddol gan fod barn Duw yn ga-
darn tuag at y rhai yn ol dyfod goleuni efengil
Math.11.15. Christ i'r byd sydd yn caru tywyllwch anwybod,
13 9.43.Luc. yn fwy na goleuni gwybodaeth gair Duw.
8.8.Ioan 5.39. O herwydd yr ydys yn gorchymmyn i bawb
Psal.1. ddarllen, wrando, chwilio a myfyrio 'r scruthy-
rau, ac fe addewir os gwnant hwy felly y rhydd
Duw iddynt hwy ddeall, yr ydys yn gwahardd i
Math.7.7. neb gredu na gwr marw, nac Angel o'r nef a ddy-
Luc.11.9. Luc.16.30.31. wedo, mwy o lawer os dywed y Pab o Rufain
Galath.1.8. ddim yn erbyn neu yn wrthwyneb i air Duw,
Deut.5.32. oddiwrth yr hwn ni ddlyem droi nac i'r llaw dde-
Deut.17.14. 15,&c. heu, nac i'r llaw aswy. Yngair Duw y dlye dy-
Rom.13. wysogion ddyscu adnabod Duw a llywodraethu
1.Pet.2. Psal.118. dynnion: yngair Duw y dlye ddeilliaid ddyscu u-
Psal.18. fydd-dod i Dduw, a'u tywysogion. Fe ddyscir yng-
Ephe.5.14. 1.Thes.5.2.4 air Duw i hen a ieuaingc, gwyr a gwragedd, i bob
Ioan.12.35.36. stat, rhyw, ac oedran eu dlyed neilltuol.

O

